# AELWYD

# F'EWYTHR ROBERT:

NEU,

## Hanes Caban F'Ewythr Tomos.

---

GAN Y

PARCH. WILLIAM REES,

LIVERPOOL.

---

DINBYCH:

CYHOEDDWYD GAN THOMAS GEE.

MDCCCLIII.

## AT Y DARLLENWYR.

---

GYFEILLION A CHYDWLADWYR HOFF,

Ychydig a feddyliwn, pan yn cyrchu gyda'r "Caban" tua thŷ fy hen gyfaill, F'Ewythr Robert, y waith gyntaf, i adrodd iddo rywfaint o gynnwysiad y llyfr hynod hwnw, y buasai hyny yn arwain i'r hyn y gwelir heddyw y gwnaeth. Y mae deall fod yr "Aelwyd" yn cael y fath dderbyniad lliosog a chroesawgar gan fy nghydgenedl, yn syndod ac yn llawenydd mawr i mi. Ni allaswn feithrin y gobaith lleiaf am y fath beth ar y cychwyn, wrth ystyried fod tri neu bedwar o gyfieithiadau, rhai yn gyflawn, a rhai yn dalfyriadau, o'r "Caban," wedi cael y blaen ar yr "Aelwyd." Yr wyf yn meddwl y ceir enaid y "Caban" yn yr "Aelwyd," er na ddilynais drefn yr awdures yn adroddiad y dygwyddiadau yn mhob man, ac na roddais gyfieithiad o'i geiriau hi ar bob achlysur. Cymerais fy rhyddid, weithiau, i adrodd hanes rhai dygwyddiadau yn fy ngeiriau fy hunan, gan ofalu cadw ysbryd yr hanes yn y llyfr goreu y gallwn; a phryd arall, i roddi cyfieithiad llythyrenol o ranau o hono; a myned heibio i ranau eraill heb wneyd dim ond bras grybwyllion am yr amgylchiadau a ddesgrifid ynddynt. Cefais ar ddeall fod y darllenwyr yn anesmwyth am *weled y diwedd,* onide buaswn yn fanylach a helaethach gyda rhai pethau; a pharodd hyny i mi hefyd adael heibio amryw o'r ymddyddanion a gymerasant le ar yr *Aelwyd.* Rhoddais yr ymddyddanion hyny, mor agos ag y gallaswn, yn iaith a llafarddull pob un o'r personau, a throsglwyddais y cyfan i ofal "*Y Dyn Lerpwr hwnw,*" chwedel Cati, i'w trefnu a'u caboli, fel y mynai. Tystia f mam, yr hon oedd bresennol gyda ni y rhan fwyaf

amser, bod yr adroddion yn yr "Aelwyd" yn bur gywir, mor belled ag y gall hi gofio.

Teimlwn yn chwir-hiraethus fod ein hen gyfeilles, Modryb Elin, wedi ein gadael. Y hi oedd oracl ein "Haelwyd" ar bob mater a ddygid dan sylw; ac ar ol ei hymadrodd hi, ni ddywedai neb eilwaith. Yr wyf yn cael ar ddeall ei bod hi wedi ennill serch a chymeradwyaeth nifer liosog o'r darllenwyr, yn gystal a'r eiddom ninnau, y rhai a gawsom y fraint o'i hadnabod a mwynhau ei chyfeillach bersonol; a chredwn y darllenant hanes ei marwolaeth gyda chymysg deimladau o alar a llawenydd.

Dymuna fy hen gyfaill galarus, F'Ewythr Robert, gyflwyno ei anerchion caredicaf at ddarllenwyr ei "Aelwyd" oll, a'i ddymuniad ar iddi fod yn fendithiol i bob un o honynt. Ychydig a feddyliai yntau ychydig amser yn ol y buasai y rhifyn diweddaf o'r "Aelwyd" yn cario gydag ef y newydd am farwolaeth ei hen gymhar hybarchus; a thybia yn gryf nad ydyw yr amser ddim ymhell, na bydd yntau wedi ei dilyn. Teimla fod ei galon yn gystal a'i "Aelwyd" yn annhreithiedig ac anghyfannedd yn awr.

Gyda diolch i chwi am y derbyniad helaeth a chalonog a gafodd yr "Aelwyd" genych, y terfyna, hoff gyfeillion a chydwladwyr,

Eich ufudd wasanaethydd, &c.

JAMES HARRIS.

BRYN DERWEN, *Medi* 1*af*, 1853.

ETO,

## AT Y DARLLENWYR.

---

NID oes genyf fi nemawr i'w ychwanegu at yr hyn a ddywed fy nghyfaill ieuanc, Mr. James Harris, mewn ffordd o anerchiad i ddarllenwyr yr "Aelwyd," wrth ei chyflwyno i'w dwylaw. Fe allai yr echwyna rhai fod rhyw bethau yn yr ymddyddanion yn tueddu yn ormodol at ysgafnder; ond nid oedd mo'r help, rhaid cymeryd pethau fel y maent, a rhaid yw myned *at* bethau fel y maent hefyd, os ewyllysir gwella, diwygio, a choethi, syniadau ac arferion ein gwlad. Cafodd Modryb Elin lawer o fantais i roddi gwersi buddiol i lawer o ddosbarthiadau lled liosog yn Nghymru, drwy i wahanol gymeriadau a phethau gael eu dwyn dan sylw ar yr aelwyd yn syml, y modd y maent yn bod.

Drwg genyf fod ein hen gyfaill Jacki yn teimlo mor dramgwyddus wrth yr "Aelwyd," a'n bod yn gorfod ymadael âg ef ar ei diwedd, mor anfoddog; ni fynasem ei ddolurio, canys y mae genym feddyliau uchel am ei symledd a'i ddiniweidrwydd.

Hyderaf fod Cati wedi maddeu i "Ddyn Lerpwr" am y rhan a fu ganddo ef yn nghyhoeddiad yr "Aelwyd;" ac os byth y daw hi i Lerpwr, gobeithia y geilw gydag ef.

Gyda golwg ar Rhys Puw, y mae efe mor llawn o natur dda, fel nad yw yn ymddangos iddo dramgwyddo dim am gyhoeddi rhai troion trwstan a ddygwyddasant iddo. Y mae Rhys yn gryn ddyn, ar amryw ystyriaethau—ond, "y mae y callaf yn colli," ambell dro.

Caffed F'Ewythr Robert heddwch a thangnefedd, yn mhrydnawn ei oes,—a chysur a chymhorth oddi uchod i'w gynnal a'i ddyddanu yn ei henaint, a'i weddwdod. Gall fod yn sicr, fod rhai miloedd o galonau yn Nghymru yn cydymdeimlo âg ef, ac yn dymuno y dymuniadau goreu trosto. A chan gyduno â'i ddymuniad ef, ar fod i'w *"Aelwyd" fod yn fendithiol* i'w darllenwyr oll, y cymeraf finnau, fy nghenad ymadawol.

"DYN LERPWR."

*Medi 3ydd*, 1853.

# CYNNWYSIAD.

---

NOSON IX.



NOSON X.



NOSON XI.



NOSON XII.



NOSON XIII.



NOSON XIV.



NOSON XV.



NOSON XVI.



NOSON XVII.



NOSON XVIII.



DIWRNOD YN NHY THOMAS HARRIS.

NOSON XXIX



NOSON XXX.



DIWRNOD YN HAFOD Y CEILIOGWYDD.



Y DIWEDD.




F'EWYTHR ROBERT, EI DEULU, A JEMI HARRIS.

# AELWYD F'EWYTHR ROBERT.

---

## Y RHAGDRAITH.

MEWN lle o'r enw Hafod y Ceiliogwydd, ar lethr un o'r cymoedd a lechant o olwg y byd, yn nghysgod uchel fynyddau Meirion, cyfannedda pâr oedranus adnabyddus yn y parth hwnw o'r wlad wrth yr enwau F'Ewythr Robert a Modryb Elin. Gwisga y ddau goron harddwch hynafgwyr, canys y mae uwchlaw saith ddeg o amserau wedi cyfnewid arnynt. Y maent yn byw ar dyddyn lled fychan, yn bur gryno a chysurus eu hamgylchiadau. Nid oes iddynt na mab nac ŵyr; claddasant eu plant, dau fab a thair merch, yn eu babandod. Eu holl deulu ydyw gwas a morwyn, a chi a chath. Hen ŵr hollol anllythyrenog ydyw F'Ewythr Robert: nid oedd nac Ysgol Sabbothol na dyddiol yn y gymydogaeth pan oedd efe yn blentyn; ac nid oedd ei rieni, pe buasent yn gweled gwerth addysg, mewn amgylchiadau i allu anfon Robin bach oddicartref i ysgol. Y mae F'Ewythr Robert er hyny yn feddiannol ar radd dda o synwyr cyffredin, a pherchir ef yn fawr gan ei gymydogion yn gyffredinol fel gwr gonest, geirwir, a chymwynasgar. O ran ei foesau, fel y gellid dysgwyl, y mae yn hynod o wledig—yn rhyw hwff haff, fel y dywedir, o hen ŵr. Y mae ganddo stor fawr o hen eiriau breision yr amserau gynt, y rhai a ddefnyddia yn wastad fel y dygwyddant ddyfod i'w feddwl, pan ddygwyddo iddo gael ei gyffroi i syndod neu ddigofaint. Am Modryb Elin—hen wraig bwyllog ei hysbryd, ac arafaidd ei thymher, ydyw hi, a christion cywir, yn ol pob argoelion. Cydgyfanneddodd y ddau yn dawel a chariadus dros ystod maith o uwchlaw hanner can' mlynedd, ac ymddangosant fel yn myned yn hoffach hoffach o'u gilydd bob dydd. Y mae y gwas a'r forwyn sydd gyda hwynt yn bresennol wedi treulio o ddeuddeg i bymtheng mlynedd bob un yn eu gwasanaeth, ac ymffrostia yr hen bobl na ymadawodd na llanc na llances erioed o'u gwasanaeth hyd nes y byddent yn myned i briodi. Y mae eu ci, Tobit, hefyd yn hynafgi oedranus iawn—yn ddigon hen o daid i holl gŵn y plwyf: ac am yr hen gath, Judi, y mae ei golwg hi yn pallu gan henaint, fel y sonia yr hen ŵr yn aml am geisio *spectols* iddi, fel y gallo weled y llygod. Y mae arwyddion henaint trwm hefyd i'w weled ar y ceffylau a'r gwartheg; ac

y mae ganddynt un hen ŵydd, a fu yn meddiant taid a nain F'Ewythr Robert, medd efe.

Ond er, fel y dywedasom, nad yw yr hen ŵr yn alluog i ddarllen ei hun, y mae yn hynod o ymofyngar am wybod hanes y byd, ac yn hoff iawn o wrandaw ar ddarllen pob newyddion a hanesion.

Y mae gwr ieuanc yn byw yn y gymydogaeth, mab i amaethwr cyfrifol, yr hwn sydd o duedd fwy darllengar a meddylgar na'r cyffredin yn y fro hono. Arfera y gwr ieuanc hwn dalu ymweliad mynych â F'Ewythr Robert, i ddarllen papyrau newyddion, misolion, a llyfrau eraill iddo; a mawr fydd y croesaw a gaiff bob amser. Os oeda y gwr ieuanc ei ymweliad, ambell dro, yn hwy nag arferol, bydd yr hen ŵr yn hynod o anynadar y ci a'r gath, yn fwyaf cyffredin, ŷ syrth y dialedd. Barna y gwas a'r forwyn yn sicr fod Tobit yn deall yr achos pan fydd ei feistr yn yr hwyl anynad; canys pan wêl y gwr ieuanc yn dyfod at y tŷ, efe a red i'w gyfarfod, gan godi ei glustiau ac ysgwyd ei gynffon, a dangos pob arwydd o lawenydd a chroesaw a ddichon i gi eu dangos.

Ryw hwyr brydnawn yn mis Hydref diweddaf, aeth y gwr ieuanc i dalu ei ymweliad â'i hen gyfaill F'Ewythr Robert; ac wedi y cyfarchiadau arferol, eisteddodd i lawr. Yn mhen enyd, tynodd lyfr newydd ("*Uncle Tom's Cabin*") allan o'i logell.

"Ha! llyfr newydd eto, ïe," ebai yr hen wr; "beth ydyw hwna?"

"Ho, rhyw lyfr newydd a ddaeth allan yn ddiweddar ydyw," atebai y gwr ieuanc.

"Ni wn i ddim o ble mae nhw'n cael llyfre nwddion i'w gneuthur o hyd," meddai yr hen ŵr. "Be 'di gelwir o,—ac am be mae o'n son?"

"'Caban F'Ewythr Tomos,' gelwir o, F'Ewythr Robert."

"'Caban F'Ewyrth Tomos!' ha, ha, ha! wel ni chlywis 'rioed ffasiwn enw ar lyfr o'r blaen. Wel, yn tydi pobol yn rhyfedd iawn. Wel, tawn i byth yn sgyfarnog, ni chlywis 'rioed ffasiwn beth! debic cin i fod o yn rhyw lyfr rhyfedd iawn—mae enw rhyfedd iawn arno fo, beth bynag."

"Ydyw, y mae yn llyfr rhyfedd, yn sicr i chwi, F'Ewythr Robert: rhyfedd iawn hefyd. Y mae 'r holl fyd am dano. Y mae yn cael ei gyfieithu i bob iaith ymron, a'i brynu wrth yr ugeiniau o filoedd bob dydd; ac y mae ugeiniau o filoedd o ddarllenwyr yn cael eu cynhyrfu weithiau i ddigio, weithiau i dosturio, weithiau i wylo, ac weithiau i chwerthin wrth ei ddarllen."

"Yn twyd ti 'n fy synu fi! Ymhle cest ti o? be roist ti am dano fo? pwy gnaeth o? a ———"

"Aroswch, F'Ewythr Robert, yr ydych yn gofyn gormod ar unwaith. Yn siop y llyfrwerthwr, yn nhref ———, y cefais

ef: tri swllt a roddais am dano; y mae rhai i'w cael am swllt, a than hyny, ac y mae un argraffiad o hono yn saith swllt. Gwraig o'r America, o'r enw Mrs. Harriet Beecher Stowe, ydyw yr awdures."

"Wel, wel, wel! glywi di, Nel!" (sef yr hen wraig)—"gwraig yn gneyd llyfr! rhaid i tithau fyn'd ati hi bellach. Wel, be ddaw o'r byd yma yn y diwedd! merched yn dechre sgrifenu llyfre! roeddwn i 'n meddwl 'u bod nhw'n rhy brysur yn siarad i gymeryd amser i sgrifenu."

"O, mae llawer o ferched wedi ysgrifenu llyfrau rhagorol cyn hyn, f'ewythr."

"Wel, mi alle hyny fod; pam nad allan neyd, ran hyny; os sgrifenan nhw gystal ag y medran nhw siarad, dw i'n siwr mai i llyfre nhw pia hi o ddigon. Ond ni ddeydist di ddim i mi eto am be y mae 'r llyfr rhyfedd ene'n son."

"Wel, ni chefais amser i ddywedyd hyny eto; yr ydych wedi fy nghadw gyda phethau eraill. Ond darluniad mae y llyfr yn ei roddi o gyflwr truenus y caethweision negroaidd yn America."

"Ho, mi glywis son 'u bod nhw'n cadw *slafs* ono, ac yn 'u trin nhw'n waeth na 'nifelied; ond debic cin i nad ydyn nhw ddim 'n cael y gwir i gyd, does bosib."

"Y gwir i gyd, f'ewythr, druan! Ni fedr tafod adrodd, na chalon ddychymygu, yr hanner o'r creulonderau bwystfilaidd y mae y caethion, druain, yn eu dyoddef. Mae y llyfr yma yn adrodd pethau digon i beri i waed dyn fferu yn ei wythienau; ac eto y mae yr awdures enwog yn tystio, nad ydyw y cwbl ond desgrifiad gwan o greulonderau llawer o feistriaid, ac o drueni lluoedd o gaethweision."

"Wel bendith arnat ti, machgen i!—Rhaid i ti beidio digio wrtha i am ddeydyd *ythti*—fedra i ddim deyd *y chwi*, wel-di: mi rydw i'n cofio dy daid yn llanc ifanc o'r gore—dyn anwyl, dydi o ddim ond wel doe gin i feddwl am y diwrnod yr oedd o a dy nain yn priodi, ac mae er hyny dros drigen mlynedd—aros di; oes, trigen mlynedd chwedi pasio er Awst dwaetha. Ond dene oeddwn i'n myn'd i ddeydyd; rhaid i ti ddarllen y llyfr ene i mi—ni fedra i ddim bod yn esmwyth heb gael gwbod be sy yntho fo, chwedi i ti ddeyd cimin am dano fo. Aros i mi gael cypaned o de, a mi gei ddechre wedyn. Tyr'd tithe, cymer gypaned hefo fi."

"Diolch i chwi, mi gymerais de gartref, a rhaid i mi fyned yn awr, y mae genyf achos yn galw am danaf; ond mi a ddeuaf eto i ddarllen neu i adrodd i chwi gynnwysiad y llyfr."

"Wel bryd y doi di? Fedri di ddwad nos yfory?"

"Gallaf."

"O'r goreu, bydd di 'n siwr o ddwad, mi fydda i 'n dysgwyl am danat ti; tyr'd yn bur gynnar—erbyn te, os gelli di."

"Na, ni allaf ddyfod mor gynnar a hyny; ond mi a fyddaf yma tua saith o'r gloch, neu yn fuan wedi hyny."

"O'r goreu; iechyd i dy galon di."

"Nos dawch!"

"Nos da i tithe, machgen i!"

---

## NOSON I.

### F'EWYTHR TOMOS.

#### RHAN I.

MAWR oedd dysgwyliad yr hen ŵr am weled nos dranoeth: ymddangosai y dydd hwnw can hired ag wythnos iddo. Llawer gwaith y daeth i'r tŷ y prydnawn hwnw; gan edrych ar y cloc, gofynai, "Ai hyn ydyw eto? Ydi 'r cloc wedi sefyll?"

Ar ol te, dywedodd wrth y forwyn, "Cati; gyfala di fod swper ar y bwrdd am saith o'r gloch yn gysat heno, i ni gael pob peth drosodd cyn wyth, wel y caffon ni lonydd wedi hyny i wrando ar Jemi Harris (y gwr ieuanc) yn deydyd i ni hanes 'Caban F'Ewyrth Tomos.'"

"O'r gore, f'ewyrth, mi na."

"Ië, 'mi na'—gna dithe; hwylia ati hi i fynd i odro ninion deg, 'nte mi fyddi di ar ol."

"Wel hai, mi ä."

"Wel hai, dos dithe."

"Gadewch i mi olchi a chadw 'r llestri te yma yn gynta."

"Mi neith dy fodryb setlo 'r llestri te 'n birion; cerdd di nghylch dy fusnes."

Saith o'r gloch a ddaeth, wedi hir ddysgwyl am dano; a Chati, yn ufudd i'r gorchymyn, ac yn ffyddlawn i'w haddewid, a osodasai y swper ar y bwrdd. Tua chwarter wedi saith, daeth Jemi Harris i fewn, a gwahoddid ef yn siriol i'r gader wrth ochr y tân.

Ar ol swper, cyfododd F'Ewythr Robert oddiwrth y bwrdd, a chymerodd ei eisteddfa yn yr hen gader freichiau dderw fawr a gynnaliasai ei bwysau lawer awr o bob dydd dros fwy na deng mlynedd a deugain bellach. Llawer a gysgasai ac a freuddwydiasai yr hen ŵr yn yr hen gader hòno.

"Wel, Cati," eb efe, "cliria di y bwrdd, a doro danllwyth ar tân rŵan, safio i ti aflonyddu arnon ni eto."

"Jemi; iste di yn y fan ene, o mlaen i, gael i mi dy weled ti 'n iawn."

"Jacki" (y gwas), "iste di tu nol i'r bwrdd yn y fan ene, a gyfala am snyffied y ganwyll, pan fo isio."

"Neli" (yr hen wraig), "gad dithe lonydd i'r trwsio sane ene am heno.

"Tobit, gyrfeddwch chi lawr, gwalch, yn llonydd tan bera i chi godi, newch chi."

Yr oedd gair yr hen ŵr yn gyfraith yn y teulu. Yr oedd Tobit y ci, a Judi'r gath, wedi dysgu ufudd-dod, yn gystal a Jacki 'r gwas, a Chati 'r forwyn: nid yn gymaint oddiar ofn ag oddiar serch a pharch i'r hen frenin.

Wedi cael pawb i'w le, a phob peth i drefn, edrychai yr hen wr ar y cloc, a dywedai, "Y mae hi o fewn pum mynyd i wyth. Rhaid i ti aros i'r cloc ddarllen i bennod yn gynta: dda gin i uamser glywed neb yn darllen pen fo'r cloc yn taro—fedra i ddallt run o'r ddau, rwsut. Gwrando di arno fo, pen fydd o wrthi hi, a marcia wel y bydd o 'n cadw 'r *stops*, ac yn rhoid i lais allan trost y tŷ. Cymer dithe siampal oddiwrtho fo. Mi fyddi di 'n darllen yn rhy fuan, ac yn rhy ddistaw gin i; mi rydw i 'n myn'd yn hen, a nghlyw i 'n dechre myn'd yn drwm. Wel, wel, mae'r hen gloc yn dal allan yn well na fi. Mi gurodd i galon o dip am bob trawiad roes pwls y nhad a mam, druen, o ddydd eu priodas hyd ddydd eu marwolaeth. Bu 'n berson ac yn glochydd yn y'n teulu ni o hyny hyd y dydd heddyw, yn darllen gwsanaeth amser i ni, ac yn rhoid H-Y-M-M o amen ar ol pob awr: does gyntho fo ddim llawer o waith tipian a chlochian eto hyd nes bydda ine chwedi myn'd o gyredd i swn o—dene fo'n myn'd ati hi—un! dau! tri! Dene fo! dene i ti! mae *lungs* yr hen gloc mor gliried ac iached ag 'rioed; tydi amser ddim yn ffeithio arno fo wel arna i: mae o wel llanc ifanc o gloc eto. Wel, rŵan, dechre dithe."

"Yr wyf yn meddwl, yn hytrach na cheisio darllen, y byddai yn well i mi adrodd rhai o'r hanesion mwyaf hynod sydd yn y llyfr. Nis gallwn gael amser i'w ddarllen o i gyd; ac mae yn anhawdd iawn cyfieithu a darllen ar unwaith; ond mi allaf roddi y sylwedd o hono mewn cylch llai; ac mi allwn gyfieithu i chwi ambell ddernyn o hono yn awr ac yn y man."

"Cymer di dy ffordd, Jemi bach, a gna fel 'rwyt ti'n meddwl ore."

"Wel, ynte, mi a adroddaf i chwi i ddechreu ychydig o

HANES F'EWYTHR TOMOS.

Caethwas oedd F'Ewythr Tomos, druan, perthynol i deulu o'r enw Shelby, yn nhref P——, yn nhalaeth Kentucky. Gwasanaethasai y teulu o'i febyd. Yr oedd ei feistr, neu yn hytrach ei berchenog, Mr. Shelby, yn ŵr mwy rhesymol, dyngarol, a theimladol na'r rhan fwyaf o gaethfeistri; ac yr oedd ei gaethion ef yn dda eu byd, mewn cymhariaeth i'r nifer fwyaf o'u brodyr druain. Yr oedd yn ——"

"Aros fynyd, gad i mi ddyallt dy feddwl di 'n iawn—'perchenog' o, meddit ti—beth wyt ti 'n feddwl wrth hyny?

nid *dyn* oedd F'Ewyrth Tomos? a phwy sy'n byrchenog ar ddyn ond 'i Greawdwr? 'Rwyt ti'n siarad fel pytase F'Ewyrth Tomos yn fustach ne geffyl."

"Yr ydych yn eich lle, F'Ewythr Robert; nid oes neb mewn gwirionedd yn meddu hawl a pherchenogaeth mewn dyn ond ei Greawdwr; ond rhaid i chwi ddeall fod meistriaid y caethion yn honi hawl ynddynt hwy yr un fath a'u hanifeiliaid yn union, ac felly y maent yn eu trin."

"Wel, pwy reswm sy gynthyn nhw trost y fath beth?"

"Dim un math o reswm, ond bod lliw crwyn y negroaid yn ddu."

"Wel, dene hi—myn y corn du, ys clywis i'r fath reswm o'r blaen. Mi fu gin i geffyl gwŷn a cheffyl du, a buwch wen a buwch ddu, a chi gwŷn a chi du—a ni ches i 'rioed le i feddwl fod y ceffyl, a'r fuwch, a'r ci gwŷn yn 'styried i hinen yn 'mygenach pethe na'r rhai duon."

"Rhaid i chwi gofio, F'Ewythr Robert, mai creaduriaid direswm ydyw y rhai hyny."

"Wel, dene'r peth oeddwn i'n cyrchu ato fo—fod y dynion gwnion rheini chwedi myn'd yn fwy anresymol na 'nifelied."

"Yn wir, y maent felly, ysywaeth; ac y mae hyn yn profi ein bod ni, ddynion, yn greaduriaid syrthiedig."

"O! mae'r lleill yn gryduried syrthiedig hefyd; mi syrthiodd 'r hen geffyl gwŷn tana i lawer tro, a dene 'naeth i mi 'madel â fo. Mi 'roedd hwnw yn gryadur syrthiedig beth bynag."

"Mae'n gwilydd gen i trostoch chi, Robert," ebe 'r hen wraig, "tydw i wedi deyd llawer wrthoch chi am y drwg o droi pethe sobr yn ysmaldod. Mi fydd yn brifo nghalon i 'ch clywed chi yn wastad."

"Wel, mi dawa i, Neli bach; cha i byth mo'r gair dwaetha arnat ti. Dos di 'mlaen, Jemi."

"Wel, dyna oeddwn ar fedr ei ddywedyd—fod Mr. Shelby, perchenog F'Ewythr Tomos, yn un o'r ychydig rai da a chyweithas (ac arfer iaith yr Ysgrythyr) o gaethfeistri. Yr oedd ei wraig, Mrs. Shelby, hefyd, yn wraig synwyrol, dirion, a rhinweddol. Yr oedd ganddi gaethforwyn, o'r enw Elisa, tad yr hon oedd ddyn gwŷn, a'i mam yn negröes. Yr oedd Elisa yn ddynes ieuanc hardd-deg anghyffredin, ac yr oedd ei meistres yn anghyffredin o hoff o honi er yn blentyn. Y mae stori Elisa mor hynod, fel y mae yn gofyn i ni gael noson neu ddwy i fyned trosti; gan hyny, ni a'i gadawn ar hyn yna heno, i fyned ymlaen gyda stori F'Ewythr Tomos.

Yr oedd F'Ewythr Tomos, drwy ei onestrwydd, ei ddiwydrwydd, a'i ffyddlondeb, wedi hollol ennill ymddiried ei feistr; yr oedd wedi ei osod yn oruchwyliwr ar ei fferm, ac yr oedd efe mor ofalus a ffyddlawn yn mhob peth a'r Eleasar hwnw o Damascus,

hen oruchwyliwr Abraham gynt. Anfonai ei feistr ef weithiau ymhell oddicartref ar negeseuon pwysig, i dalu neu i dderbyn symiau mawrion o arian, yr hyn a roddai iddo gyfleusderau manteisiol i ddianc ymaith am ei ryddid, ac i gymeryd swm da o arian ei feistr at ei wasanaeth ei hun: ond ni allai Tomos feddwl am geisio ennill ei ryddid yn y llwybr hwnw, er cymaint oedd ei ddymuniad am dano. Yr oedd yn ofni Duw, ac yn parchu dyn, a'i gydwybod yn rhy dyner i oddef iddo fradychu yr ymddiried a roddasai ei feistr ynddo.

Yr oedd F'Ewythr Tomos yn ŵr priod; ei wraig, Modryb Clöe, fel y gelwid hi, ydoedd gogyddes y teulu. Rhaid i chwi ddeall fod y caethfeistri, lawer o honynt, yn byw yn uchel iawn, yn gyffelyb i'n boneddigion ni yn y wlad hon; ac felly yr oedd y teulu hwn. Yr oedd Modryb Clöe yn meddwl yn fawr iawn o'i swydd, ac o'i galluoedd cogyddol: traddodai ddarlithiau hyawdl yn aml iawn ar y gelfyddyd, a'i medrusrwydd digyffelyb ei hunan ynddi; ac yr oedd yn fedrus mewn gwirionedd hefyd. Dywed y llyfr hwn "y byddai yr ieir a'r gwyddau, yr hwyaid a'r twrcis, yn edrych yn bruddion ryfeddol bob tro y gwelent Modryb Clöe yn gwneyd ei hymddangosiad ar y buarth, fel pe buasent yn dechreu meddwl am eu diwedd o ddifrif."

"Ha, ha! Mi faswn i yn licio gwel'd 'rhen gliagwydd: dw i'n siwr fod golwg sobor arno fo. Ydi'r llyfr ddim yn deydyd y bydde'r gwhanol sectie pluog yn dwad at eu gilydd i gynnal cwarfod ——?"

"Wel, Rhobert, Rhobert, cellwer fynwch chi o hyd; fydde waeth i chi dewi, yn hen ŵr fel ene; mi fydd yn difar gynoch chi eto," ebai Modryb Elin.

"Wel, Nel bach, 'thawn i yn y myw, wyddost o'r gore."

"Yn wir, rhaid i chi dewi o'ch dau," ebe Cati, "ynte chawn i ddim o hanes F'Ewyrth Tomos heno."

"Wel, mi gadawn hi yn y fan ene, a mi geith Jemi lonydd i galyn arni hi," ebe F'Ewythr Robert.

"Y mae y caethion yn gyffredin yn byw mewn cabanod tlodion o goed, gerllaw tŷ neu balas y perchenog; weithiau caniateir iddynt ychydig o dir i'w lafurio wedi oriau gwaith y meistr. Mewn caban o'r fath yma yr oedd F'Ewythr Tomos yn byw. Cedwid ei gaban ef yn lanwaith, ac yr oedd yr ardd fechan a berthynai iddo yn cael ei thrin yn dda. Yr oedd yn llawn o goed ffrwythau, a llysiau, a blodau amryliw, yn y rhai y cymerai Modryb Clöe hyfrydwch neillduol.

Yn y caban tlawd hwnw, preswyliai cariad, diniweidrwydd, a boddlonrwydd. Yr oedd tawelwch meddwl, ac ysbryd ymgymmodlawn â'i sefyllfa, i'w gweled a'u darllen megys yn wyneb F'Ewythr Tomos. Ac am Modryb Clöe, nid gormod dywedyd nad oedd un frenines ar y ddaear hanner mor ddedwydd ag

ydoedd hi, oni buasai y chwerwder chwerw o gofio mai caethion oeddynt, ac y gallasai diwrnod ddyfod i'w cyfarfod hwy, fel lluoedd o'u brodyr mewn caethiwed, pan y buasent yn cael eu gyru i'r farchnad fel anifeiliaid, a'u gwerthu oddiwrth eu gilydd, a'u gwahanu, fel ond odid na welent wynebau eu gilydd ar y ddaear mwyach. Hwn ydyw y gwreiddyn chwerw sydd yn sum —y colyn sydd yn gwenwyno mwynderau melusaf caethion a ddygwyddant fod mor ffortunus a dyfod i feddiant meistriaid tirion fel Mr. Shelby. Y dysgwyl ofnadwy hwn a frathai deimlad F'Ewythr Tomos, druan, yn fynych; a'r diwrnod du hwnw a ddaeth o'r diwedd, ac a anrheithiodd gaban tawel y creaduriaid diniweid hyn am byth.

Yr oedd Mr. Shelby, fel llawer o'i frodyr, y caethfeistriaid, wedi rhedeg ymhell mewn dyled, a'i feddiannau yn gaeth dan arwystliad. Trefniant yn difa ei chyfeillion ydyw caethwasiaeth. Y mae melldith y drygioni anfad hwn fel yn ysu ac yn bwyta meddiannau y rhai sydd yn gyfranogion ynddo. Os llwydda tad i gasglu cyfoeth lawer trwyddo yn ei oes, odid fawr na dderfydd am y cyfoeth hwnw trwy ofid blin, ac nad ysgubir ef ymaith megys â llifeiriant o ddwylaw ei blant.

Yr oedd Mr. Shelby wedi cadw dyrysweh eu hamgylchiadau yn guddiedig oddiwrth ei wraig; ac felly, pan dorodd yr ystorm arnynt, yr oedd yn hollol annysgwyliadwy iddi hi, ac o gymaint a hyny yn drymach a mwy gofidus. Ond diwrnod a hir ofnasai Mr. Shelby ei weled ydoedd y dydd y daeth yr echwynwr ato i ymofyn am ei daledigaeth.

Gŵr o'r enw Haley ydoedd hwnw, marchnatäwr dynion; ïe, dyn yn byw ar brynu a gwerthu cig a gwaed ei gydgreaduriaid; a thrwy hir ymarferiad â'i alwedigaeth ofnadwy, wedi ymgaledu i'r fath raddau nad oedd llefau a dagrau gwŷr a gwragedd, rhieni a phlant, pan eu gyrid i'r farchnadfa, ac y gwerthid hwy i'w gwahanu oddiwrth eu gilydd, yn cael un effaith ar ei deimladau i beri tosturi: yn hytrach yr oedd llefau torcalonus y trueiniaid yn beroriaeth yn ei glustiau, a soniai am danynt gyda difyrwch.

Nid oedd Haley, y mae yn wir, yn trin ei gaethion mor greulawn ag y gwnai rhai o'i frodyr o'r un alwedigaeth—*h. y.*, nid oedd yn arfer eu curo, eu fflangellu, a'u baeddu, am wylo a llefain, wrth eu gyru i'r ffeiriau. Yr oedd wedi cael, meddai ef ei hun, fod ymddwyn yn dyner tuag atynt yn ateb yn llawer gwell iddo; mai po goreu yr edrychent yn y farchnad, goreu y gwerthent. Tosturi y drygionus hwn oedd greulawn mewn gwirionedd. Arbedai guro a baeddu y trueiniaid, nid er mwyn arbed eu teimladau hwy, ond er mwyn llenwi ei logellau ei hunan. Scowndrel a filen perffaith o ddyn ydoedd!

Gŵr o radd isel ei ddechreuad ydoedd; ond ceisiai ffugio y

gŵr boneddig drwy wisgo yn wych; dysgleiriai ei fysedd gan fodrwyau a pherlau; ond modrwyau aur am grafaglau epa oeddynt. Cymerai arno fod yn ddysgedig iawn yn ei ymddyddanion; ond ni allai siarad brawddeg heb dori esgyrn a chymalau gramadeg. Ymgeisiai at fod yn ffraethbert yn ei atebion a'i sylwadau, y rhai a roddent yn wastad foddhad mawr iddo ef ei hunan, canys chwarddai arnynt gyda blas neillduol; ond dammegion yn ngenau ffwl fyddent.

Galwodd y gŵr hwn gyda Mr. Shelby droion, ac yr oedd ei bresennoldeb yn bur annerbyniol gan Mrs. Shelby; yr oedd yn ammheus o hono, fel pe buasai yn arogli y llwynog. Holai ei gŵr yn ei gylch; ond gochelai efe ddadguddio y gwirionedd am y gŵr dyeithr a'i neges hyd y gallai. Ond yr oedd yn gweled y byddai raid iddo ddyfod allan yn erchylldod ei noethni yn fuan: a rhwng awydd i weled y gwaethaf trosodd, ac ofn ei weled yn dechreu, yr oedd ei fynwes yn breswylfa anesmwythder a gofid.

Nid oedd dim a foddlonai Haley heb gael F'Ewythr Tomos, a bachgen bychan Elisa, plentyn o bedair i bump oed, ar werth. Rhaid i chwi ddeall fod Elisa yn wraig briod: enw ei gŵr oedd George Harris, caethwas ar etifeddiaeth cymydog i Mr. Shelby. negröes oedd ei fam, a Sais oedd ei dad yntau, fel Elisa. Yr oedd George Harris yn ŵr ieuanc hardd-deg o bryd, a lluniaidd o gorff, ac o feddwl goleuedig ac athrylithgar. Yr oedd yn hynod o fedrus mewn llawgelfyddwaith, ac hefyd yn gywrain ddyfeisydd peiriannau defnyddiol at wasanaeth y planigfeydd.

Am ei feistr,—hen gelffyn taiog, brwnt, cas, bawlyd, cenfigenus, disynwyr, dideimlad, dirinwedd, a di-ddim-hawddgarwch ydoedd. Cenfigenodd ei galon fechan fas wrth George Harris, am ei fod yn gweled ei fod yn mhob peth yn amgenach dyn nag efe ei hunan; a pha achos oedd i'w gaethwas fod yn fwy deallus, medrus, gwybodus, ac yn mhob ystyr yn "Siôn well na'i feistr?" Byddai yn gwneyd arian mawr o hono trwy ei logi am ddyddiau ac wythnosau i'w gymydogion, i osod pethau mewn trefn yn eu planigfeydd, a gosod i fyny y peiriannau a ddyfeisiasai iddynt. Wrth ei weled yn cael cymaint o fri a galwad, cenfigenodd yr hen lyffant wrtho, a phenderfynodd ei ddarostwng a'i boeni, drwy ei anfon i'r meusydd, a'i osod i fyned trwy galedwaith ei gaethweision cyffredin. Ymddygai tuag ato yn y modd mwyaf cieiddfrwnt gyda hyny. Ni allai ysbryd mawreddig dyn o fath George Harris ymostwng i gymeryd ei drin yn y modd hwn gan greadur o ddyn y gwyddai ei fod ymhell islaw iddo yn mhob ystyr. Penderfynodd ddianc, neu farw yn yr anturiaeth: ac wedi galw gyda'i wraig, ac amlygu ei fwriad iddi, efe a gymerodd ei draed, ac ymaith âg ef, a llwyddodd hefyd yn y diwedd, wedi myned trwy laweroedd o beryglon a chyfyngderau, fel y caf adrodd eto wrth fyned ymlaen.

Yr oedd raid i ni fel hyn droi o'r neilldu oddiar hanes F'Ewythr Tomos, oblegid fod yr amgylchiadau a grybwyllwyd yn dal y fath berthynas â hyn.

Yn wir, dyna hi'n taro deg o'r gloch—rhaid i mi fyned adref!"

"Y mae'r 'rhen gloc ene'n myn'd ar *wheels* heno, ddyliwn i," ebe F'Ewythr Robert, "'roeddwn i 'n meddwl mai naw oedd hi yn myn'd i daro. Ond bryd y doi di yma eto, a be gawn ni gin ti 'r tro nesa?"

"Mi a ddeuaf nos yfory, ac a adroddaf i chwi ychydig o hanes Elisa."

"O'r goreu; mae arna' i frys i gael clywed chwaneg o hanes F'Ewyrth Tomos. Mi 'rwyt ti chwedi gneyd i mi gysau 'r hen Harli hwnw—be gelwist ti o—yn ofnadwy:—'n diaist i; tae o a mistar Siorge Harris yn dwad i'r cyredd yma, mi gaen' cystal gwrbids ag ro'es y briwars rheini yn Llunden i'r hen Hayno hwnw."

"O! ni chlywsoch mo'r cwbl am Haley eto o lawer, F'Ewythr Robert; ac y mae yma hanes am rai llawn can waethed, os nid gwaeth, nag yntau. Nos dawch!"

"Nos dawch! a diolch yn fawr i ti, Jemi bach!"

Wedi i Jemi Harris ymadael, dechreuodd y teulu ymddyddan am y pethau a glywsent.

"Wel, y mae Jemi yn fachgen clyfar!" ebe F'Ewythr Robert. "Peth gwych ydi bod yn slaig, welwch chi; mae'r bachgen ene 'n gwbod llawer iawn."

"Pwy ddiolch iddo fo," ebe Jacki, "chwedi iddo fo gael cimin o ysgol; taswn ine chwedi cael y mynteision gafodd o, mi faswn ine 'n gwbod cimin ag yntè."

"'Does gin ti 'run pen, Jacki bach; mae isio pen, wel-di, ne ni neith ysgol fawr o les."

"'Run pen, f'ewyrth!—be ydach chi 'n feddwl? welwch chi mo mhen i?"

"Gwela gin ti rw glap, Jacki bach; nid pen ydi pob clap fotho 'n sefyll ar 'sgwydde, wel-di."

"Ni feddyliodd y nghalon i 'rioed fod y fath bethe, a'r fath bobol yn y byd yma, tan heno!" ebe Cati.

"Wyddost ti fawr iawn am y byd, Cati bach," ebe Modryb Elin: "a wyt ti ddim yn meddwl y dylet ti fod yn ddiolchgar iawn i'r hwn sydd yn trefnu 'terfynau preswylfod' plant dynion, am nad wyt ti yn lle a chyflwr y caethion?"

"Yr wyf yn meddwl y dylwn, yn wir; ac yr wyf yn meddwl hefyd tase llawer o fistried a mistresi yn y wlad yma yn dygwydd bod yn 'run sefyllfa a pherchnogion y *slafs*, na fasen nhw fawr iawn well, os dim, na'r rhai gwaetha o honyn nhw."

"'Rwyt ti yn no agos i dy le, Cati bach: effaith amgylchiade

ydi llawer o'r gwahaniaeth sy rhwng y naill a'r llall o hono ni yn y byd yma. Mi wydde 'n Gwaredwr am danon ni pan ddysgodd i ni weddïo, 'Nac arwain ni i brofedigaeth, eithr gwared ni rhag drwg.' Mi fydde 'n llawer mwy gweddus i ni weddïo dros fistried y caethion, am i'r Arglwydd wel'd yn dda droi 'u calone nhw, na'u dwrdio a'u trin nhw fel y mae d'ewyrth yn gneyd."

"Wel, gwddïa dithe, Neli bach, ta'i ddim mor ffol a cheisio gwddïo trost i bathe nhw: meddwl rydw i y gnae gwers o chwipio fwy o les iddyn nhw," ebe F'Ewythr Robert.

"Wel, hai," ebe Cati, "well i chi fyn'd i'ch gwlau; os ewch chi i ddechre taeru, dyma lle y byddwch chi trwy'r nos: ni rydd 'run o honoch chi i fyny i'r llall."

"Wel, doro i mi ganwyll!" ebe 'r hen ŵr:—ac aeth pob un i'w orphwysfa.

---

# NOSON II.

## ELISA.

### RHAN I.

JEMI HARRIS a ddaeth at yr awr nodedig, a chafodd bawb a phob peth yn barod iddo ddechreu ar ei adroddiad.

"Addewais roddi i chwi heno ychydig o hanes Elisa;—ei ffoedigaeth o dŷ ei meistr, Mr. Shelby; a'r helynt a fu arni yn ceisio dianc o grafangau Haley.

Yr oedd Mr. Shelby wedi gwrthod yn deg ei gwerthu hi, gyda'i phlentyn, a F'Ewythr Tomos; o herwydd y gwyddai na allasai Mrs. Shelby oddef y fath beth. Ar un o ymweliadau Haley â Mr. Shelby, dygwyddodd i fachgen bychan Elisa fyned i mewn i'r ystafell lle yr oeddynt. Yr oedd yn blentyn iachus, hynod o landeg yr olwg arno, yn llawn bywiogrwydd, ac yn amlygu pob arwyddion o fod ynddo ddefnydd dyn gwych, talentog, teilwng o'i dad a'i fam. Dysgasai lawer o ddigrifgampau plentynaidd; ac yr oedd yn ddynwaredydd campus. Gosododd Mr. Shelby ef i ddangos ei fedrusrwydd i Mr. Haley, yr hwn a chwarddai hyd nes oedd ar ymdori wrth edrych arno. Gwelodd ei fod yn *article* (fel y dywedai) rhagorol at y farchnad, ac ni wnai ddim y tro heb ei gael ar werth. Yr oedd Mr. Shelby yn hynod o wrthwynebus ar y cyntaf, canys teimlai hoffder at y plentyn, a thosturi tros ei fam, yr hon y gwyddai na fynai byth ei chysuro, mwy na Rahel, ar ol ei hanwylyd; ac y byddai Mrs. Shelby hefyd yn wrthwynebus a gofidus i ymadael âg ef.

Ar ganol yr ymddyddan, daeth Elisa i mewn i'r ystafell, gan gymeryd arni ddyfod i gyrchu y plentyn; a dyna yr olwg gynta

a gawsai Haley arni hi. Cynted y gosododd ei lygaid arni, dychlamodd ei galon drachwantus gan awyddfryd i'w chael ar werth: nid oedd un pris yn ormod ganddo roddi am dani, gan y gwyddai y buasai yn sicr o wneyd elw da o honi yn y farchnad—y gallasai gael unrhyw swm am dani gan unrhyw gaethfeistr cyfoethog, i wneyd puten o honi. Ond fel y dywedasom, ni chytunai Mr. Shelby i'w gwerthu ar un cyfrif: a bu raid i Haley roddi y pwynt hwnw i fyny.

Deallodd Elisa natur yr ymddyddan rhwng ei meistr a Haley, drwy glywed rhyw gymaint o hono wrth y drws, cyn iddi fyned i mewn i'r ystafell. Cafodd achos da i ofni bod ei phlentyn, os nad hi ei hunan hefyd, mewn perygl; ac ni allai oddef y meddwl o ymadael âg ef: buasai yn well ganddi fyned trwy bob caledi ac enbydrwydd ei hunan, os gallasai ei arbed ef. Sylwodd ei meistres ei bod y prydnawn hwnw yn edrych yn hynod o athrist, a gofynodd yr achos, yr hyn a roddai gyfleusdra iddi i amlygu ei hofnau. Ni fynai Mrs. Shelby ar y cyntaf gredu y fath beth, a cheisiai berswadio Elisa fod ei hofnau yn hollol ddisail. Pa fodd bynag, penderfynodd fynu gwybod neges Haley gyda'i gŵr y noson hono. Yr oedd Elisa hithau â'i meddwl gyda hi; llechodd mewn lle cyfleus iddi allu clywed eu hymddyddan. Adroddai Mrs. Shelby wrth ei gŵr yr hyn a glywsai gan Elisa, a gwelodd yntau fod yr adeg wedi dyfod pan yr oedd raid iddo amlygu iddi fel yr oedd eu hamgylchiadau yn sefyll; nad oedd mo'r help am dani—y gorfuasai iddo werthu F'Ewythr Tomos, a Harri bach, bachgen Elisa, i'w hachub rhag hollol ddinystr; ond iddo wrthod yn deg i werthu Elisa.

Yr oedd y newyddion gofidus ac annysgwyliadwy hyn fel cleddyfau yn esgyrn Mrs. Shelby.

"O! Mr. Shelby," meddai, "mi a ymdrechais hyd eithaf fy ngallu, fel gwraig Gristionogol, i gyflawni fy nyledswydd tuag at y creaduriaid truain hyn. Gofelais am eu haddysgu, a gwyliais trostynt, a bûm adnabyddus â'u helyntion bychain, eu tristwch, a'u llawenydd, am flyneddau; a pha fodd y gallaf byth ddangos fy wyneb yn eu plith eto, os, er mwyn ychydig o arian, y gwerthwch y fath greadur ffyddlawn, diniwed, a rhagorol, ag ydyw Tomos, a chymeryd oddiarno ar unwaith bob peth a ddysgasom iddo eu caru a'u gwerthfawrogi? Dysgais hwynt eu dyledswyddau teuluaidd, fel rhieni a phlant, gŵr a gwraig; a pha fodd y gallaf oddef i ni ddangos, drwy weithred fel hon, nad ydym yn prisio dim mewn un rhwymedigaeth, na dyledswydd, na pherthynas, mewn cymhariaeth i ychydig arian. Ymddyddenais âg Elisa ynghylch ei bachgen, ei dyledswydd tuag ato fel mam, i wylio a gweddïo trosto, a'i ddwyn i fyny yn llwybrau rhinwedd. Ac yn awr, beth a allaf ddywedyd, os bydd i chwi ei gymeryd oddiwrthi, a'i werthu, gorff ac enaid, i ddyn

halogedig a diegwyddor, er mwyn ychydig o arian? Ai ni ddywedais i wrthi bod un enaid o fwy o werth na holl arian y byd; a pha fodd y gall hi fy nghredu, pan welo ni yn gwerthu ei phlentyn—ei werthu, hwyrach, i ddystryw sicr, gorff ac enaid!"

"Y mae yn ddrwg genyf eich bod yn teimlo fel yna yn yr achos, Emily, yn wir y mae," ebe Mr. Shelby; "ac yr wyf yn parchu eich teimladau, er nas gallaf gydweled yn hollol â chwi. Ond yr wyf yn dweyd yn awr yn ddifrifol wrthych, nad oes dim i'w wneyd, ond naill ai gwerthu y ddau hyn (F'Ewythr Tomos a Harri bach), neu werthu pob peth. Rhaid iddynt hwy fyned, neu rhaid i'r cwbl oll fyned. Y mae Haley wedi dyfod i feddiant o wystlawd (*mortgage*), yr hon, os na thalaf ei gofynion yn ddioed, a ysguba ymaith yr oll a feddwn. Mi a grafais ac a fenthycais gymaint a allaswn, ac y mae gwerth y ddau eto yn eisieu i wneyd y swm i fyny, a bu raid i mi eu rhoi i fyny. Chwennychodd Haley y bachgen, a mynai ei gael; ni chytunai ar un ammod arall. Yr oeddwn dan ei awdurdod, a bu raid i mi ei roddi i fyny. Os ydych chwi yn teimlo fel yna yn yr achos, ystyriwch na buasai eu cyflwr hwy ddim gwell pe buasai y cwbl yn myned ar werth."

Safai Mrs. Shelby fel un wedi ei tharo â mudandod; a chan roddi ei phen rhwng ei dwylaw, hi a dorai allan—

"Dyma felldith Duw ar gaethwasiaeth! O! y peth chwerw, chwerw, a mwyaf melldigedig! Y mae yn felldith i'r meistr, ac yn felldith i'r caethwas! Yr oeddwn yn ffol i dybied erioed y gallaswn dynu dim daioni allan o'r fath ddrygioni marwol! Y mae yn bechod i ddal caethion dan y fath gyfreithiau ag sydd genym ni; yr oeddwn yn teimlo hyny bob amser—yr oeddwn yn meddwl felly pan oeddwn yn eneth ieuanc! Dyfnhaodd yr argraff ar fy meddwl wedi i mi ymuno â'r eglwys; ond mi a wenieithiais i mi fy hun y gallwn, trwy diriondeb, a gofal, ac addysgu y caethion, wneyd eu sefyllfa yn well na phe buasent yn rhyddion—y fath ffolog oeddwn!"

"Wel, wraig, yr ydych yn troi yn ddyddymydd (*abolitionist*) perffaith."

"Dyddymydd! pe gwyddent hwy yr oll a wn i am gaethwasiaeth, da y gallent siarad! Nid rhaid iddynt ddywedyd wrthym ni beth ydyw; ni feddyliais i erioed fod caethwasiaeth yn gyfreithlawn, chwi a wyddoch o'r goreu—ni theimlais erioed yn foddlawn i berchenogi caethion!"

"Wel, yr ydych yn hyny yn wahanol i lawer o ddynion call a duwiol," ebe Mr. Shelby. "Cofiwch bregeth Mr. B——, y Sul o'r blaen."

"Nid oes arnaf fi eisieu clywed y fath bregethau; ni ewyllysiwn byth glywed Mr. B. yn ein heglwys ni ond hyny! Nid all gweinidogion yr efengyl wrth y drwg, fe allai; nid allant ei fedd-

yginiaethu mwy nag y gallwn ninnau—ond ei amddiffyn! Y mae y fath beth bob amser yn groes i'm rheswm a'm teimlad; ac yr wyf yn tybied nad oeddych chwithau yn meddwl fawr o'r bregeth hono eich hun."

Hanner addefai Mr. Shelby wirionedd tybiaeth ei wraig. "Ond, fy anwylyd," eb efe, "yr wyf yn gobeithio eich bod yn gweled yr anghenrheidrwydd o'r peth, a darfod i mi wneyd y peth goreu a allaswn dan yr amgylchiadau."

"O, do, do!" atebai Mrs. Shelby, gan ddal ei horiawr aur yn ei llaw. "Nid oes genyf emigion (*jewellery*) o nemawr werth," ebai hi, dan ddwys fyfyrio, "ond ai ni wnelai yr oriawr hon rywbeth? Costiodd i mi lawer o arian pan brynais hi; pe gallwn ond yn unig achub plentyn Elisa, mi a ymadawn âg unpeth a feddaf."

"Y mae yn ddrwg, yn ddrwg iawn genyf, Emily," ebe Mr. Shelby, "eich bod yn cymeryd y peth mor ddwys; ond ni wna 'un lles. Y ffaith yw, Emily, y mae y peth wedi ei wneyd; y mae papyrau y gwerthiad eisoes wedi eu llawnodi, ac yn nwylaw Haley; a dylech fod yn ddiolchgar nad ydyw pethau yn waeth nag ydynt. Yr oedd yn ngallu y dyn yna ein dystrywio yn gwbl, ond yn awr yr ydym yn rhyddion o'i afael. Pe byddech yn adnabod y dyn cystal ag yr wyf fi, chwi a welech ein bod wedi cael diangfa ryfedd."

"A ydyw efe mor greulawn, ynte?"

"O, na! nid yw yn ddyn mor greulawn hwyrach ag ambell un; ond rhyw ddyn lledr ydyw—dyn nad oes ganddo olwg ar ddim ond ei fasnach a'i elw—dyn dwfn, caled, a gafaelgar fel angeu a'r bedd. Efe a werthai ei fam ei hunan, os caffai bris da am dani, heb ewyllysio unrhyw niwed i'r hen wraig chwaith."

"Ië, ïe," ebe F'Ewythr Robert, "heb 'wllysio dim niwed i'r hen wraig, bid siwr, na hidio fawr be ddelse o honi, os cowse fo geniog o'i chroen hi, mi ddyliwn; mae 'rhen wistwil ene gin waethed, os nid yn waeth, na hen dwrne coch mawr C———; mi fase hwnw'n gwerthud llygid i wraig i hun o'i phen, cowse fo rwun roise rwbeth am danyn nhw; a be ddyliet ti, Jemi, yr oedd 'rhen wraig yma'n son am wddïo trost y dyn ene a'i ffasiwn, chwedi i ti fyn'd oddyma neithiwr."

"Wel, yn wir," ebe Modryb Elin, "yr ydw i'n gwel'd mwy o achos gwddïo trosto fo heno nag o'r blaen. Y dial a 'wllysiwn i iddo fo, ydi bod iddo gael ei oleuo i wel'd i ffordd ddrygionus, a'i ddwyn i 'difarhau o'i herwydd hi."

"Y dial liciwn ine," ebe F'Ewythr Robert, "fydde i gael o i gyredd y mhastwn i:—dw i'n siwr y curwn i 'r gras o 'difeirwch i'w glopa fo no fuan. Mi fynwn wbod prun gleta, ai f'hen ffon dderwen i, 'nte asgwrn i benglog o. Be wyt ti'n ddeyd, Jacki?"

"Tydw i ddim yn licio myn'd rhyngthoch chi a modryb," ebe

acki, "ond meddwl 'rydw i'n wir mai'r pastwn fydde gore at i ıth o."

"Wel done, Jacki, mae ene rwbeth tebyg i sense yn dy glopa i hefyd. Be wyt ti'n feddwl, Catsen?"

"Mi fedrwn i edrych arnoch chi'n i guro fo gida phleser," ebe ;ati, "ond mi 'rydw i'n meddwl mai modryb sy'n i lle 'nôl y crythyr, er hyny."

"Iē, dy fodryb sy'n wastad yn i lle gin ti. Ond be ydi dy ırn di, Jemi, gad glywed?"

"Yr wyf finnau o'r un farn a Chati, a dweyd y gwir i chwi. )nd y mae genym ni yn y wlad hon rywbeth i'w wneyd gyda ;weddïo yn yr achos. Ni a ddylem roddi ar ddeall i bobl ımerica ein bod yn ffieiddio y gaethwasiaeth, a llefain yn eu lustiau yn ddidaw, nes y cywilyddiont o'i phlegid. Achos lynoliaeth gyffredinol ydyw; a dylem ei gymeryd at ein calon-ıu, a chynnorthwyo yn mhob modd a allwn tuag at ddileu y ath ffieidd-dra allan o'r ddaear."

"Ho! mi rydach chi'n troi yn f'erbyn i, mi 'rydw i'n gwel'd," ebe F'Ewythr Robert; "ond deydwch chi fynoch chi, fedra i ddim meddwl y bydde 'n groes i reswm na 'scrythyr i roid tresfa dda hen rwgfil wel yr Harli hwnw. Ond dos di mlaen â'r stori."

"Wel," ebe Mrs. Shelby wrth ei gŵr (pan welodd fel yr oedd pethau yn sefyll,) "ac y mae yr adyn yna (Haley) yn pérchenogi ein Tomos ffyddlawn, a phlentyn Elisa hefyd!"

"Wel, f'anwylyd," ebe ei gŵr, "y gwir yw, y mae y byd yn myned yn galed gyda mi—y mae yn beth sydd yn gas genyf feddwl am dano. Y mae Haley mewn brys i gael pethau i ben, ac y mae yn dyfod i gymeryd meddiant yfory. Yr wyf fi yn myned i gymeryd tro ar y ceffyl yn y boreu. Ni allaf weled Tomos, dyna'r gwir; a byddai well i chwithau gymeryd Elisa gyda chwi, a myned i rywle o'r cyrhaedd; a gadael i'r peth fyned heibio pan fyddo hi o'r golwg."

"Na, na," ebe Mrs. Shelby, "ni bydd i mi mewn un modd yn y byd fod yn gyfranog yn y gorchwyl creulawn hwn. Mi a âf i ymweled â Tomos, druan, yn ei drallod; cânt weled fod eu meistres beth bynag yn teimlo trostynt. Ac am Elisa—O, ni allaf feddwl am y gofid a gaiff hi! Yr Arglwydd a faddeuo i ni! Pa beth a wnaethom i dynu y fath drueni yn ein penau."

Yr oedd Elisa yn gwrandaw yr holl ymddyddan hwn; a haws dychymygu na desgrifio ei theimladau dan yr amgylchiad. Dynes o ysbryd gwylaidd a thymher ofnus oedd Elisa: ond yn awr, pan welodd ei hanwyl blentyn ar fyned yn ysglyfaeth i grafangau y barcut Haley, teimlai ei hun yn cael ei meddiannu âg ysbryd arall. Edrychodd yn wyneb y perygl a'r trueni yr oedd yn sefyll ar ei ddibyn;—yr agendor oedd megys yn agor ei safn anferth i lyncu holl obeithion ei bywyd am byth—ei

hanwylaf Harri ar gael ei rwygo o'i mynwes, i gael ei hyrddio ymaith o'i golwg, i'w werthu i gaethiwed a thrueni am ei oes—ei bychan anwyl, dymuniant ei llygaid a hoffder ei henaid, yr hwn oedd y pryd hwn yn cysgu yn dawel ddiniwed, heb un amgyffred o'r sefyllfa adfydus oedd yn ei aros—y nos hon oedd i fod y ddiweddaf iddo am byth i gael mynwes mam i'w gofleidio. Gwauodd mil o feddyliau o'r fath hyn fel saethau trwy ei chalon; ond yn lle ymollwng i ddigalondid ac anobaith, ymgyfodai ei meddwl mewn gwroldeb a phenderfyniad cyferbyniol i fawredd y perygl a'r trallod. Penderfynodd wneyd ymgais i ddianc ymaith, a'i bychan i'w chanlyn, y noson hòno.

Wedi i'r teulu fyned oll i'w gwelyau, a phan oedd dystawrwydd cwsg yn teyrnasu yn y tŷ, casglodd ychydig bethau anghenrheidiol ynghyd, a rhwymodd hwynt yn becyn; cyfododd y plentyn o'i wely, a gwisgodd am dano, cymerodd ef ar ei braich, a gadawodd y tŷ yn nyfnder y nos, ac aeth allan, *fel* Abraham gynt, "heb wybod i ba le yr oedd yn myned." Gyda throediad ysgafn, ond â chalon drom, ymadawodd o'r tŷ; ac o'r galon drom ddrylliedig hòno dyrchafai aml ochenaid lwythog am nodded ac arweiniad yr hwn a "wrendy waedd y cystuddiol," ac sydd yn "noddfa i'r gorthrymedig yn amser trallod." Bu agos i'r gwarchawdgi, Bruno, ddadguddio ei chyfrinach: canys pan glywai y gwyliwr effro hwnw ei sŵn dystaw lladradaidd, efe a ddechreuodd osod ei beiriannau cyfarthol ar waith; ond can gynted ag y cyfarchodd Elisa ef erbyn ei enw, adnabu ei llais, a throes ei dôn, gan ysgwyd ei gynffon mewn caredigrwydd—ymbarotoai i'w hebrwng. Yr oedd ei gweled yn gadael y tŷ ar yr awr hòno o'r nos yn ddirgelwch i Bruno, ac ymddangosai fel yn awyddus i ddeall yr achos; edrychai yn ei llygaid, gan fwngial yn gwynfanus. Dilynodd hi at Gaban F'Ewythr Tomos, ac wedi llyfu ei llaw hi, ac wyneb Harri bach, ymadawodd â hwy, gan ddywedyd megys—"Ewch mewn heddwch!"

Adroddodd Elisa ei holl helynt wrth F'Ewythr Tomos a Modryb Clöe. Cyn hyn yr oedd y cwbl yn ddirgelwch iddynt hwy. Ond ni fynai Tomos glywed son am ddianc ymaith—penderfynodd sefyll y dymhestl; ac wedi ymgyfarch â'u gilydd gydag ocheneidiau, a dagrau, a gweddïau, cymerodd Elisa ei phlentyn yn ei mynwes, ac ymaith â hi. Nid oedd ganddi neb i'w chyfarwyddo, i gydymdeimlo â hi, a'i chysuro; neb yn ei gweled nac yn gwybod am dani, ond F'Ewythr Tomos a Modryb Clöe. Na, yr oedd UN, yr hwn a edrychasai ar Agar ac Ismael fychan gynt, pan oedd y gaethes hòno, druan, a'i mab, yn crwydro yn anialwch Beerseba, ac a dosturiasai wrthynt yn nydd cyfyngder eu henaid;—yr oedd y Duw oedd yn "byw ac yn gweled" yr Aiphtes hòno a'i phlentyn, yn byw ac yn gweled

Elisa a'i bychan diniwed yn nydd eu trallod: a diau bod ei angelion ef yn eu cylchynu, ac yn eu cynnorthwyo, er yn anweledig a diarwybod iddynt hwy.

Yr oedd yn noson oer rewllyd. Rhwymodd Elisa y plentyn ar ei chefn, a symudai gyda chamrau ysgeifn a chyflym. Yr oedd Harri bach fel pe buasai wedi deall rhywbeth am natur eu sefyllfa, oddiwrth yr ymddyddan a glywsai yn nghaban F'Ewythr Tomos. Gofynodd i'w fam, a allasai gysgu. A hithau a'i llochodd i wneyd.

"Ond, mami," ebe y plentyn, "ni wnewch adael i'r dyn hwnw fyn'd â mi ffwrdd, a wnewch chi?"

"Na wnaf, fy mhlentyn anwyl," ebe y fam, "ni chaiff neb fyn'd â Harri bach i ffwrdd."

"'Dawn i 'n cysgu, nae chi ddim gadael iddo nghymryd i, nae chi, mami?"

"Na wnawn, fy anwylyd!"

"Ydach chi 'n siwr, mami?" ebe y bychan.

"Ydwyf, fy mhlentyn anwyl, yn ddigon siwr, na chaiff y dyn drwg hwnw byth fyned â Harri bach oddiar ei fam!"

Llonyddodd ofnau Harri bach; a chan blethu ei freichiau bychain am wddf ei fam, a gwthio ei ddwylaw i'w mynwes am gynhesrwydd, gollyngai ei ben ar ei hysgwydd, ac ymollyngai i gysgu, mewn llawn hyder ffydd yn ngallu a ffyddlondeb ei fam i'w ddiogelu. Yr oedd ei enau wrth glust ei fam, a theimlai hi megys pe buasai pob anadliad a roddai yn tywallt ffrwd o nerth a phenderfyniad newydd i'w meddwl i fyned rhagddi. Yr oedd yn synu ati ei hunan, wrth ail feddwl am yr ymddyddan rhyngddi hi a Harri bach—y fath gryfder hyderus a deimlasai wrth sicrhau iddo na chawsai Haley byth mo'i wynfyd arno.

Teimlai ei nerth fel yn cynnyddu gyda phob cam; taflai aml edrychiad pryderus tua'r nef, a thybiai fod llygaid gloewon y ffurfafen yn fyrdd myrddiwn megys yn amneidio arni, gan ei hannog, "Brysia! dianc!" Tra y taenai y nos gymwynasgar ei mantell drosti i'w chysgodi, benthyciai y ser caredig eu goleuni gwanaidd yn "llusern i'w thraed, ac yn llewyrch i'w llwybrau."

"Yn wir," ebe James Harrison, "Dyna hi yn taro un ar ddeg o'r gloch! Y mae fy nhad a mam wedi synu i b'le y gallwn i fod wedi myned. Rhaid i mi hwylio adref gynted ag y gallwyf, mi a ddeuaf yma nos yfory eto. Nos dawch i gyd."

Wedi i James Harrison ymadael, dechreuai F'Ewythr Robert holi barnau y lleill ar yr hanes a glywsant.

"Beth wyt ti 'n feddwl, Jacki," eb efe, "am bethe wel ene?"

"Na wn i 'n wir, F'Ewyrth," ebe Jacki—"mi rydw i chwedi cymryd at y ci hwnw 'n arw iawn; taswn i 'n lle Lisa, mi faswn yn i gymryd o i nghalyn, mi fase 'n ymladd trosti hi at y carne; cradur ffyddlon iawn ydi ci; a mi——"

"Taw, taw! dene ddigon:" ebe F'Ewythr Robert. "Ië, am y ci 'roeddet ti 'n meddwl; piti garw na baset ti 'n gi dy hun, Jacki bach. Be wyt ti 'n ddeydyd Cati?"

"Meddwl am Harri bach yn siarad â'i fam 'roeddwn i," ebe hithau; "faswn i yn y myw yn peidio chrio pan oedd Jemi yn deyd y darn hwnw o'r stori—y peth bach gwrion; mi faswn yn licio yn y nghalon fod hefo hi i'w helpio hi i'w gario fo: a phe tase rhen Haley hwnw yn dwad o hyd i ni, mi faswn yn treio tynu i lygid o o'i ben—yr hen gigfran."

"Baset, mi dy wranta di, Cati bach," ebe F'Ewythr Robert; "ac yn crafu 'r tylle hefyd, os gallset ti,—mae digon o blwc ynot ti. Ond mi ddeyda i chi be oeddwn ine 'n feddwl. Mi 'roeddwn i 'n gwel'd mistar Lisa a F'Ewyrth Tomos yn rhw ddyn go lew, ar y cwbwl: dalla i ddim gwel'd i fod o 'n rhw ddyn brwnt iawn yn y myw, ac eto tydw i 'n licio mono fo 'n iawn, rwsut, chwaith. Mi 'roedd rhw deimlade go lew yntho fo, a mi 'roedd rhwbeth yn galed yntho fo 'run pryd; ond gwraig dda amhosib oedd i wraig o; mi ddeyda i hyny am dani hi beth bynag. Mi 'roeddwn i 'n teimlo 'n ddrwg gin y nghalon i trosti hi; piti garw bod dynes o'i bath hi yn y fath sfyllfa. Be wyt ti 'n feddwl, Neli?"

"Mi 'roeddwn yn meddwl, yn un peth," ebe Modryb Elin, "am eiriau 'r gŵr doeth, 'Y neb a chwanego wybodaeth, a ychwanega ofid.' Po mwyaf a wyddom am ddrygau a thrueni y byd yr ydym yn byw ynddo, mwyaf i gyd fydd y gofid a deimlwn yn ei achos, os bydd ein calonau yn eu lle: a dyna fel y dylai pob gwybodaeth o'r fath a gawsom ni allan o'r llyfr yna effeithio arnom, ac nid ein gyru i dymherau drwg, i son am guro a thynu llygaid dynion, a rhoi enwau drwg arnynt, pa mor ddrwg bynag fyddont. Pe buasem ni ein hunain yn yr un amgylchiadau, fe allai na buasem nemor well na'r rhan fwyaf o feistriaid y caethion."

"Glywi di, glywi di, Cati," ebe F'Ewythr Robert, "fel y mae hi 'n llichio atat ti a fine."

"Nid y llwybr yr ydych chwi a Chati am gymeryd ydyw 'r llwybr y mae fy hen lyfr i yn ei ddysgu i mi—a fo sy'n iawn."

"Ië, ïe, at yr hen lyfr 'rwyt ti'n myn'd yn wastad; ond pwy sy'n iawn 'nol 'rhen lyfr, tybed? toes dim posib byw yn y byd yma wel y mae yr hen lyfr yn ceisio gantho ni neyd, ne dydw i 'nabod neb sy'n gneyd, beth bynag; a mi 'rydw i yn ych gwel'd chi, 'r cryfyddwrs yma, mor bell 'n ol a neb o honon i, a deydyd y gwir i ti,"—ebe F'Ewythr Robert.

"Oes, Robert, y mae modd byw yn ol y gair," ebe Modryb Elin, "ac y mae rhai yn gwneyd hefyd, er nad yn berffaith, yr wy'n addef. Mi ellwch weled llawer o broffeswyr crefydd yn

byw ymhell iawn o'u lle, fel y mae gwaethaf y modd; ond nid felly y maent oll chwaith, drwy drugaredd."

"Na: y mae ambell un go lew o honyn nhw 'n siwr, a mi wyt ti cysled a'r gore wn i am dano fo, chware teg i ti'n wir, Neli."

"Mi a ddymunwn allu byw yn llawer gwell nag yr ydwyf," ebe Modryb Elin, gan gyrchu ochenaid; "a dyna 'r wraig hòno, Mrs. Shelby, yr ydych yn gorfod meddwl yn dda am hòno, Robert; beth oedd yr achos, dybygech chwi, ei bod hi yn well na'i gŵr.

"Wel, cin sicred a'r byd mawr i ti, ni fedra i ddim deydyd mo hyny. Gwell teimlad oedd gynthi hi, debic cin i."

"Pe buasech yn dweyd, Gwell calon, neu am ei bod yn meddu calon newydd, buasech yn nes i'r marc. Mi ddywedaf i chwi fy meddwl i am y ddau:—Un o blant y byd hwn oedd Mr. Shelby; ac er fod ynddo lawer o hynawsedd a thiriondeb tymher, a thynerwch teimlad, yn rhagori ar liaws mawr o ddynion, rhyw flodeu gwynion ar ddraenen megys oeddynt. Nid oedd dim ffrwyth—dim ffigys na grawnwin i'w cael. Yr oedd ganddo ddeall lled oleu, a chydwybod lled dyner; deallai a theimlai ei rwymedigaethau; ond yr oedd ei galon yn y byd—yr oedd 'gofalon y bywyd hwn' yn tagu y pethau da oedd ynddo;—ei amgylchiadau, ac nid gair Duw, oedd rheol ei ymddygiadau. Ond am ei wraig, yr oedd hi yn amlwg yn teimlo grym dylanwad gair Duw ar ei meddwl. Yr oedd ysbryd arall ynddi,—nid ysbryd y byd, ond yr ysbryd sydd o Dduw, y mae lle i obeithio; a hyny a barai fod cadw caethion yn peri y fath ofid dirfawr i'w meddwl, ac a'i gwnelai yn barod i wneyd pob aberth yn ei hamgylchiadau tymmorol, os gallasai, drwy hyny, arbed gwerthu fel anifeiliaid y rhai y cymerasai gymaint gofal a phoen i'w dysgu yn ffyrdd gwirionedd a rhinwedd. Mewn gair, Robert, ei chrefydd oedd yn peri fod Mrs. Shelby yn rhagori ar ei gŵr."

"Tydw i ddim yn gallud cydweld â thi yn y fan ene, Nel: mae gin i cysled calon ag sy gin tithe, am dy ddannedd, wyddost; ond mi 'rwyt ti, rwsut, yn medrud byw 'n fwy gwastad na fi; a mi all pobol feddwl fod gin ti lawer iawn gwell calon na fi, ond mae nhw 'n misio 'narw iawn."

"Y mae eich calon ddrwg yn eich twyllo, Robert druan," ebe Modryb Elin. "Yr wyf yn meddwl fy mod i wedi fy nwyn i adnabod rhywfaint o ddrwg a thwyll fy nghalon fy hun, ac yr wyf yn barod iawn i addef mai 'drwg ddiobaith ydyw:' a phe byddech chwithau ond yn adnabod eich calon i ryw raddau, byddai genych farn arall am dani; a'r arwydd goreu fod cyfnewidiad calon wedi cymeryd lle, ydyw, fod dyn yn teimlo ei drwg hi."

"Tydi wiw i mi droi nhafod atat ti hefo phethe wel hyn, 'namser; ond dywed ti fynost ti, mae gin i well calon na 'rhan

fwya o bobol: fydda i byth yn gwllysied dim drwg i neb, a mae gin i wllys yn wastad i dalu fy ffordd, a ni thwyllis i neb 'rioed; a be sy isio chwaneg?"

"Robert bach, onid oeddych yn gwllysio drwg i Haley hwnw, gyneu?" ebai Modryb Elin; "ond mi ellwch chwi fod yr hyn a eilw y byd yn ddyn gonest, geirwir, a diniwed, a bod y galon, yr un pryd, yn llawn o lygredd ac aflendid. Calon ddrylliog, edifeiriol,—calon yn caru Duw a sancteiddrwydd,—calon a fedr fendithio y sawl a'n melldithio, a gweddïo dros ein gelynion, a thalu da am ddrwg, ydyw calon dda, yn ol y Beibl."

"Ho, ho!" ebe F'Ewythr Robert, "mae hi 'n rhy galed wel ene hefyd; 'dant am ddant,' dene fy 'sgrythyr i, Nel."

"Nid dyna reol Iesu Grist, Robert; ac nid felly y gwnaeth ef: ac os mynwn ninnau fod yn ddysgyblion iddo ef, y mae yn rhaid i ni wneuthur fel y dysgodd ac y gwnaeth efe."

"Fedra i 'n y myw dderbyn d'athrawiaeth di, waeth i ti dewi; doro ganwyll i mi fyn'd i ngwely, Cati."

Ar hyny, aeth yr hen ŵr, a'r gwas, a'r forwyn, i'w gwelyau. Arosodd Modryb Elin ar ol i ddarllen ei salm hwyrol, ac i weddïo am fendith ar ei haddysgiadau i droi calon F'Ewythr Robert.

---

## NOSON III.

ERBYN i James Harris ddyfod i Hafod y Ceiliogwydd, yr hwyr nesaf, yr oedd F'Ewythr Robert yn ei gornel, a Modryb Elin yn y gornel arall, a Chati yn eistedd wrth ei hochr; a'r ganwyll ar y bwrdd; a Jacki ar ei stôl y tu ol iddo; a Thobit yn gorwedd o'r tu ol i gader F'Ewythr Robert, a Judi yn gorwedd ar draws ei wàr; a dystawrwydd dysgwyliad yn teyrnasu trwy y tŷ, ond yn unig fod yr hen gloc yn tipian—dic, doc—yn ol ei hen arfer.

"Wel, tyr'd, Jem bach," ebe F'Ewythr Robert, "yr oeddym yn dysgwyl am danat ti ers meityn; be gawn ni gin ti heno? mh'le daru i ti dori ar y stori neithiwr? aros di—hefo hanes Lisa yn dengyd i ffwrdd yr oeddet ti, yntê? Mwyn 'ranwyl, ddaru hi lwyddo yn diwedd?—ddaru nhw beidio i dal hi, d'wed? Fynwn i er llawer glowed i bod hi chwedi syrthio i winedd yr hen Harli gebyst hwnw. Sut y fu arni, dywed?"

"Chwi gewch glywed hyny o dipyn i beth, F'Ewythr Robert," ebe Jemi; "ond rhaid i ni droi yn ol yn awr, i adrodd yr helynt fu yn nhŷ Mr. Shelby, wedi iddynt ddeall, y bore dranoeth, fod Elisa wedi dianc ymaith gyda Harri bach.

"Wel, gàd glowed py sut y fu hi."

Arosodd Mr. a Mrs. Shelby yn hwyr ar eu traed y noson hòno, i ymddyddan ynghylch eu hamgylchiadau; ac wedi eu

myned i'r gwely, yr oedd teimladau cythryblus eu calonau yn atal cwsg oddiwrth eu llygaid, hyd onid oedd gwawr y dydd nesaf ar dori. Yn gyffredin iawn, chwi a wyddoch, mai pan fyddo y dydd megys yn dihuno, ac fel yn dechreu rhwbio ac agor amrantau ei lygaid, y bydd hûn cwsg debycaf o gau amrantau yr un fyddo wedi ei ddal yn effro drwy wyliadwriaethau y nos. Yr oedd gryn lawer yn ddiweddarach ar y ddau yn codi y boreu hwnw nag arferol.

Dysgwyliai Mrs. Shelby am Elisa i'w hystafell, fel arferol; a synai beth a allasai fod yr achos ei bod cyhyd heb wneyd ei hymddangosiad. Canai y gloch i'w galw, ond nid oedd yr un Elisa yn dyfod at yr alwad;—canai drachefn a thrachefn, eilwaith; ond nid oedd neb yn ateb. Yr oedd Elisa erbyn hyn ymhell o gyrhaedd swn y gloch hòno y buasai bob amser o'r blaen yn arferol o roddi ufudd-dod parod a dioedi i'w sain.

Yr oedd Mr. Shelby yn sefyll o flaen y drych, ac yn parotoi i eillio. Ar yr adeg hon, daeth hoglanc o gaethwas, perthynol i wasanaeth y tŷ, i mewn i'r ystafell â dwfr i'w feistr at oruchwyliaeth yr ellyn.

"Andy," ebe Mrs. Shelby, "rhed at ddrws Elisa, a dywed wrthi fy mod wedi canu y gloch am dani dair-gwaith." "Druan o honi!" ebai hi wrthi ei hun, gan gyrchu ochenaid.

Rhedodd Andy yn ol yn fuan, gan rythu ei lygaid mewn syndod: "Tad anwyl, Missis!" gwaeddai, "mae Lisy chwedi dianc ffwrdd, fi 'n credu: y mae 'i hollt drors hi yn y gored, a'i phethe hi ar chwal miga moga mhob llun yn y byd!"

Saethodd i feddwl Mr. a Mrs. Shelby ar unwaith ei bod wedi dianc ymaith.

"Hi a ammheuodd ynte, ac a redodd ymaith," ebe Mr. Shelby.

"Moliant i'r Arglwydd! gobeithio ei bod hi"—ebe ei wraig.

"Wraig! yr ydych yn siarad fel un ynfyd. Yn wir, bydd yn fater go gas i mi, os ydyw wedi dianc. Yr oedd Haley yn gweled fy mod yn anewyllysgar i werthu y plentyn, ac fe dybia fy mod i yn gyfranog yn y peth hwn, er mwyn cadw y bachgen o'i afael. Y mae y peth yn cyffwrdd â'm hanrhydedd i." Aeth Mr. Shelby allan yn frysiog o'r ystafell.

Aeth y newydd fod Elisa wedi dianc ymaith i glustiau holl dylwyth y tŷ ar fyr amser, ac ymgasglasant ynghyd at eu gilydd —yn wynion a duon, yn gaethion a rhyddion, yn fawrion a bychain, yn hen ac ieuainc—i gydymgynghori ar y mater yma. Un a ddywedai fel hyn, ac arall fel arall, a'r trydydd fel yna, a'r pedwerydd fel acw; a phob un yn tybio mai ei dybiaeth ei hunan oedd raid fod yr un gywir. Modryb Clöe, yr hon yn unig oedd yn gwybod dirgelwch ffoedigaeth Elisa, oedd hefyd yr unig un ddystaw yn y lle. Ymddygai hi fel pe na buasai yn clywed y lleill yn siarad.

Yr oedd pob un o honynt yn eiddigeddu am y fraint o gael bod y cyntaf i fynegu i Haley am ffoedigaeth Elisa, pan y delai yno y boreu hwnw i gyrchu F'Ewythr Tomos a Harri bach ymaith. Addawent iddynt eu hunain hyfrydwch nid bychan wrth ei weled yn gwylltio, a'i glywed yn rhegi. Yr oedd rhai o honynt wedi ei glywed yn rhegi pan fuasai yno y dydd o'r blaen; ac yr oedd ganddynt feddyliau uchel iawn am ei dalentau a'i alluoedd rhegyddol. Yn hyn, fodd bynag, ni siomwyd mo honynt; canys pan ddaeth Haley, a chlywed y newydd, efe a agorodd ei enau, ac a ruthodd ei lygaid, ac a gurodd ei draed yn erbyn y llawr, ac a gleciodd ei chwip yn erbyn y gwynt, ac a dyngodd, rhegodd, melldithiodd, gyda'r fath hyawdledd a gwresogrwydd a roddai fawr foddhad a difyrwch iddynt oll. Tra yr oedd ef yn rhegi hyd nes oedd ar golli ei anadl, yr oedd ei wrandawyr direidus, hwythau, yn crechwen ac yn chwerthin am ei ben onid oeddynt yn ymnyddu, ac o'r diwedd yn cwympo i lawr ar draws eu gilydd mewn llesmeirglwyf o ddigrif fwyniant. Yr oedd eu gweled fel hyn yn chwerthin am ei ben yn gyru Haley i wylltio a rhegi yn waeth; a hyny drachefn yn eu gyru hwythau i chwerthin yn waeth. A phan drodd ei gefn arnynt i fyned i'r tŷ, tynent eu hwynebau yn bob math o ystumiau dirmygus ar ei ol.

"Wel, 'rŵan, Shelby, mae hyn yn rhwy fusnes anryferol iawn," ebe Haley, pan aeth i mewn i'r parlwr. "Mae 'r lodes a'r bychan chwedi dengid i ffwrdd, mi fyddyliwn."

"Mr. Haley, y mae Mrs. Shelby yn bresennol," ebe Mr. Shelby.

"Begio 'ch pardwn, madam," ebe Haley, gan ymgrymu i'r foneddiges. "Ond yr wyf yn dyweyd eto, fel y dywedais o'r blaen, y mae hwn yn newydd go ryfedd—a ydyw yn wir, syr?"

"Syr," atebai Mr. Shelby, "os ydych am siarad â mi, rhaid i chwi ymddwyn rywbeth yn debyg i ŵr boneddig. Andy, cymer het a chwip farchogaeth Mr. Haley; cymerwch gader, syr. Ydyw, syr, y mae yn ddrwg genyf ddywedyd, fod y wraig ieuanc, wedi iddi rywfodd neu gilydd ddeall fel yr oedd pethau yn bod, wedi cymeryd ei phlentyn, a rhedeg ymaith."

Taflodd Haley awgrymiad o ammheuaeth o fod Shelby wedi ei dwyllo, ac i Elisa gymeryd Harri bach ymaith trwy ei ganiatâd. Cyffrôdd hyn Mr. Shelby yn fawr; a chan droi ato â gwedd ddigofus, rhoddodd ar ddeall iddo nad oedd ganddo ond un ateb, sef lleferydd y llawddryll i'w roddi i bwy bynag a feiddiai daflu y fath sarhad ar ei anrhydedd. Newidiodd Haley ei dôn ar hyn; ond achwynai yn chwerw o herwydd ei golled a'i siomedigaeth. Addefai Mr. Shelby fod ganddo achos i achwyn am ddarfod i'r peth ddygwydd fel y bu, ac mai yr ystyriaeth hôno yn unig a barasai iddo oddef ei drahausder yn y modd y

gwnaethai. Sicrhaodd iddo i Elisa ddianc ymaith yn hollol ddiarwybod iddo ef, a bod yn ddrwg ganddo am hyny. Addawodd roddi pob cymhorth iddo i gael gafael ar y ffoaduriaid; a pherswadiodd ef i eistedd i lawr, a chymeryd ei foreubryd gydag ef. Wedi ychydig o ymddyddan lled oeraidd wrth y bwrdd, rhoddodd Mr. Shelby orchymyn i Andy i beri i Sam Ddu, fel y gelwid ef, fyned i gyrchu a chyfrwyo Bill a Jerri, iddynt hwy eu dau fyned gyda Haley i erlyn ar ol Elisa.

Un hynod dros ben ydoedd Sam; yr oedd dair gradd yn dduach ei groen nag un negro arall yn y lle, ac yn saith waith ffraethach ei dafod gyda hyny. Cymerai arno ei fod yn ddoethddysgedig ryfeddol; efe oedd areithiwr, dysgawdwr, ac athraw, yr holl gaethion oedd yn y lle. Triniai bob mater a ddygid dan sylw yn eu cyfarfodydd, yn y dull mwyaf mawreddog a meistrolgar. Ysgydwai ei ben mewn modd mor awdurdodol, wrth lefaru, a barai i'w wrandawyr dybied fod holl synwyr a doethineb yr Aipht a Chaldea, Groeg a Rhufain, wedi eu cydgrynhoi ynddo. Cymerai arno egluro iddynt bob dirgelion, ac esbonio pob egwyddorion, a dattod pob cylymau dyrus, ac nad oedd dim yn guddiedig rhagddo.

"Holo! Sam!" galwai Andy, "Misar isio ti dal Bill a Jerri, a gneyd nhw fyny, i ti a fi fyn'd hefo Misar Haley, ar ol Lisy."

"Dene hi 'rwan," ebe Sam; "Sam ydi 'r dyn, fi 'n gwel'd, fo ydi 'r niger; chi gwel'd os na fi dal hi 'ninion. Misar gwel'd be feder Sam neyd."

Rhoddodd Andy ar ddeall i Sam bod yn well iddo edrych beth oedd ar fedr ei wneyd: y gwyddai ef o'r goreu nad oedd eu meistres yn dymuno iddynt allu dal Elisa; iddo ei chlywed â'i glustiau ei hun y boreu hwnw yn dweyd fel ar fel. "Ti gwell sefyllt 'run ochr i'r clawdd a missis, Sam," ebe Andy. "Ti dal Lisa, missis cydio yn dy wlân di, ti gwel'd hyny." Edrychai Sam yn synfyfyriol, gan grafu ei lechwedd. Erbyn hyn, yr oedd ei holl ddoethineb yn pallu wrth geisio dirnad y dirgelwch hwnw. Gwyddai bod ei feistres yn hoff dros ben o Elisa, ac na fynasai ei cholli er dim; gan hyny, meddyliai mai y hi o bawb a fuasai fwyaf awyddus i'w dal, a'i dwyn yn ol.

"Ti dim yn medru gwel'd trwy ysgol—y niger du," ebe Andy; "missis dim isio'r Haley yma gael gafel ar fachgen Lisa—dene 'r gwir."

Gwelodd Sam *drwy'r ysgol*, wedi i Andy roddi eli llygaid iddo; ac ymaith âg ef;—ffrwynodd a chyfrwyodd Bill a Jerri, a dug hwy ar garlam i'r buarth. Yr oedd march Haley yn rhwym wrth bawl o flaen y tŷ. Cododd Sam gneuen ffawydd oddiar lawr, ac aeth ato, gan gymeryd arno ail osod y cyfrwy yn drefnus ar ei gefn. Dododd y gneuen o dano yn y fath fodd ag y byddai iddi bigo cefn y ceffyl wrth i Haley ei farchogaeth. Yr

oedd Sam yn dysgwyl y buasai i'r ddyfais hon droi allan yn chwildroad, gan fod y creadur yn ebol ieuanc hynod o fywiog ei ysbryd.

Gyda bod Sam wedi gorphen trefnu ei gynllluniad direidus gyda'r ebol, galwodd Mrs. Shelby ef o'r neilldu, i awgrymu rhywbeth o'i hewyllys a'i theimlad iddo yn yr achos oedd mewn llaw. Nesaodd Sam at ei feistres gyda rhodres-foneddigrwydd rhyfeddol.

"Beth ydyw 'r achos dy fod mor hir, Sam?" ebe ei feistres, "Mi a erchais i Andy beri i ti wneyd brys."

"Bendith y tad arnoch chi, missis!" ebe Sam; "y ffyle dim cym'ryd 'u dal mewn minid; nhw chwedi myn'd digon pell o'i cae porfa, a'r tad ŵyr b'le nhw myn'd."

"Sam: pa sawl gwaith y rhaid i mi ddweyd wrthyt am beidio arfer y geiriau 'Bendith y tad arnoch,' a 'Duw ŵyr,' a'r cyffelyb? Y mae yn beth drwg."

"O, Duw am helpio! Fi 'n anghofio, missis; fi byth d'eyd dim o'r fath beth byth eto."

"Wel, Sam, dyna ti wedi dweyd y fynyd yma."

"Ddaru mi? O 'r tad!—hyny ydi—fi dim meddwl d'eyd o."

"Rhaid i ti gymeryd gofal, Sam."

"Chi gad'el i mi gael y ngwynt, missis, i ail gwchyn—fi cym'ryd gofal wed'yn."

"Wel, Sam, yr wyt i fyned gyda Mr. Haley, i ddangos y ffordd iddo, a'i helpio. Cymer di ofal gyda 'r ceffylau, Sam. Yr oedd Jerri yn gloff yr wythnos ddiweddaf, wyddost;—*paid a'u gyru hwy yn rhy drwm.*"

Llefarai Mrs. Shelby y geiriau olaf gyda phwyslais neillduol er tynu sylw Sam, a rhoddi awgrym iddo o'i hewyllys.

Yr oedd yr hyn a glywsai Sam gan Andy, ychydig cyn hyn, yn fanteisiol iddo ddeall y ddammeg hon. Yr oedd, erbyn hyn, yn gallu gweled pethau trwy ysgol yn lled dda.

"Fi cym'ryd gofal am hyny, missis," ebe Sam, "Duw 'n gwbod. Ha! daru mi dim d'eyd wel ene, rwan!" eb efe, wedi dal ei hunan ar y weithred waharddedig, yr hyn a barai i Mrs. Shelby chwerthin heb yn waethaf iddi ei hun. "G'naf, missis, fi gofalu am y ffyle."

Yr oedd cyfrinach ei feistres yn awr yn mynwes Sam, ac yr oedd yn hynod o falch o honi, ac addawai iddo ei hun y byddai iddo ei gweithio allan i lawn foddlonrwydd yr hon a'i gwnaethai yn weinidog ei hewyllys.

Wedi dychwelyd yn ei ol at Andy, agorodd Sam ei feddwl a'i fwriadau iddo. Yr oedd Andy yn dal awenau Bill a Jerri; ac archai Sam iddo, os gwelai yr ebol y marchogai Haley arno yn myned yn aflywodraethus wrth i'w feistr ei farchogaeth, i ollwng Bill a Jerri, a rhedeg ato ef i helpio Haley. "*A mi g'nawn ni*

*helpio fo!*" eb efe, dan ysgwyd ei ben yn hynod o arwyddocaol.

Ar hyn, deuai Haley allan. Yr oedd yn llawer llarieiddiach ei dymher, a llonach ei ysbryd, yn dyfod allan, nag ydoedd pan aethai i mewn. Yr oedd ei ddyn oddimewn wedi cael llawn foddlonrwydd ar ddanteithion y bwrdd.

"Wel, fechgyn, edrychwch ati hi, rwan," ebe Haley; "rhaid i ni beidio colli dim amser."

"Dim un chwithrin, mis'ar," ebe Sam, gan ymaflyd yn yr warthafl, ac estyn yr awenau i Haley.

Y foment y cyffyrddodd Haley â'r cyfrwy, dyna yr ebol yn rhoddi pranc, a thaflodd ei feistr, nes oedd fel ysgub cyhwfan yr offrwm dyrchafael, ac yn disgyn ar ei gefn ar y tir glas, amryw droedfeddi o'r fan. Yr oedd Sam wedi plethu math o gapan o gangau palmwydd, a'i dodi am ei ben, yr hyn a roddai olwg arno a dueddai i gyffroi creadur bywiog ei ysbryd o'r fath ag ydoedd yr ebol y marchogai Haley arno.

Mor gynted ag y gwelodd Sam Haley yn mesur ei hyd ar y ddaear, efe a ruthrodd gyda chrochwaedd ofnadwy, gan gymeryd arno geisio gafael yn awenau y ffrwyn; ond mewn gwirionedd, gyda'r amcan o ddychrynu y creadur, a thrwy ysgrechain yn ddychrynllyd, ac ysgwyd ei ben deiliog yn ei lygaid, efe a lwyddodd hyd eithaf ei ddymuniad. Rhuthrodd yr ebol ymaith dan ffroeni yn ffromllyd, â'i lygaid yn tanio, a'i glustiau yn sythu. Ceibiai yr awyr â'i draed blaen, a chiciai hi â'i draed ol, a chwipiai hi â'i gynffon. Yn y fan, gollyngai Andy y ddau ebol eraill at eu rhyddid, ac ymaith â Bill, nerth ei garnau, ar ol y llall, a Jerri ar ol hyny, a Sam ar eu hol hwythau, ac Andy ar ei ol yntau, a'r holl dylwyth—Mike, Mose, Mandy, Fanny, a'r lleill oll—yn fawrion a bychain, yn feibion a merched—yn dilyn, gan guro eu dwylaw, a rhedeg, a gwaeddi, a llefain, ac ysgrechain; a'r cwn yn rhedeg ac yn cyfarth gyda hwynt; a'r ieir, a'r twrcis, a'r gwyddau, a'r hwyaid, yn crochlefain, bob un yn ei iaith briodol ei hun.

Yr oedd ebolfarch Haley fel pe buasai cyd-ddealldwriaeth rhyngddo a Sam. Yr oedd y gwastadfaes o flaen y tŷ yn eang a helaeth, yn rhoddi digon o le iddo i chwareu ei branciau. Penderfynai Sam na chawsai y mater ddyfod i ben ar fyr amser, canys pa bryd bynag y deuai rhywun yn agos i gyrhaedd dal yr ebol, efe a neidiai ymlaen, gan grochlefain, "'Rwan am dano fo!—daliwch o!—daliwch o!"—yr hyn a wylltiai yr ebol drachefn yn gynddeiriocach nag o'r blaen. Yr oedd Haley yr holl amser hwn yn rhedeg ac yn gwaeddi, yn tyngu ac yn rhegi, ac weithiau yn crafu ei lechwedd, ac yn curo ei draed yn erbyn y ddaear; ond nid oedd neb yn gofalu dim am dano, rheged a melldithied, a thynged a bygythied, faint a fynai.

Yr oedd Mr. Shelby wedi ei daro â syndod: ceisiai alw ar

Sam ac Andy, ac amneidiai â'i law; ond yr oedd pawb yn r
brysur ei helynt, ac yn ormod ei drwst i glywed na sylwi. Sa
Mrs. Shelby yn ffenestr ei hystafell, i wylio y pranciau, g
chwerthin yn ei llewis: dirgel dybiai mai tric o eiddo Sam oe
y cwbl. Gwelai ei fod, bob tro y deuai rhywun yn agos i dd
yr ebol, yn rhedeg yno, ac yn ei ail gynhyrfu i redeg, dr
ysgwyd ei gapan deiliog, a chrochlefain, "Daliwch o!—Daliw
o!" yn ei wyneb.

"Ha, ha, ha! wel dyn, Sam!" ebe F'Ewythr Robert—"H
ho, ho!"

"Da iawn, Sam," ebe Jacki.

"Sam *for ever!*" ebe Cati, gan grechwenu.

"Beth sydd yn darfod i chwi bod ag un?"—ebe Modr
Elin—"tw, tw, tw!—ha, ha!" wedi ei gorchfygu gan chwerth
Ar hyn ymollyngodd Jemi Harris i chwerthin gyda hwy
Collodd Jacki bob llywodraeth arno ei hun, mewn *fit* o chwert
in, nes iddo syrthio yn wysg ei gefn, dros ei 'stol, ar draws Ca
nes oedd hòno yn colli ei *balance* drachefn, ac yn syrthio
draws bwrdd oedd o'r tu ol iddi hithau, a hwnw yn cwym
eilwaith, a dau neu dri o bicynau oedd arno yn rholio ar hyd
llawr. "Bow, wow! wow!" ebe Tobit, gan neidio i fyn
mewn dychryn; a Judi ar ei war yn cwyno, neu yn ym
bil am ymwared—penderfyned y sawl sydd yn deall ysbryd
theimlad ac iaith cath dan y fath amgylchiadau, pa un.

Cafwyd cryn waith cael pethau i drefn i fyned ymlaen ar
hyn; canys yr oedd Cati yn neillduol wedi cyffroi yn fawr y
erbyn Jacki, am ei fusgrellni; a phan gafodd ei thraed dan
ymaflodd yn yr efail dân, dechreuodd ei bwnio a'i bwyo yn
fol a'i ystlysau, nes oedd hwnw yn gwaeddi "Mwrdwr!" nert
ei ben.

"Hene, Cati, lachia arno fo!" ebe F'Eewythr Robert.

"Paid, Cati, y mynyd yma!" ebe Modryb Elin.

Wedi cael dystawrwydd a threfn, "Wel, Nel bach," eb
F'Ewythr Robert, "mi gostiodd i tithe chwerthin 'rŵan, yn tô
er santeiddied wyt ti."

"Chwerthin," ebe Modryb Elin; "mae rheswm ar bob peth
mae yn g'wilydd gen i trosoch chwi bod ag un. Beth pe dels
rhywun dyeithr i'r tŷ 'rŵan; mi fase'n meddwl yn sicr ein bod
wedi colli arnom ein hunain. Fydda i ddim yn erbyn chwerth
yn gymedrol, pan fydd rhyw achlysur yn cyffroi chwerth
ond mi roeddech chwi wedi myn'd yn waeth na Sam a'r rh
wrth chwerthin am eu pene nhw."

"Mi rydw i 'n licio cael llon'd y mol o chwerthin, pen d
o ata i," meddai F'Ewythr Robert: "mae o 'n iechyd i mi—
neith fwy o les i mi na dôs o ffisig o'r hanner: a tydi o d
drwg yn y byd, ynte fase fo ddim 'n perthyn i'n natur ni. Fe

hun cryadur arall, ond dyn, chwerthin; a toes gin i ddim *trust* byth i'r un dyn na fedro chwerthin yn harti hefyd."

"'Toes fawr o chwerthin arna i;" ebe Jacki, dan rwbio ei ochrau—"mi dala i ti eto Cati bach,—'rwy'n siwr fod f' lystyse i 'n bowdwr dduon y mynyd yma."

"Wel hai!" ebe F'Ewythr Robert, "'steddwch i lawr, a byddwch ddystaw bellach. Dos dithe mlaen â'r 'stori 'rwan, Jemi; sut y fu arnyn' nhw' yn diwedd, gâd glowed."

Wel, fe gadwodd Sam y chware ar droed am yn agos i dair awr, hyd nes oedd ef ei hun, ac Andy, a'r lleill oll, a'r ebolion hefyd, wedi llwyr flino a diffygio wrth redeg; a'r cŵn wedi cyfarth eu hunain allan o lais, a Haley wedi gwaeddi a rhegi ei hun allan o anadl: a phan welodd ei bod yn bryd i droi y pen arni, daliodd yr ebolion, a neidiodd ar gefn Jerri, a thywysodd ebol Haley, a marchogodd yn ei flaen tuag ato:—"Y fi *cotsiodd* o," ebe fe: "base nhw byth yn dal o, on' base fi!"

"Y'th di, 'n wir," ysgyrnygai Haley—"ti 'naeth yr holl helynt yma i gyd."

"Taid anwyl, misar," ebe Sam, mewn tôn druanaidd, "Y *fi!* a fine wedi bod yn rhedeg ac yn rasio, nes ydi 'r chwys yn rhedeg wel afon drosta i bot tamed i gyd!"

"Wel, wel," meddai Haley, "yr ydych rhyngoch a'ch gilydd wedi gwneyd i mi golli agos i dair awr, gyda'ch ffwlbri melldigedig. Bellach, gadewch i ni gychwyn, heb ddim chwaneg o'ch ffoledd cas."

Dadleuai Sam drachefn nad oedd un math o reswm iddynt feddwl am gychwyn yn y diwyg yr oeddynt ynddo—eu bod hwy a'u ceffylau yn barod i syrthio i lawr gan flinder, ar ol rhedeg a baeddu cymaint: ac heblaw hyny, nad oedd achos am gymaint brys, nad oedd Elisa erioed yn un dda am gerdded, a bod ei phlentyn ganddi i'w gario gyda hyny.

Yr oedd Mrs. Shelby yn y cyrhaedd i glywed yr ymddyddan hwn, a daeth hithau ymlaen yn awr i chwareu ei rhan. Cymerodd arni ei bod yn teimlo yn ddwys yn helynt anffodus Haley, a phwysai arno yn daer i aros hyd wedi ciniaw, ac addawai y caffai ei barotoi allan o law. Yr oedd ansawdd cylla ac archwaeth Haley yn brofedigaeth gref iddo gydsynio â'r cais hwn. Hoffai giniaw da bob amser, ac yr oedd ei lafur yn rhedeg ac yn rhegi y boreu hwnw wedi rhoddi awch ar ei archwaeth. Felly, rhwng bodd ac anfodd, efe a aeth i mewn i aros ciniaw.

Wedi i Haley fyned i'r tŷ, aeth Sam ac Andy i'r ystabl i fwynhau y digrifwch a gawsent. Chwarddai y ddau hyd nes yr oeddynt ar ymdori.

"Mi 'roedd o'n ydrach wel ffwl pan eis i â'r ffyle ato fo," meddai Sam. "Taid anwyl! mi fase 'n lladd i, tase fo lyfasu; a fine 'n sefyll o'i flaen o mor ddniwed a 'styngedig."

"Mi dy welis di 'n wir," ebe Andy, "yn twyt ti yn hen rogyn, Sam?"

"Mi ddyliwn i 'n wir mod i," ebe Sam. "Welis di missis wrth ffenest y llofft? fi 'n gwel'd hi 'n chwethrin."

Yr oedd Andy wedi colli pob meddwl am ei feistres, a phawb arall, yn mhrysurdeb yr amgylchiad, ac wedi myned gymaint i ysbryd y gwaith, fel nad oedd wedi meddwl am ddim arall. Cymerai Sam yr achlysur hwn i roddi athrawiaeth ac addysg iddo ar y pwys o fod yn ofalus i ddal sylw ar bob peth; a'i fod ef yn cadw ei lygad yn agored i wylio pawb a phobpeth o'i amgylch bob amser, ac mai felly yr oedd efe wedi dyfod mor ragorol mewn synwyr a doethineb. Yr oedd drwy ei ddyfalwch yn hyn wedi gweled a deall beth oedd ewyllys ei feistres, heb iddi erioed amlygu ei meddwl iddo; a thrwy daflu cil ei lygad arni, pan oedd yn y ffenestr, a'i gweled yn chwerthin, yr oedd yn gweled fod y gwaith yn gymeradwy ganddi.

"Ond aros di," ebe Andy, "taswn i heb helpio dy lygid di, a danos i ti wel yr oedd pethe y bore heddyw, faset ti ddim yn gwel'd dy ffordd cysled."

"Wel, Andy," ebe Sam, "ti 'n fachgen gobeithiol, dim ame 'n y byd; fi 'n dal sylw arnat ti, a fi dim c'wilydd cyfadde fi cymryd dysg o rwthyt ti weithie. Dylen ni dim 'styru neb; y mae y calla o honon ni 'n colli weithie. Ac welly, Andy, gâd i ni fyn'd i'r tŷ 'rŵan, mi wranta i ti y cawn ni foliad o'r seigie gore sy'n tŷ gan missis ar ol hyn."

Yr oedd Haley wedi ei ddiofrydu i siomedigaeth a gofid y diwrnod hwnw. Bu y ciniaw yn hir iawn yn gwneyd ei ymddangosiad ar y bwrdd. Penderfynodd Modryb Clöe, y gogyddes, wneyd ei rhan hithau i'w siomi a'i boenydio, drwy fod yn ymarhous ac oediog i osod y ciniaw ar y bwrdd. Ymddangosai pob mynyd cyhyd ag awr fawr i Haley. Yr oedd ar y drain, fel y dywedir, weithiau yn clymu ei weflau, ac weithiau yn cnoi ei ewinedd; yna yn codi ac yn cerdded at y ffenestr, yn carthu ei wddf, ac yn chwythu ei drwyn. Yr oedd yn ei feddwl yn gweled yr aderyn yn dianc oddiarno. Yr oedd ei fol fel gwin nid agorid arno, gan deimladau anesmwyth: ni allai agor ei gostrel, a bwrw allan ei regfeydd, oedd yn ymweithio yn ei feddwl, yn y fan hòno. Anfonid cenad ar ol cenad at Modryb Clöe, i erchi iddi brysuro; ond yr oedd hòno mor fyddar a'r neb ni fyn glywed. Yr oedd holl wasanaethyddion y tŷ wedi dyfalu mai ewyllys eu meistres oedd dal Haley cyhyd ag y gellid, a gwnai pob un ei ran tuag at hyny. Taflai un y rhwystr hwn, a'r llall rwystr arall, ar y ffordd i gael pethau at eu gilydd: ac nid oedd Modryb Clöe, y brif weinyddes, yn dangos un math o anfoddlonrwydd i'r pethau hyn. O'r diwedd, gosodwyd y ciniaw ar y bwrdd; a chafodd yr olwg

ar y danteithion effaith ddymunol ar dymher Haley. Anghofiodd ei ofid a'i siomedigaethau am fynyd, wrth edrych ar y seigiau breision ar y dysglau, a'r gloew-win yn y costrelau.

Tra yr oedd Haley yn mwynhau danteithion y bwrdd gyda Mr. a Mrs. Shelby yn y parlwr, yr oedd y caethwasanaethyddion yn cynnal cynnadledd ar ei gyflwr yn y gegin.

"Fo chwedi chael hi heddyw!" ebe un o honynt.

"*Sarvio fo right!*" ebe Modryb Clöe; "mi bydd hi 'n waeth arno fo eto, un o'r dyddie yma, os na newidith o i ffordd. Mi neith i Fistar ddanwon am dano fo adre, ag ono geir gwel'd sut bydd hi arno fo."

"Mi eith i uffern ar 'i ben, cin sythed a'r saeth!" meddai Jake bach.

"Fo 'n i heuddud hi!" atebai Modryb Clöe; "fo chwedi tori llawer, llawer, llawer calon—fi 'n d'eyd i chi!" ac meddai, gan godi ei llaw,—"mae'n debyg wel y clywis i Misar George yn darllen yn Dadguddiad,—''Neidie 'n gweiddi dan 'r allor, ac yn galw ar yr Arglwydd am ddial ar 'i sort o.' O, mi gwrandewith yr Arglwydd nhw o dipin i beth—mi neith hefyd!"

"Mi geith o a'i fath 'u llosgi am byth bythodd, 'does dim dowt; yni cha nhw?" sylwai Andy.

"Bydde'n dda gin y nghalon i gwel'd nhw 'n rhostio!" ebe Jake fach.

"Blant!" ebe llais a barai iddynt oll ddychlamu. F'Ewythr Tomos ydoedd, yr hwn a ddaethai i mewn, ac a safasai wrth y drws i wrandaw yr ymddyddan:—

"Blant!" ebe fe, "chwi dim gw'bod be ydach chi 'n d'eyd. 'Byth bythodd' yn gair ofnadwy: y mae 'n 'swydus i feddwl am dano! Dylech chi dim gwllysio 'r fath beth i'r un cr'adur dynol."

"Ni dim g'neyd hyny i neb ond 'snachwrs 'neidie," ebe Andy; "tall neb dim help i 'wllysied o iddyn' nhw—nhw mor drwg!"

"Tall natur i hunan 'wyllysio dim gwell i'w bathe nhw!" ebe Modryb Clöe. "Ai dydyn' nhw dim yn cipio 'r baban bach 'ddiar fron 'i fam, ac yn 'i werthud o? A'r plant bach erill fotho 'n gafel yn 'i dillad hi—ai tydyn nhw dim yn 'u llusgo nhw i ffwrdd, ac yn 'u gwerthud nhw? Ai tydyn nhw dim yn gwerthud gwŷr a gwragedd odd'wrth 'u gilydd?" ebe hi, gan dori i wylo; "a nhw dim teimlo dim byd wrth 'neyd hyny;—nhw 'n yfed ac yn smocio, ac yn g'neyd *sport* o'r cwbwl! Taid anwyl! os gŵr drwg dim dwad a'u cym'ryd nhw, i be mae 'r gŵr drwg da, tybed?" A thorai allan i lefain ar hyn.

"'Gweddïwch trost y rhai a'ch drygant,' y llyfr da 'n d'eyd" —ebe F'Ewythr Tomos.

"Gw'ddïo trostyn' nhw, 'n wir," ebe Modryb Clöe—"hyny 'n rhy galed. Fedra i dim gw'ddïo trost 'u bathe nhw!"

"Dene ydi natur, Clöe!" ebe Tomos, "ac mae natur yn cre'; ond y mae gras Duw yn cryfach; heblaw hyny, dylet ti feddwl am y cyflwr 'swydus y mae 'neidie 'r cyrduried truenus sy'n g'neyd y dryge yma yntho fo, a dylet diolch i Dduw nad wyt ti dy hun yn 'i le fo, a'r un fath a fo, Clöe bach. 'Rwy'n siwr bydde gwell gin i gael ngwerthud deng mil o weithie trosodd, na bod gin i aped am yr holl bethe sy gin y cradur truan ene i aped am danyn nhw."

"Felly fine!" ebe Jake. "Mi fase 'n galed arnon ni, yn fase hi, Andy?"

Arwyddodd Andy ei gydsyniad.

"Mae 'n dda gin i taeth misar dim i ffwrdd bore heddyw, fel 'r oedd o gwedi meddwl," ebe F'Ewythr Tomos; "base hyny yn brifo fi 'n waeth na ngwerthud i—mi fase hefyd. Base 'n digon n'turiol iddo fo myn'd o'r golwg, hwrach; ond mi base 'n galed iawn arna i, sy'n i nabod o pan oedd o 'n babi. Ond gwedi i mi gwel'd misar, fi 'n c'modi âc 'wllys yr Arglwydd 'rŵan. Gallo misar dim help wrtho 'i hun; mi g'naeth yn iawn. Ond fi 'n ofni 'r eith pethe ar y gwaetha, fi gwedi myn'd i ffwrdd. Dim dysgwil i misar allud myn'd o cwmpas i ydrach ar ol pethe, wel bydde fi 'n g'neyd. Mae 'r bechgyn, truen, yn mycanu'n dda, ond 'u bod nhw'n 'sceulus a diofal: dene sy'n blino i."

Ar hyn, canodd y gloch, a galwyd Tomos i'r parlwr.

"Tomos!" ebe ei feistr, mewn llais tirion, "mi a ymwystlais i dalu i'r gŵr boneddig hwn fil o ddoleri, os na fyddwch chwi yn y fan a'r lle, pan y daw efe i alw am danoch. Y mae yn myned heddyw i edrych ar ol *busnes* arall; a gellwch chwi gael y diwrnod i chwi eich hun. Cymerwch eich rhyddid i fyned lle y mynoch."

"Diolch i chi, misar," ebe Tomos.

"Edrych di ati hi," ebe Haley; "a gwylia chwareu triciau negroaidd â dy feistr; mi fyna i bob hatling gantho fo, 's na fyddi di ar gael pen ddof i alw am danat ti."

"Misar," ebe Tomos, gan sefyll yn syth a gwrol, "'r oedd fi yn wyth blwydd oed, pen daru ff' hen fisar 'ch rhoi chi yn y mreichie i, cin i chi bod yn blwydd oed. 'Dyna, Tomos,' medde fo, ''r hwn sy i fod yn fisar i chi; cym'rwch chi gofal am dano fo,' medde fo. A rŵan, fi *jist* gofyn i chi, misar, ddaru mi 'rioed dori fy gair â chi, ne 'neyd rhwbeth yn croes i chi; 'n enwedig, er's pan fi Cristion?"

Yr oedd yr apeliad hwn yn ormod i Mr. Shelby allu ei ddal; a chododd y dagrau i'w lygaid.

"Fy machgen anwyl!" eb efe, "y mae yr Arglwydd yn gwybod fod yr hyn a ddywedaist yn wir bob gair; a phe buaswn yn gallu wrtho, ni buaswn yn dy werthu er yr holl fyd."

"A mor sicr a mod i yn wraig ac yn Gristion," ebe Mrs.

Shelby, "mynaf eich cael yn ol, mor gynted y gallwn gael moddion i'ch pwrcasu. Syr!" ebe hi wrth Haley, "cofiwch adael i mi gael gwybod i bwy y byddwch wedi ei werthu."

"O! mi wnaf, mi wnaf, ran hyny," ebe Haley. "Galle y dof âg e' yma mhen tua blwyddyn, heb fod ddim llawer gwaeth, i'w werthu yn ol."

"Byddaf fi yn brynwr, ynte," ebe Mrs. Shelby; "ac ni chewch fod yn eich colled."

I hyn atebai y masnachwr, mai am fantais ac elw yr oedd efe, fel pobl eraill, yn edrych, ac nad oedd waeth ganddo ef i bwy i werthu ei gaethion, os gallai wneyd arian o honynt.

Yr oedd ofnau Mrs. Shelby rhag iddo lwyddo yn ei gais i ddal Elisa a'i phlentyn yn cynnyddu fwyfwy, wrth weled y fath adyn dideimlad ydoedd Haley. Ond cadwodd ei theimladau iddi ei hun goreu y gallai, a cheisiai fod yn siriol a chroesawgar iawn iddo, er mwyn ei swyno i aros ac oedi ei ymadawiad hyd oedd yn bosibl, er mwyn rhoddi mantais i Elisa i ddianc o'i ffordd. Yr oedd yn ymwybodol o nerth dylanwad swynion benyw brydferth, fel ei hunan, ar y rhyw arall; a chwareuodd hwynt yn fedrus, ac i bwrpas hefyd, canys hi a ddaliodd Haley yn ei maglau dros hir enyd megys yn ddïarwybod iddo.

Tua dau o'r gloch y prydnawn, daeth Sam ac Andy â'r meirch allan drachefn; ac ymbarotoisant yn awr i gychwyn o ddifrif.

"Yn wirionedd i," ebe James Harris, ar hyn, "rhaid i minnau gychwyn adref: yr wyf wedi myn'd yr un fath a Haley fy hun, wrth son am dano. Nos da'wch!"

"Aros! aros!" ebe F'Ewythr Robert, "mae arna' i isio cael gw'bod prun ddaru nhw ddal 'Lisa ne beidio."

"Mi gewch wybod hyny ryw dro arall," ebe James, ac ymaith âg ef.

"Yr achlod i'r bachgen!" ebe F'Ewythr Robert, wedi iddo fyned, "dene fo chwedi myn'd, heb ddeydyd i mi be ddoeth o 'Lisa; mi fyna i gael gwbod gyntho fo y tro nesa', tae'r andros yntho fo."

"Wel, Jacki," ebe fe drachefn, "Be sy wedi dal ar dy feddwl di heno?

"Dal ar y meddwl i 'n wir!" ebe Jacki, "mae Cati chwedi dal ar f'ystlyse i, beth bynag. Welis i 'rioed beth 'run fath a hon; ni waeth gynthi hi dori esgyrn dyn na pheidio. Ond yn wir ni ches i 'rioed shwn sport a chlywed Jemi yn deydyd yr hanes fel daru nhw drin Hwrli wrth dŷ Shabli; mi faswn yn licio bod yno yn y nghalon."

"Hwrli! Shabli!" ebe Cati, "un braf wyt ti am senwi pobol, Jacki."

Aethai yn ffrwgwd rhwng y ddau drachefn, oni buasai i

Modryb Elin gyfryngu ei hawdurdod i'w attal. Yr oedd yr hen ŵr am yru y cwch i'r dwr gymaint a allai.

Wedi gostegu y cythrwfl,—

"Wyddoch chi beth, F'Ewyrth," ebe Cati, "mi fase'n ffitiach i chi briodi Modryb Clöe hòno o lawer na modryb yma, ac iddi hithau briodi F'Ewyrth Tomos, na'ch priodi chi.. Mi fasech yn ffitio 'ch gilydd felly i'r dim. Mi wnaethe Modryb Clöe a chithe, a F'Ewyrth Tomos a modryb, ddau bâr cymws iawn i'w gilydd. Ddaru chi ddim sylwi fel yr oedd F'Ewyrth Tomos yn dwrdio rheini am ddymuned i Haley fyn'd i'r lle drwg hwnw, a fel 'roedd o 'n deyd y dylsen nhw wddïo trosto fo, 'n lle bod felly—'run peth yn inion ag oedd modryb yn ddeyd wrtho nine 'r nos o'r blaen."

"'Rwyt ti chwedi hitio hi 'n o lew 'rwan, Cati," ebe F'Ewythr Robert, "un glyfar o'i cho oedd Modryb Clöe hòno, ar y ngair i; mi 'roeddwn i 'n cydfyn'd â hi i'r pen pella', a mi ddeydis i, wel y deydodd hithe—a mi deyda fo eto—i bod hi 'n groes i natur i neb geisio gwddïo trost rw hen wystfil wel Harli."

"A ddaru i chi ddim dal ar yr hyn a ddwedodd Tomos," ebe Modryb Elin, "bod gras Duw yn gryfach na natur. Nid natur a theimlade ydyw ein rheol ni i fyw, ond gair Duw; ac y mae yn rhaid i ni gael ei ras ef i ddarostwng a llywodraethu ein natur lygredig, cyn y gallwn ni fyw yn ol ei air ef, a gwneuthur yr hyn y mae efe yn ei orchymyn."

"Waeth i ti dewi, Elin!" ebe F'Ewythr Robert, "be nei di 'n son am wddïo trost rw hen *leder* wel Harli; 'dyn lleder' y galwodd un o honyn nhw fo, a tae o yn y nghyredd i, mi dorwn bâr o wadne, i roid tan fy sgidie, o hono fo. Tydw i ddim yn meddwl fod trugaredd i'w fath o i'w chael."

"Y mae rhai o'i fath o wedi cael trugaredd," ebe Modryb Elin; "ac heblaw hyny, nid ni pia dïal—y mae y Bod Mawr wedi dyweyd, mai iddo ef y perthyn dïal, a thalu y pwyth, ac nid yw am roddi yr awdurdod hòno o'i law ei hun i ddwylaw creaduriaid anghyfiawn ac anmherffaith fel ni."

"Wel, yn siwr," ebe Jacki, "mi 'rydw ine 'n gwel'd modryb a F'Ewyrth Tomos yn siarad yn debyg iawn i'w gilydd."

"Mi welis dithe, ai do," ebe Cati, "mi 'rwyt tithe 'n gweled rhwbeth, mi fyddyliwn, wedi i mi roi eli llygid i ti, 'fel rhoes Andy i Sam."

"Wel, hai, Cati! dal dy dafod!" ebe Modryb Elin, "'rwyt ti 'n rhy ddrwg wrth Jacki—mae d'ewyrth yn cynnwys gormod arnat ti o lawer. Ond, a dweyd y gwir i chwi," ebe hi, "mae arnaf ofn fod gwahaniaeth mawr rhyngw' i a F'Ewyrth Tomos. Peth hawdd iawn ydyw i mi siarad fel Cristion yn y fan yma; ond peth mawr iawn, ac anodd iawn ydoedd actio fel Cristion yn sefyllfa Tomos. Siarad am beth, heb wybod am brofiad o'r amgylchiade yr ydan ni yma; ond yr oedd o, druan, yn y tân a'r

ffwrnes, yn cael ei brofi, ac yr oedd o 'n aur pur hefyd. 'Roedd o, nid yn unig yn gallu dweyd fod gras yn gryfach na natur, ond 'r oedd o 'n dangos hyny mewn gweithred a gwirionedd. Dyna 'r fath un ydyw Cristion iawn! Dyna *ydyw bod yn fwy na choncwerwr!* A be 'neith plant y byd hwn yn ffrostio yn 'u Welintons, a rhai felly; mi 'r oedd y caethwas du tlawd hwnw yn fwy gŵr fil o weithie yngolwg 'ngylion y nefoedd, na chan mil o Welintons efo 'u gilydd."

Yr oedd Modryb Elin yn dechreu teimlo ei chalon yn gwresogi o'i mewn; llefarai gyda hyawdledd un yn teimlo ei bwnc, ac wedi myned i'w ysbryd. Yr oedd F'Ewythr Robert, a Jacki, a Chati, eill trioedd, fel wedi eu dal â difrifoldeb a syndod wrth ei chlywed; a phan dawodd, edrychent ar eu gilydd heb ynganyd gair. Wedi ychydig o ddystawrwydd, "Beth wna i 'n son am ddynion," ebe Modryb Elin, "wrth gofio fel y gwnaeth Crist ei hun, yr hwn oedd 'uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig,'—'yr hwn pan ddifenwyd, ni ddifenwodd drachefn, pan ddyoddefodd ni fygythiodd.' Do, do: 'Crist yntau a ddyoddefodd, gan adael i ni esiampl, fel y canlynem ei ol ef.' Yr hwn a weddïodd dros y rhai oedd yn ei wawdio ac yn ei ddirmygu yn ei boenau marwol, gan ddywedyd, 'O Dad! maddeu iddynt.' A chan iddo ef, yr hwn na wnaethai ddim allan o le 'rioed, a'r hwn yr oedd pob gallu ac awdurdod yn ei law, 'neyd hyny, pa'm y cwynwn ni 'i bod hi 'n galed y'n bod ni 'n cael 'n gorchymyn i 'neyd 'r un fath ag ef. Yn 'i nerth ef, 'r oedd F'Ewyrth Tomos yn gallud dal a diodde fel 'r oedd o; ac y mae ei ras ef yn ddigon i ninne hefyd. A pheth arall: faint gwell fyddwch chi er brochi, a digio, a 'sgyrnygu'n erbyn Haley?—mae o'n ddigon pell o'ch cyredd chi; mae ffon Robert yn rhy fêr i'w gyredd o: ond mi feder gweddi gyrhaedd y nefoedd, a mi feder yr Arglwydd, os gwel o 'n dda, gyrhaedd calon Haley, a'i chyfnewid hi hefyd. 'Dydw i ddim yn d'eyd na fydda ine 'n teimlo rhyw awydd dial yn codi yn y nghalon ddrwg, yn wyneb rhyw fân brofedigaethau fydd yn y nghyfarfod i; ond mi ddymunwn allud gorchfygu pob tuedd ddrwg o'r fath: a mi fydda 'n meddwl llawer, ac weithie 'n ceisio canu 'r hen bennill melus hwnw:—

'Yn y rhyfel yr wyf finnau,
 Curo ar aswy ac ar dde;
Ceisio edrych ar y Brenin,
 Meddwl p'odd y daliodd e'.'

Yr oedd Modryb Elin yn gantores beraidd iawn yn ei dyddiau goreu, ac yr oedd ei llais eto yn hynod o fwyn, er yn wan. Canodd y llinellau uchod ar hen dôn Gymreig. Yr oedd yn canu gyda nerth dyddiau ei hieuenctid pan y daeth at y llinell,—"Ceisio edrych ar y Brenin."

Yr oedd teimladau F'Ewythr Robert wedi eu gorthrechu

erbyn hyn, a'i ddagrau fel pys yn treiglo tros ei ruddiau.

"Wel, wel," eb efe, "debic gin i mai ythti sy'n dy le! Mae 'n llawn bryd i ni fyn'd i'r gwely:"—ac i'w wely âg ef.

---

## NOSON IV.

### YR ERLYNIAD.

GYDA bod James Harris yn y tŷ y noson nesaf, ac iddo eistedd i lawr,—

"Doro glo ar y drws, Cati," ebe F'Ewythr Robert, "a thyr'd â'r 'goriad i mi." Pan gafodd yr agoriad i'w law,—"Dyna i ti, machgen i," eb efe; "ni chei di fyn'd gam odd'yma heno, os na ddeydi di i mi sut y daeth 'Lisa trwddi hi. Mi 'r oeddwn i 'n byrddwydio efo hi trwy'r nos neithiwr, ac yn gwel'd Harli yn 'i dal hi, ac yn myn'd â Harri bach odd'arni hi; ac erbyn i mi ddeffro, mi 'r oeddwn i 'n chwys d'ferol i gyd trosta. Mi 'r oedd yn dda ryfeddol gin i, erbyn deffro, mai byrddwyd oeddo. Tase ti heb y nghadw i 'n y ngofol, mi fase 'n safio 'r draffeth a'r boen i mi fyrddwydio!"

"Yr oeddwn yn meddwl," ebe James, "fy mod wedi rhoddi awgrym i chwi allu deall pa fodd y troes allan yn y diwedd."

[Gan fod ychydig fynydau rhyngddi ag wyth o'r gloch—yr awr benodedig i ddechreu gwasanaeth yr adroddiad—aeth yn ddadl ynghylch y tebygolrwydd pa un a lwyddodd Haley i ddal Elisa neu beidio.]

"Ddeydist ti ddim byd i mi allu dyallt dim o'r fath beth!" ebe F'Ewythr Robert; "a dydw i ddim yn meddwl y dalltodd neb arall chwaith!"

"Wel, mi ddalia i chi am beced o datws, mod i chwedi dyallt," ebe Jacki.

"Ythdi chwedi dallt! y llo dwl gin ti?" ebe yr hen wr; "ond gâd glowed sut y daru ti ddallt y peth?"

"Wel, y nghred i ydi, iddo fo 'i dal hi," ebe Jacki.

"Nghred ine ydi, na ddaru o ddim," ebe Cati.

"T'oes gin 'r un o chi sail i gredu y naill beth na'r llall," ebe F'Ewythr Robert, "'nol dim fedris i ddyallt. Be ydi dy gred di, Nel?"

"'Does gin i 'r un gred o fath yn y byd ar y mater eto," ebe Modryb Elin, "'blegid ches i 'r un dystiolaeth; ond 'rydw i'n casglu odd'wrth ryw air ddeydodd Jemi, y nos o'r blaen, iddi hi lwyddo i ddianc."

"Be ddeydodd o?" gofynai F'Ewythr Robert.

"Mi ddeydodd fod y Duw hwnw a edrychodd ac a dosturiodd

wrth Hagar ac Ismael gynt, yn fyw, ac yn edrych ar Elisa a Harri bach yn eu cyfyngder, a bod ei angelion ef yn 'u gwylio ac yn 'u helpio nhw; ac mi 'r ydw i 'n casglu odd'wrth y geirie rheini na chowsan' nhw mo'u gollwn' yn 'sglyfeth i'r gelyn."

"Da iawn, Modryb Elin!" ebe James,—"'hanner gair i gall!'"

"Mi 'r ydw ine 'n gallud casglu rhwbeth, rwan, mi ddyliwn," ebe F'Ewythr Robert. "Jacki, mi golli di dy beced tatws, gei di wel'd;—*wel dwn!* Mi 'r ydw i wel tawn i 'n clowed rhw lwyth o rwbeth chwedi myn'd 'ddiar y nghalon i rwan.—Wel, dechre ar dy waith, Jemi, mae hi chwedi taro wyth."

Wel, mi a ddywedais i chwi neithiwr i Haley, a Sam, ac Andy gychwyn o'r diwedd i'w taith. Ond dylwn grybwyll yn y fan hon, ddarfod i Elisa gyfeirio ei chamrau tua'r afon Ohio, yr Iorddonen hòno sydd yn gwahanu rhwng y taleithiau caethion a'r rhai rhyddion. Tua machludiad haul (yn mis Chwefror), daeth i bentref ar làn yr afon hòno, yn flinedig gan y daith, a thaflodd olwg bryderus arni; yr oedd golwg fygythiol ar ei chefnllif—chwyddasai hyd finion ei cheulanau, ac ymdreiglai darnau mawrion o rew, gan guro eu gilydd, ar ei gwyneb.

"O na bai modd i mi
Ysgoi ei hymchwydd hi,
A hedfan uwch ei lli
I Ganaan rhyddid"—

oedd teimlad a dymuniad Elisa wrth edrych arni. Gwelai ar unwaith y byddai yn beryglus i'r porthgwch anturio croesi yr afon, oblegid y darnau rhew; ac â chalon drom a phryderus, hi a drôdd i westŷ bychan oedd gerllaw i wneuthur ymholiad. Ni chafodd yno nemawr o gysur, ond yn hytrach cadarnhad i'w hofnau. Ychydig o archwaeth oedd gan y cychwyr i anturio croesi yr afon. Trowyd hi i ystafell lle yr oedd gwely, yn yr hwn y dododd ei Harri bach blinedig i orphwys, yr hwn yn ebrwydd a syrthiodd i drymgwsg; ond nid oedd fawr o orphwys a chysgu i'r fam helbulus. Nid yma yr oedd ei gorphwysdra hi, canys yr oedd eto ar y *tir a reibiwyd*, chwedl John Bunyan. Yr oedd arswyd yr erlynwr megys tân yn llosgi ei hesgyrn.

Ac nid ofnau disail oeddynt; canys yr oedd Haley mewn gwirionedd yn agosau at y fan. Y mae yn debygol y buasai wedi ei dal ar y ffordd cyn iddi allu cyrhaedd y pentref, oni buasai i Sam roddi ei ddyfeisiau ar waith i'w attal ar ei yrfa; yr hyn a gymerodd le fel hyn:—

Wedi iddynt farchogaeth ychydig yn eu blaenau,—

"Ni a gymerwn y ffordd sydd yn arwain rhag blaen tua'r afon, canys ffordd hono y byddant hwy yn myned yn wastad," ebe Haley.

"Yn sertan ddigon!" ebe Sam—"Misar Haley yn i hiti

i'r dim! 'Rwan, mae dwy ffordd i myn'd at yr afon—y ffordd budur a'r ffordd fawr—prun mae Misar yn meddwl cym'ryd?"

Cadarnhaodd Andy dystiolaeth Sam yn union, er na chlywsai son erioed am y fath ffordd o'r blaen.

"Wrth reswm," ebe Sam, "fi bron meddwl i Lisy cym'ryd y ffordd budur, wrth bod llai o dryfaelio hyd-ddi hi."

Parodd hyn i Haley gloffi rhwng dau feddwl, a phetruso pa un o'r ddwy ffordd a gymerai.

"Oni bai 'ch bod chi 'ch dau y fath glwddgwn," eb efe, dan fyfyrio a dewinio yn ei feddwl—yr hyn a barai i Andy sefyll ar ol, i ollwng cronfa o chwerthin allan; tra yr edrychai Sam mor sobr-ddifrifol a phe buasai yn sefyll ei brawf am ei fywyd.

"Wrth gwrs," eb efe, "Misar gneyd fel fo licio: cym'ryd y ffordd fawr os fo barnu hyny 'n gore—fo 'run peth i ni. 'Rwan, fi 'n meddwl y peth—fi barnu y ffordd fawr y ffordd gore, 'n bendant."

"Byddai yn naturiol iddi gym'ryd y ffordd leiaf o deithio ar hyd-ddi," ebe Haley, megys wrtho ei hunan.

"Dim *dypendans* yn y byd ar hyny," ebe Sam, "nhw merched mor digri, nhw gneyd dim 'namser wel dysgwiliech chi iddyn' nhw gneyd, nhw 'n gneyd yn hollol groes rhan amla'—merched wedi 'u gneyd o chwithig—a felly, os myddyliwch chi iddyn' nhw myn'd un ffordd, mae'n sicr digon chi gwell myn'd ffordd arall, ac ono chi 'n siwr cael hyd iddyn' nhw. 'Rwan, barn byrsonol fi ydi, i Lisy cym'ryd y ffordd budur—felly fi 'n meddwl ni gwell cym'ryd y ffordd arall."

Cafodd yr athronddysg ddyfnddoeth hon yr effaith a ddymunasai Sam ar feddwl Haley. Penderfynodd ar unwaith gymeryd y ffordd *fudr;* a gofynai i Sam pa mor bell yr oeddynt i fyned cyn dyfod i'r ffordd hòno.

"'Chydig bach mlaen," ebe Sam, gan gamu ei lygaid ar Andy; "ond fi wedi 'styried y mater, fi 'n digon sicr dylen ni dim cym'ryd y ffordd hòno; bum i 'rioed hyd-ddi hi—hi 'n ffordd drwg dyrus—galle ni golli 'r ffordd—a be doe o hono ni? taid a ŵyr."

"Er hyny y ffordd hòno yr äf fi!" ebe Haley.

"Fi meddwl 'rwan, clowed nhw'n deyd bod y ffordd ene wedi chau i fyny, mhell draw acw—ti 'n gwbod Andy?"

Ni wyddai Andy ddim oll, ond ei fod wedi clywed am dani, meddai ef—ni buasai erioed ar hyd-ddi.

Yr oedd Haley, fodd bynag, wedi gwneyd ei feddwl i fyny i gymeryd y ffordd hòno; a phan ddangosodd Sam y drofa iddi, efe a farchogodd ymlaen yn ddibetrusder.

Gwedi marchogaeth ymlaen am tuag awr, daethant i ben eu gyrfa. Yr oedd y ffordd wedi ei chauad i fyny, fel na allent fyned gam pellach.

"Darfu i mi deyd wrth misar bod ffordd wedi i chau fyny," ebe Sam, gan ffugio 'r diniweidrwydd a'r didwylledd mwyaf.

"Y rascal," ebe Haley, "mi wyddwn ti hyn o'r gore!"

"Wel, daru fi dim deyd mod i'n gwbod? fi deyd i misar bod y ffordd wedi chau i fyny—Andy clowed fi."

Ni allai Haley wadu hyn; felly nid oedd ganddo ddim i'w wneyd ond cadw ei soriant yn ei logell, a throi yn ol, a chyfeirio i wyneb tua'r brif-ffordd gynted y gallai.

Cyrhaeddasant y pentref yn mhen tua thri chwarter awr wedi i Elisa roddi Harri bach ar y gwely yn y gwesty. Yr oedd hi yn sefyll wrth ffenestr yr ystafell, â'i chefn at y ffordd yr oeddynt hwy yn dyfod i mewn i'r pentref—cafodd llygad craff Sam gipolwg arni: yr oedd Haley ac Andy ychydig ar ol. Ar y foment hwysig hon parodd Sam i'w het syrthio oddiam ei ben, a rhoddai grochwaedd a dynai sylw Elisa. Rhoddodd hithau naid yn ei hol y foment yr oedd Haley yn myned heibio y ffenestr tua drws y tŷ.

Yr oedd drws yn agor tua'r afon o'r ystafell yr oedd Elisa ynddi, a chipiodd y plentyn yn ei breichiau, a gwnaeth ei ffordd tua'r afon. Cafodd Haley gipolwg arni, fel yr oedd yn myned i lawr at fin y dwr—neidiodd oddiar ei farch, a chan grochalw ar Sam ac Andy, ymaith âg ef ar ei hol, fel bytheiad ar ol carw.

"O *dear anwyl!*" ebe F'Ewythr Robert, "yn tydw i 'n misio chael y ngwynt!—mi daliodd hi cin sicred a'r byd, mae arna' i ofn! O! taswn i ono, mi faswn yn curo 'i fenydd o allan o'i ben, cin sicred a bod ff' enw i 'n Rhobet," gan daro 'r bwrdd â'i ddwrn, nes oedd y ganwyll yn neidio allan o'r canwyllbren, i selio a chadarnhau ei dystiolaeth.

"Aroswch, F'Ewythr Robert, mi gewch glywed yn union sut y troes hi allan," ebe James.

"Clowed," ebe F'Ewythr Robert, "mae arna i ofn clowed, mi rydw i 'n i gwel'd hi 'n myn'd yn d'wllach bob cam; tase ti a fine yn y fan a'r lle, Elin, mi gowset ti wel'd prun ai fy ffon i ne dy weddi di fase 'n aped y diben gore 'r tro hwnw!"

"Ië, pe base, pe base," ebe Modryb Elin, "be dâl son am bethe felly. Yr ydw i heb ei rhoi hi i fyny eto!—adeg cyfyngder eithaf y truan ydyw cyfleusdra Duw i'w waredu, yn aml! Gadawer i ni glywed."

Wel, fel y dywedais, rhedodd Haley ar ol Elisa at yr afon; a phan oedd ar estyn allan ei law i ymaflyd ynddi, hi a roddai waedd o ddychryn, a chyda hyny rhoddai naid oddiar y lan ar ddernyn o rew oedd yn myned heibio ar wyneb yr afon! Yr oedd yn llam arswydus i neb feddwl cynnyg arno; ac ni allasai neb ond un yn safn perygl bywyd ei anturio. Cododd Haley, a Sam, ac Andy, eu dwylaw mewn syndod a dychryn wrth edrych arni!

Rhonciodd ac ysbonciodd y dernyn rhew o dan ei thraed, pan

ddisgynodd ei phwysau arno; ond ni arosodd am foment—neidiodd ar ddarn arall, ac ar ddarn arall drachefn;—tripiai, llithrai, cwympai, a neidiai i fyny drachefn a thrachefn;—collodd un esgid, rhwygid ei hosan oddiam y troed hwnw, tra y ffrydiai y gwaed allan, fel y nodai bob llecyn y gosodai ei throed arno;—ond ni welai, ac ni theimlai ddim, hyd oni chanfu, fel mewn breuddwyd, ochr y tir, o du Ohio i'r afon, a dyn yn ei chynnorthwyo i ddyfod i'r lan!

"Wel, *O diolch!*" ebe F'Ewythr Robert, "ac mi gafodd y lan!—diolch! diolch! diolch!" eb efe drachefn a thrachefn a thrachefn, mewn banllef uchel.

"Amen!" ebe Modryb Elin, a Chati, a Jacki. Deallodd Tobit fod rhywbeth anarferol yn bod, ac yr oedd yn rhaid iddo yntau gael dangos ei deimlad trwy gyfarth nerth ei ben.

Tra yr oedd James yn adrodd y dernyn hwn o'i hanes, yr oedd pawb mor llonydd a dystaw a'r bedd; gallesid clywed swn disgyniad pin ar y llawr. Eisteddai teimladau o bryder ac ofn a gobaith ar bob wyneb; hyd oni throdd y gobaith gwan yn sicrwydd cryf, pan y dywedodd i Elisa gyrhaedd y làn.

Wedi i ffrwd y teimlad cyntaf fyned trosodd:—

"Wel, Rhobet," ebe Modryb Elin, "fe allodd yr Arglwydd waredu Elisa, heb ych help chi a'ch ffon. Yr oedd gin i ryw ddirgel hyder o hyd, y dïengai hi fel aderyn o fagl yr adarwr. Mi dâl yr hen gân—'Byw yw yr Arglwydd, yr hwn a ddug i fyny feibion Israel o wlad yr Aipht,' i'w chanu eto; a'r hen benill Cymraeg hwnw,—

'Ti wnai wyrthiau os bydd achos,
Cyn yr elo 'r gwan i lawr;
Mae dy enw er y cynfyd,
Wedi seinio i maes yn fawr.'

Yn wir: fedra i edrych arni hi fawr iawn lai o beth na gwyrth i wraig wan, ofnus, flinedig, allu croesi tros afon fawr, lydan, ddofn, â phlentyn pedair neu bump oed yn ei choflaid, trwy neidio oddiar y naill ddernyn o rew i'r llall. Yr oedd o 'n rhwbeth tebyg i ddwyn Israel trwy'r Môr Coch. Yr oedd yn dda i Haley nad oedd o 'n llawn mor galed a rhyfygus a Pharao gynt, a cheisio myn'd ar ei hol hi. Sarn a wnaethai'r Arglwydd i Lisa oedd y darnau rhew; a 'doedd gin 'i herlidiwr hi ddim *right* i'w cherdded hi! A phe base fo mor ryfygus a cheisio, mi gowsid d'eyd am dano fo, fel y dywedodd 'r apostol am hen erlidiwrs Israel,—'Yr hyn pan brofodd Haley, boddi a wnaeth!'"

"Wel, mae Neli 'n myn'd i'r hwyl," ebe F'Ewythr Robert, yn siriol: "mi ddaru ti nghuro i, 'r ydw i'n adde'; ond aros di, paid ti a myn'd i byrgethu i ni rwan, i gael i ni glowed sut fu ar Lisa a Harri bach anwyl chwedyn."

"Chware teg i Modryb," ebe Cati; "y chi aeth i'r hwyl gynta',



ELISA A'I PHLENTYN YN CROESI YR AFON.

f'ewyrth. Chlowis i 'rioed monoch ch'i 'n gwaeddi, 'O! diolch,' o'r blaen. Mi ddaru chi waeddi nes aeth Tobit i'r hwyl hefo chi."

"Wel, yn wirionedd ine, mi 'r oeddwn i 'n clowed awydd i ddiolch ar y nghalon, a faswn i 'n y myw yn tewi, chwaith," ebe yr hen wr; "ond mi gollodd Jacki 'i beced tatws," eb efe. "Mi wertha i beced i ti am swllt; a rhaid i ti fyn'd â fo ar dy gefn, y bore fory, i Lys y Falwen, a'i roid o 'n bresant i Modryb Marged; mi fydd yn dda gin 'r hen wraig i gael o," eb efe wrth Jacki.

"O'r gore," ebe Jacki, "mi rydw i'n falch iawn mod i chwedi colli. Mi fase well gin i gollid hobed o datws, nag i'r dyn hwnw ddal 'Lisa, a'r bachgen bach!"

"Wel, os ydych chwi yn barod i wrandaw, mi âf finnau ymlaen â'r hanes," ebe James.

"Lodes arw iawn wyt ti, pwy bynag wyt ti!" ebe'r gwr a gynnorthwyai Elisa i gael y lan.

Adnabu Elisa lais a gwyneb y gwr, yr hwn oedd berchenog tyddyn o dir gerllaw ei hen gartref.

"O Mr. Symmes! achubwch fi! O! achubwch fi!" ebe Elisa.

"Be yn y byd sy ar y lodes!" ebe y dyn. "Y ngair gwir i, ys nad lodes Shelby ydi hi!"

"Fy mhlentyn!—y bachgen bach hwn!—efe a'i gwerthodd! —a dacw ei feistr ef," ebe hi, gan bwyntio i'r tu arall i'r afon, i ochr Kentucky. "O! Mr. Symmes, y mae genych chwithau fachgen bach!"

"Felly y mae gin i," eb efe, fel yr helpiai hi i ddringo i fyny. "'Blaw hyny, 'r wyt ti 'n lodes wych i'r eitha'. Mi fydda i 'n leicio gwel'd metel, p'le bynag y bo fo."

Wedi iddynt gyrhaeddyd pen y banc oddiar yr afon, edrychai y gwr yn betrusgar; ac eb efe—

"Mi fydde 'n dda gin i allu gwneyd rhywbeth trosoch chwi; ond nid oes genyf un man y gallwn eich cym'ryd iddo. Y peth gore alla i 'neyd ydi 'ch cynghori chi i fyn'd i'r tŷ acw," eb efe, gan bwyntio at dŷ gwŷn mawr oedd yn sefyll ar ei ben ei hun, ar y naill ochr i brif heol y pentref. "Ewch ono; mae pobol y tŷ yn rhai c'redig iawn;—ddaw ddim perig arnoch chi ono;—mi na nhw 'ch helpio chi;—y mae nhw i fyny â phob peth o'r fath hòno."

"Bendith yr Arglwydd arnoch!" ebe Elisa.

"Dim achos, dim achos yn y byd," ebe y gwr, "'t oedd hyny neis i ddim gwerth son am dano."

"Ond, O syr! ni wnewch ddywedyd wrth neb—a wnewch chwi?" ebe Elisa.

"Dos i'r t'rane, lodes; be wyt ti 'n feddwl ydw i? Na-na,

byth dd'eyd i neb," ebe y gwr. "Tyr'd rwan, dos yn dy flaen, fel lodes bert, s'nwyrol, fel y mae 'n 'mddangos i mi dy fod di. Mi 'rwyt ti chwedi ynnill dy rydid; a mi cei o hefyd, er dim a 'na i i dy rwstro di!"

Gwasgodd Elisa y plentyn i'w mynwes, a phrysurai ymaith, a'r dyn yn sefyll, ac yn edrych ar ei hol.

"Hwyrach na 'styria Shelby dro fel hyn yn dro cym'dogol iawn!" ebe fe wrtho ei hun. "Ond be feder dyn 'neyd;—os daw yntau byth ar draws lodes i mine yn 'r un cyflwr, bydd croeso iddo fo dalu 'n ol. Fedris i 'rioed, r'wsut, 'drychyd ar un math o gryadur yn 'mydrechu a 'megnïo i redeg i ffwrdd, a'r cwn ar eu hole nhw, a pheidio rhoid help iddyn' nhw. Peth arall, tydw i ddim 'n gallud gwel'd 'r un rheswm p'am y dylwn i hela a hyntio trost bobol erill."

Felly yr ymresymai y Kentuckiad anllythyrenog ac anwybodus hwn; yr hwn na chawsai ei addysgu yn ol y gyfraith yn ei ddyledswyddau gwladwriaethol, ond *actiai* yn ol teimladau cynhenid ei natur. Pe buasai mewn uwch sefyllfa, ac wedi cael yr addysg gyffredin, ni buasai yn ymddwyn mor ddyngarol ag y gwnaeth.

Safai Haley fel delw, yn syllu ac yn tremio, nes aeth Elisa o'r golwg y tu arall i'r afon. Yna trodd olwg synllyd ar Sam ac Andy.

"Dene strôc o fusnes go lew 'n fan ene!" ebe Sam.

"Y mae saith o gythreuliaid yn y lodes, 'rwy'n credu," ebe Haley; "yr oedd hi 'n neidio ac yn picio fel cath wyllt."

"Wel, 'rwan," ebe Sam, "fi 'n gybeithio gneith Misar Haley 'n 'scusodi ni i beidio treio teithio 'r ffordd ene—fi dim blys i threio hi sut yn y byd!" eb efe, gan chwerthin yn groch.

"Ai chwerthin 'rwyt ti?" ebe Haley.

"Bendith arnoch chi, misar," ebe Sam, "galle fi dim wrtho fo 'rŵan," gan ollwng y ffrwyn i'w deimladau. "Ynt oedd hi mor digri, yn neidio ac yn picio ar hyd y rhew, a hwnw 'n clecian ac yn crecian; a'i chlywed hi dwmp—damp—dwns—dans—spring—sprang. Taid! wel 'roedd hi 'n gneyd hi!" Yna chwarddai y ddau nes oedd y dwr yn rhedeg o'u llygaid.

"Mi na i chi chwerthin yr ochor arall i'ch cege, 'n union," ebe Haley, gan geisio at eu penau hefo ei chwip. Rhedodd y ddau nerth y traed, gan grechwenu a chwerthin; a neidiasant ar gefnau Bill a Jerri, cyn i Haley allu eu cyffwrdd.

"Pyrnawn da, Misar," ebe Sam—"gwranta i bod missis yn anesmwth 'n achos Jerri; Misar Haley dim yn heisio ni bellach. Leicie missis dim i ni yru Bill a Jerri tros bont Lisy heno!" a chan roddi pwniad i Andy yn ei ochr, ymaith â'r ddau ar garlam wyllt, gan chwerthin a chrechwenu wrth fodd eu calonau.

Cafodd Elisa a'i bychan dderbyniad caredig, a llety ac ymgeledd gysurus yn y tŷ y cyfeiriasai y dyn hi iddo. Trodd Haley,

yntau, i ymofyn llety i'r gwestŷ y diangasai Elisa o hono; a gallech feddwl beth oedd teimladau y blaidd wedi y fath ddiwrnod o siomedigaethau, yn enwedig y siomedigaeth olaf, pan ddiangodd ei ysglyfaeth oddiarno, megys rhwng ei balfau. Aeth Sam ac Andy hwythau i'w ffordd. Adroddent anturiaethau y dydd, a gwnaent sylwadau arnynt yn llawen, a chwarddent am eu penau yr holl ffordd wrth fyned adref.

"Rhoddais i chwi gyfieithiad o'r dernyn a adroddais yn awr o'r hanes rywbeth yn debyg fel y mae ar lawr yn y llyfr. Dyna chwi wedi cael gwybod beth a ddaeth o Elisa! Yn awr, F'Ewythr Robert, rhaid i minnau gael fy ngollwng i fyned tuag adref, os gwelwch chwi fod yn dda."

"Iechyd i dy galon di, mi gei 'r peth fyd fynoch ti!" ebe yr hen ŵr. "Mae'r stori 'n myn'd well well o hyd! Rhaid i ti aros yma i swper nos yfory—mi geith Cati ladd gŵydd dew, a rhoid winwins a saits a phersli lon'd 'i bol hi, i neyd stwffin, a mi gei di 'i hanner hi'n groew ar dy blât, a chroeso calon."

"Tewch â siarad *nonsens*, Robert!" ebe Modryb Elin.

"Wel, ceith yn wir, mi geith hefyd!" ebe yr hen wr.

"Wel, wel, rhoddwch yr agoriad i Cati i agor y drws i mi yn awr," ebe Jemi, "ni a gawn setlo ynghylch yr ŵydd nos yfory."

"A! 'n wir! gin gofio," ebe F'Ewythr Robert, "'rwyt ti 'n garcharwr tan glo, ynt wyt ti!" a thynai yr allwedd o'i logell, gan ei estyn i Cati. "Mi 'rwyt tithe wel Lisa," ebe fe, chwedi ennill dy rydid, chware teg i ti. Noswaith dda i ti; cofia fi at dy dad a dy fam."

Yr oedd yr hen wr mor lloned a'r gog ar y gainc y noswaith hòno.

"Mi gysga i 'n well heno na neithiwr, rwy'n coelio," ebe fe.

"Rydw i'n meddwl y cysga ine 'n 'smwythach hefyd," ebe Jacki."

"Yth di 'n son am gysgu 'n 'smwythach," ebe Cati—"mi na i 'n dda y cysget ti 'n esmwyth ddigon tae 'r Ffrancod yn saethu canans wrth ben dy wely di!"

"Wel, wel," ebe Modryb Elin, "waeth i mi heb ddeyd wrthat ti, Cati, am beidio cipio pob peth ddeydo 'r llanc fel ene bob amser. A son am gysgu 'n 'smwythach 'rydach chi—wyddoch chi ddim be all fod cin yfory. Fe ddywedwyd wrth rywun gynt, oedd yn meddwl cysgu 'n esmwyth fel chwithe heno, 'Y nos hon y gofynant dy enaid oddiwrthyt,' a mi all fod felly ar un o honom ninnau 'r nos heno. Un fel y Salmydd all fyned yn dawel i'w wely, a chysgu 'n esmwyth, pan oedd o yn dweyd, 'Mewn heddwch hefyd y gorweddaf, ac yr hunaf, canys ti, Arglwydd, yn unig, a wnei i mi drigo mewn diogelwch.' Fe all yr hwn sydd mewn heddwch â Duw gau ei lygaid yn

dawel, heb ofalu pa un ai yn y byd yma ai yn y byd arall y bydd o 'n eu hagor nhw."

Yr oedd geiriau yr hen wraig yn effeithio difrifoldeb yn y tri. Dystawent yn wastad pan lefarai hi; ac yr oedd yr hen wr yn neillduol yn teimlo mwy nag yr oedd yn chwennych ei amlygu.

Wedi ychydig o osteg—

"Un ryfedd, ryfedd, ydyw hen ragluniaeth fawr y nefoedd," ychwanegai Modryb Elin. "Mae yr hen olwyn yn 'llawn llygaid,' ac yn troi i'r dim; medr hi ddefnyddio pob math o offeryne gael ei hamcanion doeth i ben. 'Roedd hi 'n medrud goruwch-lywodraethu rogri Sam, er mantes i Lisa, druan, gyrhaedd glan yr afon cyn i Haley gael gafel ynddi hi. Y hi drefnodd y darne rhew i fod yn ddigon agos at eu gilydd, o'r naill ochr i'r llall i'r afon, i Lisa allu neidio o un i'r llall; a hi roes nerth yn ei meddwl hi i anturio, a nerth yn ei chorff hi i allu gneyd peth fase 'n 'mddangos yn amhosibl. Y hi drefnodd fod y dyn cymwynasgar hwnw yn y fan a'r lle i'w helpio hi i'r lan, a'i chyfarwyddo hi. Tŷ wedi ei ddarparu ganddi hi oedd y tŷ gwŷn hwnw, a'r teulu caredig oedd yn byw ynddo fo; fel 'roedd hi wedi darparu Rahab a'i thŷ i letya a chuddio cenhade Israel yn Jericho gynt; ac fel y canodd yr hen Williams iddi hi,—

'Ond mewn cyfyngder caled y gwna ragluniaeth hyn,
Yn mynydd Duw y gwelir y waredigaeth sŷn;
Yn diogelu'r truan, yn rhoddi 'i draed yn rhydd,
Ac weithiau ei ddyrchafu a'i anrhydeddu bydd.
Mae fyth yn dilyn cynghor hen arfaeth fawr y ne',
Yn achub at y fynyd, yn gymhwys yn ei lle;
Pe 'rhosai 'n hwy rai prydiau, ni wnai hi ronyn lles,
Neu 'n gynt, yr ochr arall, ni fyddai gronyn nes.
Pa'm na thro innau 'ngolwg fyth tua'r nefoedd wen,
Yn nghanol pob cynddaredd wy'n weled is y nen;
A'm Iesu yn rheoli yr afreolus lu
O ddyfnder uffern isod i bellder nefoedd fry.'"

"Wel, wel! os ei di i ddechre hefo'r hen Williams ene, dyma lle byddwn ni trwy 'r nos," ebe F'Ewythr Robert. "Gâd i ni fyn'd i gadw"—ac i'w gwelyau yr aethant.

---

## NOSON V.

### SAM AC ANDY, HALEY, MARKS, A TOM LOKER.

Yr oedd yr wydd dew o flaen y tân yn rhostio pan daeth Jemi i'r Hafod y noson hon.

"Dyna i ti," ebe F'Ewythr Robert, "mi ddeydis i ti y caet ti wydd i dy swper heno, Jemi."

"Mi wela 'n wir eich bod chwi cystal a'ch gair, F'Ewythr Robert," ebe Jemi.

"Aros di, gâd i mi ddeydyd i ti dipin o ache yr wydd ene," ebe yr hen wr. "Mae 'i mham hi yn wyres i hen wydd fu 'n meddiant nain fy nain: a mi glowis fy nain yn deyd iddi glowed i nain hi yn deyd i bod hi unwaith wedi gwerthud cowen i'r hen wydd hòno i gwc Olfer Cromwell, pan oedd o a'i sowldiwrs yn y wlad yma rw dro. Mi fase 'n dda gin i tase bosib codi 'r hen Olfer yn fyw o'i fedd eto, a'i yrud o i'r Merica i ddryllio rhwyme 'r caethion, wel y drylliodd 'rhen gystelli 'rhyd y wlad yma. Ond mi liciwn gael clowed gin ti heno sut fu ar Sam ac Andy pan aethon nhw adre; be oedd i mister a'u mistres yn i ddeydyd."

"Hyn oeddwn i yn ei feddwl adrodd i chwi yn gyntaf peth," ebe Jemi.

Fel y gallech feddwl, yr oedd Mrs. Shelby yn hynod o anesmwyth drwy y prydnawn hwnw. Yr oedd yn awyddus i weled Sam ac Andy yn dychwelyd, ac yr oedd arni ofn eu gweled hefyd. Yr oedd arswyd rhag clywed ddarfod i Haley ddal Elisa yn gwneyd ei henaid yn chwerw ynddi; y gobaith gwan ddarfod iddi lwyddo i ddianc yn unig a'i daliai rhag llewygu. Am Mr. Shelby, y mae yn anhawdd dyweyd yn gywir beth oedd ei deimladau ef; ond gellid meddwl mai, o'r ddau, mwy dewisol ganddo fuasai cael ar ddeall fod yr aderyn wedi dianc, na chlywed ddarfod iddo syrthio yn y groglath.

Pan glywodd Mrs. Shelby swn traed Bill a Jerri yn nesau at y tŷ, hi a neidiodd i fyny, ac a redodd i gyfarfod Sam ac Andy, a'i chalon yn crynu fel calon aderyn.

"Ai ti sy yna, Sam? Pa le y maent?" ebe hi.

"Mae Misar Haley yn gyphwyso yn y dafarn, fo chwedi blino 'chrynllyd, missis"—oedd yr ateb.

"Ac Elisa, Sam?"

"Wale! hi chwedi croesi 'r 'Orddonen i wlad Canaan, wel y d'wedan nhw."

"Beth, Sam? beth wyt yn ei feddwl?" ebe Mrs. Shelby, ar golli ei hanadl, ac ar syrthio mewn llewyg, heb wybod pa ystyr i'w roddi i eiriau Sam.

"Wale, missis! 'r Arglwydd yn cadw 'i eiddo 'i hun! Lisy chwedi myn'd tros yr afon i Hio, mor r'feddol a phy base 'r Arglwydd yn chymryt hi mewn cerbit o dân a dau o ffyle."

Arferai Sam dynu allan ei holl stoc o grefydd, a'i wybodaeth ysgrythyrol, yn mhresennoldeb ei feistres bob amser.

"Tyred yma, Sam," ebe Mr. Shelby, yr hwn a ddaethai allan ar ol ei wraig, "a dywed i dy feistres yr hyn sydd arni eisieu. Dowch, dowch, Emily," eb efe, gan roddi ei fraich am dani—"yr ydych yn oer, ac yn crynu trwyddoch—yr ydych yn teimlo yn ormodol."

"Teimlo 'n ormodol!—ai nid wyf yn wraig?—yn fam? Ai nid ydym yn gyfrifol i Dduw am y ferch druan hon? Fy Nuw, na ddod y pechod hwn yn ein herbyn!"

"Pa bechod, Emily? Yr ydych yn gweled eich hun na wnaethom ddim ond yr hyn y gorfodwyd ni i'w wneyd."

"Y mae rhyw deimlad dychrynllyd o euogrwydd ynglŷn âg ef, er hyny," ebe Mrs. Shelby, "na allaf fi mo'i resymu ymaith."

"Hai, Andy!" gwaeddai Sam, "edrach o dy gwmpas—ti cymryd y ffyle i'r stabal—ti dim clowed misar galw?" a rhedai rhag ei flaen, a safai wrth ddrws y parlwr.

"'Rŵan, Sam, dywed i ni yn *blaen* sut y fu hi. Pa le y mae Elisa, os gwyddost ti?" ebe Mr. Shelby.

"Wal, misar, fi gwel'd hi â'ff llygad ff'un yn croesi ar darne rhew trost 'rafon. Mi aeth trosodd yn syndod!—fo dim llai na gwrthie—a fi gwel'd dyn yn i helpio hi 'rochor arall—a fi colli golwg arni hi gwed'yn!"

"Sam, mae dy stori di 'n ymddangos yn debyg i stori o'r 'Pocrypha i mi;—y wyrth—y croesi dros yr afon ar ddarnau o rew nofiadol, nid yw beth mor hawdd i'w wneyd," ebe Mr. Shelby.

"Hawdd?—gallse neb byth i neyd o heb 'r Arglwydd! Wal, 'rwan," ebe Sam ymhellach, "'roedd hi jest wal hyn:—Misar Haley, fi, a Andy, ni dwad at y dafarn bach wrth yr afon—fi tipin bach o blaen nhw—fi mor wddus i gotsio Lisy, fel baswn i 'n y myw yn dal ff' hunan; pan fi dwad at ffenest y dafarn—yn siwr digon, dene lle 'roedd hi, yn digon hawdd i gwel'd, a Misar Haley 'n ymyl. Wal, fi 'n colli ff' het 'r amser hòno, a fi 'n rhoid bonlle fawr, digon i deffro 'r meirw—mi clowodd Lisy, wrth gw's, a mi nabu fi, a mi dalltodd, a mi neidiodd yn i hol o'r ffenest cin i Misar Haley i gwel'd hi; a chwed'yn, fi deyd i chi, mi redodd allan trwy drws cefn, ac i lawr rhynthi a'r afon, a mi gwelodd Misar Haley hi, a mi waeddodd allan, a ffwrdd â fo a fine ac Andy ar 'i hol hi—lawr â hi at lan 'r afon. 'Roedd ffrwd o dwr, teg trodfedd o lled, yn rhedeg wrth y lan—tu draw i'r ffrwd hon yr oedd darn o rew 'n nofied, wal darn o ynys mawr. Mi ddaethon yn glos i'w hymyl hi, a fi meddwl yn y nghalon bod o wedi chael hi 'n siwr, pan roes hi 'sgrech fwya' onadw glowis i 'rioed; a dene hi gyda hyny yn rhoid naid trost y ffrwd ar y darn rhew 'rochor arall, ac ono ymlaen â hi, gan 'sgrechian a neidio, a'r rhew yn dwnsio ac yn crecio, ac yn sponcio! a hithe 'n bowndio hyd-ddo fo wal iwrches! Taid anwyl! tydi'r *spring* wal sy yn y lodes hòno ddim yn beth ffredin iawn, 'nol y piniwn sy gin i!"

Eisteddai Mrs. Shelby yn hollol ddystaw, ac yn welw gan bryder, tra yr oedd Sam yn adrodd ei stori.



HALEY YN CAEL EI DAFLU GAN EI FARCH.

"Moliant i'r Arglwydd, ni chollodd hi mo'i bywyd!" ebe hi. "Ond yn m'hle y mae Harri bach, druan?"

"'R Arglwydd a ddyrpara!" ebe Sam, gan godi ei olygon i fyny yn hynod o ddefosionol. "Wal yn daru mi deyd, mae rhyglunieth yn y peth, yn diame; a wal y bydde missis'n wastad yn dysgud ni, mae offryne 'n codi i gneyd 'wllys 'r Arglwydd. Rwan, oni base fi, base hi wedi i dal dwsin o weithie heddyw! A nid fi, tybed, wlltiodd y ffyle y bore heddyw, a cadw nhw i rasio tan toedd hi 'n amser cinio, jest? A'n ddaru fi dim mynd â Misar Haley agos i pump milltir allan o'i ffordd, y pyrnawn yma? 'nte base fo wedi dwad o hyd i Lisy 'n digon hawdd! A dene 'r cwbwl i gyd yn rhygliniaethe!"

"Maent y fath ragluniaethau y bydd raid i ti fod yn gynnil o honynt, Mistar Sam. Ni oddefaf fi y fath ymddygiadau tuag at foneddwyr yn y lle hwn!" ebe Mr. Shelby, gyda chymaint o lymder ymddangosiadol a allai dan y fath amgylchiadau.

"Nid yw o un dyben," medd yr awdures, "i ddyn geisio ymddangos yn ddig wrth negro, mwy nag wrth blentyn; fe ddealla y naill a'r llall, yn reddfol, megys; beth ydyw gwir sefyllfa yr achos, trwy bob ffug-ymddangosiad i'w guddio." Ac nid oedd Sam yn digaloni yn y mesur lleiaf drwy y cerydd hwn; er iddo ymddangos yn sobr ryfeddol, a llaesu ei wefusau yn y dull mwyaf edifeiriol.

"Misar yn i le," ebe fe, "*quite* yn i le; fo'n peth hyll arna i—dim dwyweth am hyny! Wth gwrs, misar a missis dim cenogi y fath bethe, fi gwbod hyny;—ond fi nigger tlawd, a fy ffasiwn, cael 'n temtio 'n arw iawn i neyd castie hyllion weithie, pen gwelon ni rw grachwr wal Misar Haley 'n mybincio.—Fo dim gwr byneddig, beth bynag! mi gwel pob un cafodd i dwyn i fyny wel ces i gimin a hyny—fi'n siwr!"

"Wel, Sam," ebe Mrs. Shelby, ar hyn, "gan dy fod yn ymddangos dan deimlad priodol o'th fai, gelli fyned at Modryb Clöe, a gofyn iddi roddi peth o'r ham oer, gweddill ciniaw heddyw, i ti ac Andy. Rhaid fod arnoch eisieu bwyd."

Aeth Sam i'r gegin at Modryb Clöe yn llawen ei galon, a thraddododd iddi archiad ei feistres; ac er nad oedd y teimladau goreu rhwng Modryb Clöe ac yntau er's cryn amser, medrodd Sam ymweithio i'w ffafr yn fuan, a huliodd y bwrdd iddo ef ac Andy â breision a melusion y fwydgell; a gwnaethant lawn chwareu teg â'r danteithion ac â'u boliau eu hunain. Yr oedd yr holl dylwyth negroaidd wedi ymgasglu ynghyd i wrandaw ar Sam ac Andy yn traethu hanes helyntion y dydd. Areithiai Sam gyda hwyl a hyawdledd anarferol y noson hòno. Ymaflai mewn aelod o dwrci, a thynai hi heibio ei ddannedd, a chodai hi i fyny uwch ei ben, gan lefaru pethau rhyfedd am dano ei hun. Efe, meddai, oedd amddiffynwr ei genedl!—y mynai efe

sefyll tros iawnderau ei frodyr, pe buasai ei fywyd yn myned yn aberth drwy hyny! Gwrandawent oll arno gyda dyfalwch a syndod. Ac wedi iddo derfynu ei swper a'i araeth, archodd iddynt oll fyned i'w gwelyau. Ac felly terfynodd helyntion y diwrnod hynod hwnw.

Tra yr oedd Sam a'i gymdeithion diniweid yn gwledda ac yn mwynhau eu hunain gartref, yr oedd Haley yntau yn ymdeimlo â'i ofid a'i siomedigaethau yn y dafarn. Yr oedd weithiau yn barod i regu ei hunan, yn gystal ag Elisa, a Sam ac Andy, a phawb eraill. Tra yr oedd ei gynddaredd yn ymweithio o'i fewn, pwy a ddaeth i'r lle ond hen gydnabod iddo o'r enw Tom Loker, ac un arall o'r enw Marks. Adyn barbaraidd, anystyriol, a dideimlad, oedd y Tom Loker hwn. Llogid ef a'i gydymaith gan feistriaid caethion, i erlyn a dal y ffoaduriaid a ddiangent o'u gwasanaeth. Yr oedd ganddynt *set* o gwn wedi eu dysgu yn dda at y gorchwyl dieflig. Ni wyddai y cwn, druain, pa beth oeddynt yn ei wneuthur; darostyngid hwy i'r oferedd creulawn hwn gan y dyn;—y dyn sydd yn darostwng pob peth yn gaeth i wasanaeth ei lygredigaeth! Adroddodd Haley ei dywydd a'i helynt wrth Tom Loker a'i gyfaill, a chytunodd i roddi hanner can' dollar iddynt am fyned i hela a dal Elisa.

"Er mwyn rhoddi i chwi ryw olwg pa fath ddynion oedd yr anghenfilod drygionus hyn, mi a adroddaf ychydig o'u hymddyddanion," ebe Jemi.

Sylwai Haley, bod trafferth a gofid i'w gael yn wastad gyda chaethesau a fyddent yn famau plant:—

"Fedris i 'rioed weld sut y mae y peth yn bod," eb efe. "Mi alle dyn feddwl y bydde 'n dda gynthyn nhw gael 'madel â'r plant, a chael llonydd gynthyn nhw; ond nid felly mae nhw. A pho mwya o drwbwl fotho un bychan iddyn nhw, a pho mwya da i ddim byd fo fo, mwya i gid ydi i gafel nhwthe ynthyn nhw yn gffredin!"

"Wal, Mr. Haley," ebe Marks, "mi rydach chi 'n deyd y gwir—felly mae nhw. Mi brynis i lodes unweth, pan 'roeddwn i yn y trât—a lodes bert ddigynyg oedd hi hefyd—ac mi 'r oedd gynthi un bach salw druenus; 'roedd o 'n gefngam, truenus, a gwan; a mi rhoddis i o i ffwrdd i rw ddyn i gymryd i siawns arno fo, os galle fo 'neyd rhwbeth o hono fo—heb feddwl 'rioed, 'rydach chi 'n gweld, base'r lodes yn hidio dim byd am dano fo; ond, Taid anwyl! tase chi 'n gweld fel cynriogodd hi! 'N wir, 'roedd hi 'n myddangos i mi bod hi 'n waeth am y plentyn am i fod yn salw ac yn groes, ac yn peri trwbwl iddi hi, na phe base fo 'n blentyn iach a diddig. 'R oedd hi 'n gweiddi, ac yn nadu, ac yn neidio o gwmpas, fel tase hi gwedi colli pob ffrind a fedde hi. Yn wir, 'roedd yn ddigri i gweld hi, a meddwl am dani hi! 'Does dim diwedd ar piniwn gragedd!"

"Wel, 'r un fath 'n union fu arna ine," ebe Haley. "Yr ha dwaetha, i lawr yr Afon Goch, mi ddaeth lodes i fy lot i, â phlentyn braf yr olwg arno fo gynthi hi. Yr oedd i lygid o 'n ydrach mor loewon a'ch llygid chwithe; ond erbyn sylwid, 'roedd o mor ddalled a'r post; dene'r gwir! Wel, mi feddylis i na fase fo ddim niwed i mi i basio fo heibio, a thewi a son, a mi ges 'madel â fo 'n rhwydd am gasg o whisci: ond pan aethon ni i'w gymryd i ffwrdd oddiar y lodes, 'r oedd hi fel y tiger—'t oeddwn i ddim wedi rhoi y lot oedd gin i o honyn nhw mewn cydwyne i'w cwchwyn; a chan bod i thraed a'i dwylo hi 'n rhyddion, be naeth hi ond neidio i ben bwrnel o gotwm, fel cath, a chipio cyllell yn i llaw oddiar un o ddwylo 'r llong; a mi 'r ydw i 'n deyd i chi, mi naeth i bawb ffoi rhagddi hi am funud, nes gwelodd hi nad oedd o ddim iws: ac mi droes o gwmpas, ac mi neidiodd ar i phen trost y bwrdd i'r afon, â'i phlentyn i'w chalyn! ac i lawr â hi, blwmp, ac ni chododd hi byth!"

Rhedodd iâs o achreth a dychryn trwy y teulu, fel yr adroddai Jemi yr hanesyn arswydus hwn. Yr oedd F'Ewythr Robert yn teimlo yn rhy ddwys i ddywedyd dim am enyd! Cododd Cati ar hyn i roi tro i'r wydd, a bu yspaid o doriad ar yr adroddiad. Pan eisteddodd i lawr drachefn, troai yr hen wr at yr hen wraig, a chyda gwedd ddifrifol, braidd ddigofus, dywedai wrthi, "Paid ti a son byth am wddio trost y dyn ene yn ynghlyw i eto!"

Ysgydwodd Modryb Elin ei phen—ond ni ddywedodd air.

"Wel, ni a awn ymlaen," ebe Jemi. Gwrandawai Tom Loker y storïau hyn gyda dirmyg. "Bah!" eb efe, "y ddau wlanen ydach chi! Fydd lodesi fi byth yn cael chware rhw brancie wel ene, rydw i 'n deydyd i chi."

"Yn wir, sut y gelli di wrthyn nhw?" ebe Marks.

"Sut y galla' i wrthyn nhw? Wel, fi 'n prynu lodes, ac os bydd ganthi un bach i'w werthud, mi af ati hi, ac a gauaf fy dwrn yn 'i dannedd hi, gan ddeyd, 'Gwrando di, 'rwan, os deydi di 'run gair o dy ben, mi drawa dy ddannedd di i gorn d'wddw—fyna i glywed run gair—dim hanner gair!' A mi fydda yn deyd wrthyn nhw, 'Fi pia'r peth bach yma, a nid y chi, toes gynthoch chi ddim a neloch âg y fo. 'Rydw i am i werthud o 'r cynnyg cynta ga i, a drychwch chi na bo'ch yn cadw dim trwst yn i gylch o, ne mi na i chi ddymuned na basech chi rioed chwedi'ch geni i'r byd!' A mi rydw yn deyd i chi, byddan nhw'n gwel'd 'ninion na bydd dim iws iddyn' nhw chware 'u prancie wedi dwad i ngafel i. Mi gna i nhw mor ddystaw a physgod; a 's bydd un o honyn' nhw 'n dechre a rhoid gwaedd, wel ——," gan daro 'r bwrdd â'i ddwrn mawr, arwyddai Mr. Loker beth fyddai y canlyniad.

"Dene'r peth wyt ti 'n alw 'n *bwyslais!*" ebe Marks, gan roddi pwniad i Haley yn ei ochr, a chan droi ato, "Ond ydi

Tom yn un garw? he! he! he! Wel, Tom, mi fyddi 'n gneyd iddyn' nhw ddyallt, mi ddyliwn; byddan nhw byth yn misio dirnad dy feddwl di. Os nad y —— wyt ti, Tom, i frawd efell o wyt ti—mi ddeyda i hyna am danat ti, beth bynag."

Yr oedd Haley, erbyn hyn, i gryn raddau dan ddylanwad effeithiau y gwydryn, ac yn dechreu teimlo ei ddelweddau moesol yn ymddyrchafu ynddo—peth digon cyffredin mewn gwŷr o'i fath ef, dan y fath amgylchiadau.

"Wel, Tom," eb efe, "'rwyt ti 'n rhy ddrwg, mewn gwirionedd, fel bydda i 'n deyd wrtha ti 'n wastad; mi wyddost, Tom, y bydde ti a fine yn arfer siarad am y pethe yma i lawr yn Natchez; a mi fyddwn i 'n da**s i ti y gwnaen i 'n llawn cysled o honyn nhw, a bydde ni cysled allan yn y byd yma, wrth i trin nhw (y caethion) yn gymedrol,—a blaw hŷny, y bydden ni felly yn cadw gwell siawns am fyn'd i dyrnas ne' yn diwedd—pen ddaw 'r gwaetha i'r gwaetha, a ni bydd dim arall i gael 'r amser hòno, wyddost."

"Pw," ebe Tom, "peidiwch a ngneyd i 'n sâl efo rhw stwff wel ene:—yn gwbod? ydw o'r gore." A llyncai hanner gwydraid o frandi noeth.

"'Rydw i 'n deyd," ebe Haley, gan ymdorsythu yn ei gader, —"'rwy'n deyd hyn 'rwan; mi ymcenais i 'n wastad weithio nhrat, i neyd arian o hono fo, yn *bena ac 'mlaena dim*, yn gimin ag un dyn felly; ond er hyny—nid trat ydi 'r cwbwl, a nid arian ydi 'r cwbwl, achos mae gynthon ni 'neidie i gyd. Waeth gin i pwy nghlowo i 'n i ddeyd o, a mi fydda i 'n meddwl cryn lawer am y peth—a felly waeth i mi ollwn o allan. 'Mi rydw i 'n credu mewn crefydd; ac un o'r dyddie yma, pan gaffwy i bethe at i gilydd yn daclus, mi rydw i b'riadu gyfalu am f' ened, a phethe felly; a felly pw'r iws ydi gneuthud mwy o ddrwg nag sy'n wir 'ngenrheidiol? Tydi o ddim yn 'myddangos i mi 'n beth doeth '*tall*."

"Gyfalu am 'ych ened!" ebe Tom, gyda dirmyg—"cymerwch ganwyll i chwilio a oes y fath beth ag ened o'ch mewn: peidiwch a thrwblo 'ch hun ar y pen hwnw. Pe bai 'r gwr drwg yn spïo trwyddoch chwi bob blewyn, dalle fo ffeindio dim fath beth ag ened yn perthyn i chi."

"Wel Tom! 'rwyt ti 'n myn'd yn groes," ebe Haley. "Pa'm na allet ti siarad yn siriol 'rwan, pan mae ffrind yn dy gynghori di er dy les?"

"Cau 'r safn ene 'rwan!" ebe Tom, yn sarug: "mi fedra i ddiodde pob math o siarad gin ti, ond dy siarad cyrfyddol di—mae hwnw 'nanoddefol i mi! Wedi 'r cwbwl, be ydi 'r gwhaniaeth rhyngot ti a fine? Nid fod th'di yn gyfalu dim mwy na fine, na fod gin ti fwy o deimlad, un rhithyn. Tydi o ddim byd ond rhyw ffieiddgast ciedd,—ceisio *chetio* 'r gwr drwg, a chadw

dy groen dy hun yn iach. Wyt ti 'n meddwl nad ydw i ddim yn gallu gwel'd trwyddo fo? A dy waith ti 'n son am fynd i gisio crefydd, wel 'rwyt ti 'n i galw hi, sy wedi 'r cwbwl yn rhy ffiedd ac isel i'r un cyradur,—rhedeg i ddyled y cythrel trwy d' oes, ac ono slipio o'i afel o, pen ddaw diwrnod talu! Bah!"

"Dowch, dowch, fon'ddigion," ebe Marks, "mae gwahanol ffyrdd, wyddoch, i ymdrin ar bob mater. Mae Mr. Haley yn wr gwych iawn yn ddiame, a chydwybodol hefyd;—a tithe Tom, mae gin ti dy ffyrdd, a mae nhw 'n rhai eitha da, 'n sicr iawn; ond ni neith ffraeo, mi wyddoch, ateb dyben yn y byd. 'Dowch i ni fyn'd at fus'nes 'rwan. Mr. Haley, beth ydi o? Mae arnoch isio i ni ddal y lodes hòno, oes?"

"Tydi 'r lodes yn perthyn dim i mi," ebe Haley; "eiddo Mrs. Shelby ydyw, y bachgen bia fi,—'roeddwn yn ffol i brynu y mwnci."

"Dene ydach chi yn wastad!" ebe Tom, yn sarug.

"Tyr'd, tyr'd, Loker, dim o'th grasder," ebe Marks, gan lyfu ei wefiau. "'Rwyt yn gwel'd fod Mr. Haley yn rhoid ni ar y ffordd i neyd *job* dda, 'rwy 'n barnu; gwrando di—fi pia hi am drefnu pethe fel hyn. Y lodes yma, Mr. Haley, sut y mae hi? Fath beth ydi hi?"

"Wel, un wen a hardd ydi hi, wedi cael dygiad da i fyny: mi faswn i 'n rhoid i Shelby wyth gant ne fil am dani hi, ac yn gneyd yn dda o honi hi."

"Gwèn a hardd, ac wedi cael dygiad da i fyny!" ebe Marks, a'i lygaid llymion, a'i drwyn main, a'i wefusau teneuon, oll yn fyw i'r anturiaeth. "Edrych di 'rwan, Loker," ebe fe, "dyma gyfle gwych, mi nawn fus'nes troston 'n hinen o'r peth yma. Ni yn 'u dal nhw—bydd y bachgen yn myn'd i Haley, wrth gwrs! ni gym'rwn nine 'r lodes i Orleans, i fyrchnata arni hi!—yn tydi o 'n wych?"

Yr oedd ceg fawr lydan Tom yn agored tra y llefarai Marks; yna gwasgodd hi at ei gilydd, fel y gwna ci mawr ar damaid o gig, ac ymddangosai fel yn troi y peth yn ei feddwl.

"Chi welwch," ebe Marks, "mi rydw i 'n barod i gwarfod pob amgylchiad yn y busnes,—mi fedrwn i gneyd hi i 'sgoi pob cyfraith y'mhob cwr o'r wlad. Tom neith guro a tharo i lawr, a phethe felly. A mi ddo ine i fewn wedi gwisgo i fyny, â botasau 'n dysgleirio—pob peth yn y *stile* ore, pen fo isio. Mi liciwn yn arw i chi wel'd 'rwan," ebe fe, yn hunanfoddhaol iawn, "fel y medra i gneyd hi allan. Un tro, mi fydda 'n cymryd yr enw Mr. Swichem, o New Orleans; dro arall, mi fydda 'n cymryd arna mod i newydd dd'od i fyny o'r planig-fa, ar yr Afon Pearl, lle bydd gin i saith gant o gaethion; bryd arall, mi fydda 'n rhoid allan 'mod i 'n gâr o bell i Henry Clay,

ne rw' hen geliog arall yn Kentuck. Mae talente 'n amrywio. fel gwyddoch chi. 'Rwan, mae Tom yn rhuwr i'r pen, pan fyddo curo ac ymladd i neyd; ond tydi o ddim yn un da at gelwydd: nac ydi Tom; tydi o ddim yn beth nyturiol iddo fo. 'rydach chi 'n gwel'd. Ond, taid! os oes un yn y wlad, a feder dyngu i un peth yn y byd, ne i bob peth, a rhoid i fewn 'r holl amgylchiade, a'i gario fo allan gyda gwyneb hir, yn well na medra i, mi liciwn wel'd y dyn hwnw—dene 'r cwbwl. 'Rwy'n coelio yn y nghalon, y medrwn i weithio, a llithro trwy ddwylo 'r cyfreithie, tae nhw 'n fanylach nag ydyn nhw. Mi fydda weithie 'n d'muno i bod nhw 'n fwy manwl—mi fydde llawer mwy o *sport* i gael, wyddoch."

Yr oedd Tom Loker, yr holl amser hwn, yn troi cynllun Marks yn ei feddwl: a chan daro y bwrdd â'i ddwrn,—"Mi neith y tro!" ebe fe.

Dadleuai Haley y dylasai efe gael rhan o'r elw oddiwrth Elisa—deg o'r cant, neu 'r cyffelyb—yr hyn a gythruddai Tom yn ddirfawr, a rhoddai lw, a bygythion, a ddychrynai Haley, ac a barai iddo roddi ei bwnc i fyny. Ni fynai Tom symud cam ar ol Elisa, heb i Haley roddi hanner can' dollar i lawr ar y bwrdd, pa un bynag a lwyddent i gael Harri bach iddo neu beidio, ac heb son am ran na chyfran o'r elw oddiwrth Elisa; ond os byddai iddynt wneyd marchnad dda o honi hi, byddai yr hanner can' dollar i gael eu talu yn ol i Haley; a chytunent i ddwyn y plentyn i Cincinnati i gyfarfod Haley, os caent afael arno.

Wedi hyny, aethant â'u penau ynghyd i drefnu eu cynlluniau pa fodd i fyned ymlaen â'u hanturiaeth.

"Dyna i chwi rywfaint o hanes yn dangos i chwi pa fath rai oedd y tri dyn hyny!" ebe Jemi.

"Tri dyn ddeydaist ti?" ebe F'Ewythr Robert. "Tydw i ddim yn fodlon i ti galw nhw 'n ddynion, mae nhw'n dybycach i gythrelied o'r hanner, os nad ydyn nhw 'n waeth na rheini. Ches i 'rioed siwn waith 'matal — es meityn: mi 'roeddwn i 'n dal y ngheg mor dyned byth oedd bosib, rhag i mi osio siarad: waeth i mi ddeyd y gwir na pheidio."

"Mi faswn ine, 'n wir, yn debyg o roid Amen, tase chi—fel daru i mi neyd ar ol i chi ddiolch neithiwr," ebe Cati.

"'Rydw ine 'n coelio 'n y nghalon," ebe Jacki, "bod modryb bellach wedi rhoid i phwnc i fyny efo gwddïo trost y dyn hwnw a'i ffasiwn."

"Rhaid i chi newid y Beibil cin y rho i mhwnc i fyny," ebe Modryb Elin. "Mae 'n wir ei bod yn 'mddangos yn annhebyg iawn i'n golwg ni i ddynion o'i fath ef edifarhau a dychwelyd, a chael trugaredd—ond nid yw 'n beth anmhosib. 'I'r rhai sy yn

nghymdeithas y rhai byw oll y mae gobaith;' a d'ledswydd y Cristion ydi gwddïo trostyn nhw tra bo gobaith."

"Mor wir," ychwanegai Modryb Elin, "mor wir ydyw geirie 'r hen lyfr;—'Gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch.' Cariad at arian oedd wedi caledu a serio calone a chydwybode y dynion ene i'r fath radde, nes oedd pob teimlad dynol fel wedi 'i ladd yn farw ynddyn nhw: dyna 'r felldith oedd wedi ysu a difa pob dim tebyg i rinwedd yn eu heneidie nhw, druain. Yr oedden nhw 'n gaethion yngwasanaeth y trachwant ofnadwy hwn, ac mewn caethiwed gwaeth na chaethiwed y negros, er gwaethed ydyw hwnw; canys y mae y dynion rheini a'u bath yn gaethion o'u bodd; ac euogrwydd caethiwed y lleill ar eu penau nhw gyda hyny. A'r un fath y gwnae pob dyn sy tan lywodraeth cariad at arian yn y wlad yma, tae nhw yn yr un amgylchiade."

"Arian, faw!" ebe F'Ewythr Robert; "mi fydde well gin i na welwn i geniog o arian byth yn dragowydd, nag iddyn nhw neyd peth wel ene o hona i. Tawn i 'n gwbod dy fod ti 'n deyd y gwir, tydw i ddim yn meddwl na thawlwn i 'gimin o arian sy'n tŷ yma i'r domen, heno."

"Nid yn yr arian mae'r drwg," ebe Modryb Elin, "ond yn y galon, sy'n myn'd i'w caru nhw; mae nhw 'n dda iawn yn 'u lle 'u hunen—yn y boced ac yn y llaw, i fyn'd trwy'r byd yma; ond os eith dyn i'w cadw nhw yn ei galon, maent yn sicr o droi yn felldith a damnedigaeth iddo yn y diwedd; fel y dywed 'r apostol, fod y rhai sy'n chwannog iddynt yn eu 'Gwanu eu hunain â llawer o ofidiau, ac yn eu gyru nhw i gyflawni llawer o chwantau ynfyd a niweidiol, y rhai sy'n boddi dynion i ddinystr acholledigaeth.'"

"Welis i 'rioed dy fath di, Elin!" ebe F'Ewythr Robert; "mae gin ti 'scrythyr at bob peth!—ne ys na fydd y 'postol wth law gin ti, mi fydd 'r hen Williams yn siwr o gael i alw mlaen.

"Wel, doro 'r swper ar y bwrdd, bellach, Cati," ebe yr hen ŵr, "mae hi 'n mynd yn hwyr."

Wedi gosod yr ŵydd rostiedig ar y bwrdd, eisteddodd y cwmni o'i amgylch, a rhanwyd o honi i bob un.

Cyn dechreu bwyta, wedi i Jemi Harris geisio bendith, ymaflodd yr hen ŵr mewn cwpanaid o laeth oedd o'i flaen;—

"Dyma iechid da i Sam," ebe fe, "ac i Andy hefyd. Tase Sam yma, mi gowse fo glyn o'r wydd hon â chroeso calon, a mi gowse Andy slis o honi hi hefyd," ebe fe.

"Be sy'n peri i ti drychyd mor syn, Jacki?" ebe F'Ewythr Robert ar ganol swper, "Oes rhwbeth arnat ti?"

"Nac oes dim byd, F'Ewyrth," ebe Jacki. "Meddwl 'roeddwn i prun o'r tri dyn rheini oedd y gwaetha, tybed."

"Wel dwn Jacki," ebe F'Ewythr Robert, "dene i chi gwestiwn—prun o honoch chi feder i aped o? Mae o 'n un go ddyrus, ddyliwn i—be ddeydi di Cati?"

"Na wn i 'n wir, F'Ewyrth," ebe hono, "tae chi 'n rhoid y tri mewn sach ac yn 'i hysgwyd hi 'n dda, ni wn i 'n y byd prun o honyn nhw ddoe allan gynta."

"Mi ddeyda i ti prun ddoe allan gynta," ebe F'Ewythr Robert, "ond wn i ddim prun waetha o honyn nhw, er hyny, —y Marks hwnw stwffie i hun allan flaena, 'n siwr i ti. Mi ddoe hwnw allan trw ryw dwll, os misie fo gael hyd i geg y sach: mae un yn waeth mewn rhw bethe na'r llall; a'r llall yn waeth mewn rhw bethe erill nag ynte dychgefn. Ond erbyn i chi roi pob peth at 'u gilydd yn y tri—tydw i ddim yn meddwl y gwydde 'r gwr drwg i hunan prun i ddewis gynta'—ond yr Harli hwnw ydi 'r casa gin i beth bynag."

"Wel, gadewch i ni glywed beth ydyw barn Jacki ar y pwnc," ebe Jemi, "gan mai fo 'i rhoes o i lawr."

"Wel, y marn i ydi, mai 'r Twm hwnw oedd y gwaetha o honyn nhw," ebe Jacki. "Mi 'roeddwn i 'n gwel'd hwnw yn gryadur mwy caled ac anystyriol na'r ddau arall, er gwaethed oedden nhwthe."

"Wel, dowch chwi, Modryb Elin," ebe Jemi, "beth ddywedwch chwi?"

"'Tydw i 'n gwel'd mono fo 'n perthyn i'n busnes ni i farnu 'r dynion," ebe Modryb Elin. "'Y mae Duw a'i cais, ac a farn; ac ni a wyddom fod ei farn ef yn ol gwirionedd, yn erbyn y rhai a wnant y cyfryw bethau.' Gwylio rhag i ni fod yn debyg iddyn nhw, ydyw 'n gwaith ni. O! mi 'roeddwn i 'n meddwl y bydd uffern yn rhw le ofnadwy iawn, lle bydd dynion o'r fath wedi eu casglu yn 'sgubau a'u bwrw yno. Ac 'rioed ni theimlais y fath afel yngweddi y Salmydd, 'Na chasgl fy enaid gyda phechaduriaid, na'm bywyd gyda dynion gwaedlyd: y rhai y mae ysgelerder yn eu dwylaw, a'u deheulaw yn llawn gwobrau.' Tae 'n weddus i mi ddweyd dim ar gwestiwn Jacki, mi a ddwedwn nad wy i ddim yn cydwel'd â fo ynghylch Tom Loker, er mor anystyriol a chreulon oedd o. Yr wyf fi yn rhyw ddirgel feddwl fod gwell gobaith am dano fo, nag am 'run o'r ddau arall. Mi 'roeddwn i 'n tybied y galle fod, o dan ei holl yrwindeb, ryw deimlad yn aros, ag y gellid cael gafel arno fo, pe cawse fo 'i wasgu, hwyrach i ryw gyfyngder, neu ei ddeffro trwy ryw foddion arall. 'Roeddwn i 'n ei wel'd o fel dyn yn ceisio ymddangos yn fwy caled ac anystyriol nag oedd o bob amser; tra yr oedd Haley yn rhagrithio, ac am i bobol feddwl ei fod o 'n teimlo 'r peth nad oedd o. Ac am Marks, drygioni a llunio cynllwynion oedd unig waith hwnw, gellid meddwl."

Erbyn bod swper trosodd, yr oedd yn tynu 'mhell ar hanner nos; a chodai Jemi i fyned adref.

"Y mae nos yfory yn nos Sadwrn," ebe fe, "Ni ddeuaf eto hyd nos Lun; a rhoddaf i chwi hanes math arall o bobl, mwy difyrus i'w gwrandaw na'r stori a gawsoch heno."

"Taswn i 'n gwbod mlaenllaw," ebe F'Ewythr Robert, "mi faswn yn cadw 'r wydd tan y nosweth hono: mi ddaru 'r 'stori heno spwilio f' swper i; ches i fawr iawn o flas arno fo 'rol clowed am y 'stwilod dynion rheini;—ond mi 'roedd hi 'n werth i gwrando 'r hyny, tase fo ddim ond er mwyn y darn cynta'—am Lisa yn dengid, a'r bregeth gowson ni gan Elin yn i diwedd hi."

Ar hyn ymadawodd Jemi i fyned adref, ac aeth teulu 'r Hafod i'w gorphwysfaoedd.

---

## NOSON VI.

Nos Lun a ddaeth; ac yr oedd James Harris yn brydlawn at ei gyhoeddiad yn Hafod y Ceiliogwydd; ac ni bu un gynnulleidfa, un amser, yn fwy awyddus ei dysgwyliadau am ei hoff bregethwr, nag oedd teulu yr Hafod am dano ef.

"Mi 'roeddwn i'n gwel'd yr amser o nos Wener tan heno yn hir r'feddol," ebe F'Ewythr Robert, "mi 'roedd arna i helynt yrwinol hefo nhw neithiwr trw'r nos."

"Mi feddyliwn i'n wir fod," ebe Modryb Elin. "Mi 'roedd o'n troi, ac yn trosi, ac yn tuchan, na chlywsoch chwi 'rioed siwn beth; a mi waeddodd, unweth, llasech chi i glywed o o ben draw'r buarth ene, 'Holo! Harli! Sam! Andy!—dacw nhw!' medde fo; ac ar hyn, mi nhrawodd i yn y mhen, nes toeddwn i'n gwel'd y tân yn picio o fy llygaid.'"

"Paid tithe a deyd gormod!" ebe yr hen wr.

"Nid ydw i ddim!" ebe Modryb Elin; "yn ddaru mi'ch deffro chi wyddoch, a deyd wrthoch chi fel rydw i'n deyd rwan!"

"Pwy oeddych chwi yn feddwl daro 'r amser hwnw, F'Ewythr Robert?" ebe James.

"Na wn i—ceisio dyrnod ar Harli 'roeddwn i debic cin i, os daru mi neyd," ebe F'Ewythr Robert; "ond rydw i'n meddwl mai gneyd stori mae Elin yma."

"Na 'n wir," F'Ewyrth, "mi'ch clowis i chi 'n gwaeddi ar Harli a Sam, a'r rheini, o'r rwm arall," ebe Cati.

"Mi ddeydi di run peth a dy fodryb yn wastad, Cati. Glowis di fi, Jacki?"

"Naddo 'n wir F'Ewyrth," ebe hwnw,—"chlowis i ddim byd!"

"Wel naddo, debyg iawn," ebe Cati, "ni chlywset ti ddim byd, tase 'r llyad wedi syrthio trw'r to atat ti i dy wely."

"Wel hai! gadewch hi yn y fan ene rwan, mae hi 'n amser dechre," ebe F'Ewythr Robert. "Mi ddaru ti addo nos Wener y caen ni hanes pobol go dda gin ti heno. Mae rhai o honyn

nhwthe i'w cael yn y 'Merica, ddyliwn: mi fase chwedi mynd ar dân, wel Sodom, tase pawb o honyn nhw wel Harli a'i siort."

"Oes," F'Ewythr Robert, "y mae yno lawer o bobl dda iawn, trwy drugaredd—dynion sydd yn teimlo ac yn gofidio llawer tros gyflwr y caethion, ac yn barod i wneuthur dim ar a allant trostynt," ebe Jemi.

"Ond yr oeddwn am adrodd i chwi heno ychydig ychwanego helynt Elisa, wedi i ni ei gadael yn y tŷ gwyn y nos o'r blaen ac fe ddaw hanes rhai o'r dynion hyny i fewn."

Gwr o'r enw Mr. Bird, oedd yn byw yn y tŷ gwyn—yr oedd yn wr boneddig, ac yn aelod o gynghor neu senedd ei dalaeth. Ohio. Yr oedd, y pryd hwn, newydd ddychwelyd adref oddiwrth ei orchwylion seneddol, pan oeddynt newydd basio y "*Fugitive Slave law:*" sef cyfraith yn gwahardd pawb, dan boen cosb benodol, i roddi na bwyd, na llety, na chynnorthwy mewn un modd i unrhyw gaeth a fyddai yn dianc oddiar ei feistr, ac yn galw ar y deiliaid oll i roddi pob help i ddal y ffoaduriaid.

"Wyt ti'n deyd y gwir, mewn difri? ddaru nhw basio 'r fath gyfreth yn y palment ono?" ebe F'Ewythr Robert.

"Ydwyf," ebe Jemi, "yr ydwyf yn dweyd y gwir o ddifrif, yn siwr i chwi; a gwir difrifol ydyw hefyd. Fe basiwyd y fath gyfraith, er gwarth i ddynoliaeth yn gyffredinol, ac i America yn neillduol, ac i'r oes yr ydym yn byw ynddi!"

"Mi fum i'n son am fyn'd i'r 'Merica i fyw, dro 'n ol," ebe F'Ewythr Robert; "ond mae 'n dda gin i teis i ddim erbyn hyn; tawn i ddim ono rŵan cawn i'r 'Merica yn i chyffoleth, 'snad awn i ono i neyd yr un peth 'naeth yr hen Ddorti Ddu hono, mae Rhobet Jones, Rhoslan, yn son am dani hi—hono aeth o sir Gynarfon bob cam i Lanidloes i"————

"Tewch Rhobet! tewch Rhobet!—gadewch hi yn y fan ene!" ebe Modryb Elin.

"Wel, ni a awn ymlaen ynte," ebe Jemi:—

Yr oedd Mrs. Bird, gwraig y seneddwr, yn un go hynod—yn wraig hawddgar, rinweddol, a chanmoladwy iawn. Yr oedd yn fwy ofnus ei thymher na nemawr un o'i rhyw. Pe buasai ond i gyw twrci edrych yn fygythiol arni, ar y buarth, gyrasai hi i ffoi dan waeddi am ei bywyd. Dim ond i gi bach ddangos ei ddannedd, neu i gath bach disian arni, yr oedd yn ddigon i'w thaflu i lewyg braidd; eto os dygwyddai iddi weled y creadur dystadlaf yn cael ei faeddu gan ei gryfach a'i drech, yr oedd ynddi ysbryd hollol wahanol. Buasai yn peryglu ei bywyd ei hun i amddiffyn bywyd y creadur gwan. Pe buasai yn lle Dafydd, pan ddaeth llew ac arth i gymeryd oen o'r praidd, yn ol pob tebyg, buasai y wraig fach hono yn rhuthro i'r dda fwystfil rhag ei blaen. Aeth yn ymddyddan rhwng ei gwr a hithau ynghylch helyntion y senedd.

"Wel, beth a fuoch chwi yn ei wneuthur yn y senedd?" gofynai Mrs. Bird.

"Dim o bwys mawr," atebai Mr. Bird.

"Wel, ai gwir ydyw eu bod wedi pasio cyfraith yn gwahardd pobl i roddi na bwyd na diod i'r trueiniaid duon a ddeuant heibio weithiau? Mi a glywais eu bod yn son am ryw gyfraith o'r fath hòno; ond ni feddyliais y buasai un llywodraeth Gristionogol yn ei phasio."

"Mary," ebe Mr. Bird, "yr ydych yn myned yn *bolitician* ar unwaith."

"Na, *nonsense!*—Ni roddwn i ffauen am eich holl *bolitics* yn gyffredin; ond yr wyf yn meddwl fod y peth hwn yn greulondeb o'r fath waethaf, a mwyaf anghristionogol. Yr wyf yn gobeithio, fy anwylyd, na phasiwyd dim o'r fath gyfraith."

"Fe basiwyd cyfraith yn gwahardd pobl i gynnorthwyo caethion, a ddeuant trosodd o Kentucky, fy anwylyd. Y mae cymaint o hyny wedi cael ei wneuthur gan y diddymwyr terfysglyd yma, fel y mae ein brodyr yn Kentucky wedi eu cythruddo yn fawr; ac ymddengys yn beth anghenrheidiol a Christionogol i rywbeth gael ei wneuthur gan ein talaeth ni, i'r dyben o dawelu eu meddyliau."

"Ond beth ydyw 'r gyfraith? Nid ydyw yn gwahardd i ni roddi llety noswaith i'r trueiniaid hyn, a ydyw; a rhoddi rhyw beth iddynt i'w fwyta, ac ychydig hen ddillad, a'u danfon i fyned ynghylch eu busnes."

"Ha,—ydyw, fy anwylyd, byddai hyny yn estyniad cynnorthwy iddynt, chwi wyddoch."

Ar hyn, cyfodai Mrs. Bird yn frysiog, â'i gwaed yn ei hwyneb, a nesäai at ei gwr mewn agwedd wronaidd, a dywedodd mewn llais penderfynol:—

"Yn awr, John, chwennychwn wybod, a ydych yn meddwl fod y fath gyfraith a hona yn un gyfiawn a Christionogol?"

"Ni saethech mo honof, Mary, yn awr, pe dywedwn fy mod."

"Ni allaswn byth feddwl y fath beth am danoch, John. Ni ddarfu i chwi bleidleisio trosti, ai do?"

"Felly y gwnaethum."

"Dylai fod arnoch gywilydd, John! Y trueiniaid tlodion, digartref, dinodded! Y mae yn gyfraith gywilyddus, ddrygionus, ffiaidd; ac am danaf fy hun, mi a'i toraf y cyfleusdra cyntaf a gaf,—a gobeithio y caf gyfleusdra yn fuan hefyd! Y mae y pethau wedi myned i'r pen draw, os na chaiff gwraig roddi swper a gwely i drueiniaid newynog a dilety, dim ond o herwydd mai caethion ydynt, ac wedi eu baeddu a'u gorthrymu dros eu holl fywyd, druain."

"Ond, Mary, gwrandewch arnaf fi. Y mae eich teimladau yn eithaf da, ac yn eu lle f'anwylyd,—ac yr wyf yn eich caru o'u

herwydd; ond wed'yn, f'anwylyd, rhaid i ni beidio gadael i'n teimladau ddwyn ymaith ein barn; rhaid i chwi ystyried nad mater o deimlad personol ydyw—y mae achosion cyhoeddus yn cyfodi, fel y bydd raid i ni osod o'r neilldu ein teimladau personol."

"Yn awr, John, ni wn i ddim yn y byd ynghylch *politics*; ond mi a allaf ddarllen fy Meibl, ac yr wyf yn gweled yn hwnw fod yn rhaid i ni borthi y newynog, dilladu y noeth, a chysuro y gofidus,—a rheol y Beibl wyf fi am ddilyn."

"Ond mewn amgylchiadau y byddech, drwy wneuthur hyny, yn achosi drygau cyhoeddus mawrion ——"

"Nid yw ufuddhau i Dduw byth yn dwyn drygau cyhoeddus. Y ffordd ddiogelaf, yn wastad, ac yn mhob peth, ydyw gwneuthur fel y mae Efe yn gorchymyn."

"Yn awr, Mary, gwrandewch chwi arnaf fi, a rhoddaf i chwi reswm eglur i ddangos ——"

"O! *nonsense*, John! gellwch siarad trwy'r nos, ond ni ellwch gyfiawnhau y peth. Yr wyf yn apelio atoch chwi, John, a allech chwi, yn awr, droi ymaith greadur truan newynog oddiwrth eich drws, yn unig am mai ffoadur fyddai? A allech chwi, rwan?"

Yn awr, a dywedyd y gwir, medd ein hawdures, yr oedd ein seneddwr yn ddyn o natur garuaidd a thosturiol neillduol; a throi ymaith unrhyw un mewn trallod, heb roddi iddo yr ymgeledd anghenrheidiol, oedd un o'r pethau anhawsaf iddo eu gwneyd; a'r hyn oedd waeth iddo ef yn y cyfwng hwn o'r ddadl, oedd, bod ei wraig yn gwybod hyny yn dda ddigon, ac felly yn rhuthro arno yn ei fan gwan. Gan hyny, efe a ddefnyddiai y moddion i ennill amser, a arferir dan y fath amgylchiadau. "Hym!" ebe fe, a phesychai amryw droion—tynai allan ei gadach, a dechreuai sychu a gloewi ei wydrau. Mrs. Bird yn gweled sefyllfa ddiamddiffyn tiriogaeth y gwrthwynebwr, ni phetrusai ganlyn ar ei mantais.

"Mi a hoffwn eich gweled yn treio gwneyd y peth, John, yn wir, hefyd!—yn troi gwraig o'ch drws ar storm o eira, er anghraifft; neu, fe allai, ei chymeryd hi i fyny, ac yn ei rhoi yn y carchar! A wnaech chwi hyny? Fe wnaech chwi law dda o honi at waith felly!"

"Dyledswydd boenus iawn, yn sicr, fyddai," ebe Mr. Bird, mewn tôn arafaidd.

"Dyledswydd, John! peidiwch ag arfer y gair yna; ni all fod yn ddyledswydd! Os oes ar y dynion eisieu cadw eu caethion rhag rhedeg ymaith, ymddygant yn dirion tuag atynt;—dyna fy athrawiaeth i. Pe buasai genyf fi gaethion (ond gobeithio na bydd genyf byth) ni byddai ofn arnaf iddynt redeg oddiwrthyf, na chwithau chwaith, John. Nid ydynt byth yn

dianc ymaith am eu bod yn hapus. A phan y maent yn dianc, druain, y maent yn dyoddef digon trwy oerni, a newyn, ac ofn, heb i bawb droi eu dwylaw i'w herbyn hwy;—a chyfraith neu beidio, ni wnaf fi byth mo hyny, trwy gymhorth yr Arglwydd."

"Mary! Mary! gadewch i mi ymresymu â chwi."

"Yr wyf yn casau ymresymu, John! Y mae ffordd genych chwi, y *politicians* yma, i fyned o amgylch ogylch peth plaen, eglur i bawb; ac nid ydych yn credu y peth eich hunain, pan y delo y prawf. Yr wyf yn eich adnabod yn dda ddigon, John. Nid ydych yn credu fod y peth yn iawn, yn ddim mwy nag yr wyf finnau; ac ni wnaech mohono ychwaith yn ddim cynt nag y gwnawn innau!"

Cyfieithai James y dernyn yna o'r hanes, gan ei ddarllen allan o'r llyfr. Pan dynodd ei lygaid oddiar y llyfr—

"Hym!" ebe F'Ewythr Robert; "ac mi aeth i hymio a physychu, ai do? Doedd fater ar y ddyar i yrud o i bysychu! Mi pwythodd, a mi hemiodd i wraig o i'r dim hefyd—yn waeth nag bydd Elin yma yn fy hemio i, weithie. Rhai clyfar ydyn nhw, y gragedd yma, ond i cael nhw o'r rite siort. Mi 'roedd hon ene 'n bertiach i thafod na Mrs. Shelby hòno—dynes iawn oedd hòno hefyd. Mi rydw i wel tawn i yn 'i wel'd o'n tynud allan 'i gadach poced, ac yn sychud i spectols: yn wir, 'roedd digon o isio i sychud nhw, ddyliwn i. Tybed nad oedd o yn gallud gwel'd pethe 'n well trwyddyn nhw wedyn—ond sut y fu hi? 'Roes o'r gore iddi hi? Mi 'roedd hi'n llawn bryd iddo fo gnocio danodd es meityn, dybygwn i!"

Wel, gyda bod Mrs. Bird yn dyweyd y geiriau olaf a adroddais, dyna hen was du, perthynol i'r teulu, yn dyfod at ddrws y parlwr i alw ei feistres i'r gegin, a chafodd Mr. Bird ollyngdod o afaelion tynion ei dadleuon, a llonydd gan ei happeliadau llymion, ac eisteddodd i lawr yn ei gader freichiau, ac a ddechreuai ddarllen ei bapyrau. Yn union deg, dyna lais ei wraig wrth y drws, yn gyffrous ei thôn, yn gofyn iddo ddyfod i'r gegin am fynyd. Erbyn iddo fyned yno, beth a welodd ond gwraig ieuanc, dyner, brydferth, â'i dillad yn rhwygedig, ac wedi rhewi ynghyd; wedi colli un esgid, a'i hosan wedi ei rhwygo oddi am ei throed, a hwnw yn archollion a gwaed trosto; a hithau yn gorwedd mewn llewyg, ar ddwy o gadeiriau.

Yr oedd Mrs. Bird, a'i hen forwyn, Dina, yn brysur ar waith yn ceisio ei hadferu ati ei hunan; a Cudjoe, yr hen was, yn ymgeleddu Harri bach, yr hwn oedd ar fferu gan ryndod.

Dywedai Dina ei bod yn ymddangos yn lled hoew pan ddaethai gyntaf i mewn; ac iddi ofyn a gawsai eistedd i lawr ac ymdwymno ychydig; a phan oedd hi ar fedr gofyn iddi o ba le yr oedd yn dyfod, iddi syrthio i lawr mewn llewyg; a barnai mai gwres y tân oedd wedi effeithio arni."

"Druan bach o honi!" ebe Mrs. Bird, yn dosturiol, fel yr agorai ei llygaid duon tlysion, ac yr edrychai yn synwyllt yn ei hwyneb. Yn ddisymwth, gwelai agwedd dychryn a gofid yn ymgodi i'w hwyneb, a neidiai yn ei heistedd, gan waeddi, "O! fy Harri! A gawsant hwy ef?"

Neidiodd y bachgen ati ar hyn, gan godi ei ddwylaw—"O! y mae o yma! mae o yma!" ebe hi.

"Ah, Madam!" ebe hi wrth Mrs. Bird, "gwnewch ein hamddiffyn, peidiwch a gadael iddynt ei gael o!"

"Ni chaiff neb wneyd niwed i chwi yma, wraig druan," ebe Mrs. Bird. "Yr ydych yn ddiogel, peidiwch ag ofni."

"Bendith y nefoedd arnoch chwi!" ebe hithau, gan ostwng ei phen ac wylo.

Daeth yn raddol yn fwy tawel; ac wedi cael yr ymgeledd anghenrheidiol, dodid hi a'i phlentyn mewn gwely cynhes—cysgodd yn fuan a Harri bach yn ei mynwes.

Wedi hyn, aeth Mr. a Mrs. Bird yn ol i'r parlwr, ac eisteddasant; y hi gyda'i nydwydd, ac yntau gyda'i bapyr; ond ni soniodd yr un o honynt air y naill wrth y llall am y ddadl a fuasai rhyngddynt."

"Yr wyf yn synu pwy, a beth allai hi fod!" ebe Mr. Bird, toc, gan ollwng ei bapyr i lawr ar ei lin.

"Wedi iddi orphwys ychydig a deffro, ni a fynwn wybod," ebe Mrs. Bird.

"Gwrandewch, fy mhriod!" ebe Mr. Bird, wedi dystaw fyfyrio uwch ben ei bapyr.

"Wel, fy anwylyd."

"A allai hi ddim gwisgo un o'ch gwnau chwi, pe byddech yn llaesu rhyw gymaint arno? Y mae hi yn ymddangos yn fwy na chwi."

Gwenai Mrs. Bird yn foddhaol ar hyn. "Ni a gawn weled," ebe hi.

Wedi ychydig ddystawrwydd drachefn—"Mary," galwai Mr. Bird, eilwaith.

"Wel! beth sydd yn awr?"

"P'le mae'r hen glog *bymbazine* hono fyddwch chwi yn arfer daflu drosof fi, pan fyddaf yn cymeryd cyntyn yn y prydnawn? Byddai cystal i chwi roddi hono iddi;—y mae arni eisieu dillad."

"Mi fum yn hir cyn dwad i ddyallt mai Lisa oedd gin ti mewn golwg," ebe F'Ewythr Robert, "a chwedi i mi ddyallt hyny, mi rydw i 'n cymryd mwy o *int'rest* yn y stori o'r hanner. Wyddost ti beth! mi ddo i'n ffrind a'r Bird, dwi'n meddwl yn y nghalon. *Bird* ydi deryn yn Sasneg, yn te? Meddwl 'rydw i rwan y try nwne allan yn dderyn go dda yn diwedd, ys deil o ati hi wel y mae o chwedi cwchwyn 'rŵan; nid rhw farcutan oedd o, fyddyliwn i."

"Wel, chwi gewch glywed o dipyn i beth," ebe James.

Yn mhen ychydig amser, daeth Dina i alw Mrs. Bird i'r gegin drachefn, a dywedai fod y wraig wedi deffro ac yn dymuno ei gweled: ac aeth y ddau, Mr. a Mrs. Bird, ati. Yr oedd wedi codi ac yn eistedd ar fainc wrth y tân. Edrychai yn awr yn dawel-ddifrif, yn dra gwahanol i'r olwg a gawsent o'r blaen arni.

"A oedd arnoch eisieu fy ngweled i?" ebe Mrs. Bird mewn llais tirion.

Ochenaid hir, drom, grynedig, oedd yr unig ateb; ond sefydlodd ei golygon pruddion ymbilgar arni, nes na allai Mrs. Bird ymattal heb wylo.

"Ni raid i chwi ofni dim oll: cyfeillion i chwi ydym ni yma, wraig druan. Dywedwch wrthyf o ba le yr ydych yn dyfod? a pha beth sydd arnoch eisieu?" ebe hi.

"Yr wyf yn dyfod o Kentucky," ebe 'r wraig.

"Pa bryd y daethoch oddiyno?" ebe Mr. Bird, gan gymeryd i fyny yr ymddyddan.

"Heno!"

"Pa fodd y darfu i chwi ddyfod?"

"Croesais yr afon ar y rhew!"

"Croesi ar y rhew!" ebe pob un yn y lle ar unwaith.

"Ië," ebe y wraig, yn arafaidd, "felly y gwneuthum! a Duw yn fy helpio, mi a groesais yr afon ar y rhew,—canys yr oeddynt ar fy ol, ac nid oedd un ffordd arall i mi wneyd!"

"Rarge fawr, missis!" ebe Cudjoe,—a mae 'r rhew wedi tori 'n ddarne, ac yn nofio hyd wyneb yr afon ar draws 'i gilydd, i fyny ac i lawr!"

"Mi a wn ei fod!" ebe hi. "Ond mi a'i gwnaethum! Ni buaswn byth yn meddwl y gall'swn ei wneyd,—ni ddysgwyliais erioed y daethwn trosodd, ond nid oeddwn yn gofalu am hyny! Ni buaswn ond marw pe methaswn. Yr Arglwydd a'm cynnorthwyodd! Ni ŵyr neb beth a allant wneyd yn nghynnorthwy yr Arglwydd, nes iddynt gynnyg."

"Ai caethes ydych?" gofynai Mr. Bird.

"Ië, sir—yr oeddwn yn perthyn i ŵr yn Kentucky."

"A oedd ef yn galed wrthych?"

"Nag oedd, sir—yr oedd yn feistr da."

"A oedd eich meistres, ynte, yn ddrwg wrthych?"

"Nag oedd, sir—yr oedd fy meistres bob amser yn dda wrthyf."

"Beth a barai i chwi adael cartref da ynte, a rhedeg ymaith, a myned trwy y fath beryglon?

Edrychai y wraig yn graff ar Mrs. Bird, a gwelai ei bod mewn galarwisg.

"Madam," ebe hi yn gyffröus, "A ddarfu i chwi erioed golli plentyn?"

Yr oedd y gofyniad yn annysgwyliadwy, ac yn ail agor archoll oedd heb gau i fyny; oblegid nid oedd ond mis er pan ddodasid hoff blentyn o'r teulu yn y bedd.

Rhodiai Mr. Bird i'r ffenestr ar hyn, a thorodd Mrs. Bird i wylo. Wedi dyfod ati ei hun ychydig, dywedai—

"Do, mi a gollais un bychan; beth a barai i chwi ofyn hyny?"

"Gan hyny, chwi a ellwch deimlo trosof," ebe y wraig. "Collais i ddau, y naill ar ol y llall; ac nid oes genyf ond yr un hwn wedi ei adael.

"Ni chysgais noswaith hebddo, er pan anwyd ef: efe oedd y cwbl a feddwn, fy nghysur a'm gobaith ddydd a nos;—ac, madam, yr oeddynt yn myned i'w gymeryd oddiarnaf i'w werthu—i'w werthu i lawr i'r Deheu, madam,—ar ei ben ei hun,—yn faban na bu erioed oddiwrth ei fam! Allwn ni mo'i ddal o, madam; mi a wyddwn na allwn byth fod yn dda i ddim os gwnaent hyny,—a phan ddeallais fod y papyrau wedi eu gwneyd i fyny, a'i fod wedi ei werthu, mi a'i cymerais ef, ac a redais ymaith yn y nos! Daeth y dyn a'i prynasai ar fy ol, gyda rhai o lanciau fy meistr; ac fel yr oeddynt yn dyfod arnaf, mi a neidiais ar y rhew, ac a ddaethum trosodd, nis gwn pa fodd: y peth cyntaf a wn am dano wed'yn, oedd i ddyn fy helpio i'r lan."

Torodd pawb i wylo, yn blant ac yn bobl, wrth wrandaw 'r stori hon. Ceisiai y seneddwr lywodraethu ei deimladau—troai ei gefn ar y cwmni, ac edrychai trwy y ffenestr, ac ymddangosai yn brysur neillduol—yn carthu ei wddf, ac yn sychu ei wydrau, ac weithiau yn chwythu ei drwyn yn y fath fodd ag y gallesid yn hawdd ddeall natur ei deimladau, pe buasai rywun yn sylwi.

"Pa fodd y dywedech chwi wrthyf fod genych feistr tirion?" ebe fe, yn y man, gan droi yn ddisymwth at y wraig.

"Am ei *fod* yn feistr tirion: mi a ddywedaf hyny am dano, fodd bynag," atebai hithau; "ac yr oedd meistres yn dirion. Yr oeddynt mewn dyled, ac ni allent help i'r peth. Yr oedd gan ryw ddyn afael arnynt—ni allaf fi ddweyd pa fodd—a gorfu arnynt adael iddo gael ei ewyllys. Mi a glywais meistr yn dweyd wrth meistres, a hithau yn dadleu ac yn erfyn trosof fi, ac yntau yn dweyd nad oedd ganddo ddim help, a bod y papyrau wedi eu gwneyd i fyny—a dyna 'r amser y cymerais i y bachgen ac y rhedais ymaith. Mi a wyddwn nad oedd o un dyben i mi feddwl am geisio byw os dygid ef ymaith—y fo ydyw pob peth a feddaf fi."

"Ai nid oes genych ŵr?"

"Oes; ond mae efe yn ngwasanaeth meistr arall. Y mae ei feistr ef yn galed iawn wrtho, ac ni äd iddo ddyfod i'm gweled i braidd un amser. Ac y mae yn myned yn fryntach fryntach

tuag atom, fel y mae yn awr yn bwgwth ei werthu i lawr i'r Deheu; ac mae yn debyg na welaf fi byth mono mwy."

"Ond i b'le yr ydych yn meddwl myned, wraig druan?" ebe Mrs. Bird.

"I Canada, pe bawn ond gwybod yn mh'le mae 'r fan hòno. A ydyw Canada ymhell iawn?" gofynai, gan godi ei llygaid ar Mrs. Bird, yn y dull mwyaf syml-ddiniwed.

"Druan oedd hi!" ebe Mrs. Bird.

"A ydyw ymhell iawn, yn wir?" gofynai drachefn, yn awyddus.

"Ymhellach o lawer nag ydych yn feddwl, fy merch!" ebe Mrs. Bird. "Ond ni a edrychwn beth a allwn wneyd eroch."

Yna galwodd Mrs. Bird ar Dina, ac archodd iddi wneyd gwely yn barod iddi, ac y caent feddwl y boreu dranoeth beth a allent ei wneuthur iddi. "Peidiwch ag ofni, druan," ebe hi wrth y wraig drachefn; "ymddiriedwch yn yr Arglwydd, ac efe a'ch gwared chwi."

Yr oedd Mr. Bird mewn gwewyr meddwl yn ei hachos yr holl amser—yn cerdded yn ol ac ymlaen ar hyd yr ystafell, ac yn siarad rhyngddo ac ef ei hun—"Dyma *fusnes* cas i'r eithaf!" O'r diwedd, nesaodd at ei wraig, a dywedai—"Mary, rhaid iddi fyned oddiyma heno. Mi fydd y dyn hwnw ar ei hol hi yn foreu yfory. Pe na buasai ond y wraig ei hun, gallasem ei chuddio; ond bydd y plentyn yna yn sicr o'n bradychu, trwy ddangos ei ben trwy ryw ddrws neu ffenestr. Byddai yn gawl gwych i mi iddynt gael eu dal dan fy nghronglwyd! Na, rhaid iddynt fyned ymaith heno."

"Heno! Pa sut y mae yn bosibl? I ba le?"

"Wel, mi a wn yn lled dda i b'le," atebai y seneddwr, gyda golwg syn-fyfyriol, gan ddechreu gwisgo ei fotasau; a chan sefyll ar hanner cael ei goes i mewn, plethai ei ddwylaw am ei lin, ac ymddangosai ar goll mewn myfyrdod.

"Y mae yn *fusnes* cas arswydus!" ebe fe, o'r diwedd, gan dynu yn ei fotas drachefn. Wedi ei chael am ei droed, daliai y llall yn ei law, gan edrych tua 'r llawr. "Mae 'n rhaid ei wneyd, am ddim a allaf fi weled—yn nghrog y bo nhw!" ebe fe, a tharawai ei fotasen am ei droed, a neidiai i edrych trwy y ffenestr.

Yr oedd Mrs. Bird yn wraig gall, bwyllog, synwyrlawn. Gadawai i'w gŵr fyned ymlaen â'i fyfyrdodau. Yr oedd yn deall i raddau beth oedd yn ei feddwl. Ni soniodd air am y ddadl a fuasai rhyngddynt y prydnawn hwnw; ond edrychai yn barod i wrandaw a gwybod beth oedd ewyllys ei harglwydd.

"Chwi welwch," ebe fe, "dyna fy hen gyfaill, Van Trompe, a ddaeth trosodd o Kentucky, ac a ryddhaodd ei holl gaethion: y mae wedi prynu tir, saith milltir i fyny y cwm yma, yn y coed,

lle nad oes neb braidd yn myned un amser, ac y mae yn lle pur anhawdd dyfod o hyd iddo; byddai yn ddiofal ddigon yno: ond yr andras ydyw, ni all neb yru cerbyd yno heno, yn y nos, ond fi fy hun." Yr oedd y ffordd i'r cwm mor ddrwg ac mor ddyrus fel na allai Mr. Bird ymddiried i neb yru y cerbyd ar hyd-ddi heb fyned ei hunan gydag ef: yr oedd efe yn adnabod pob modfedd o'r ffordd yn dda. Dodwyd y meirch wrth y cerbyd, ac ymbarotoisant i gychwyn.

"Y mae eich calon yn well na'ch pen, John, yn yr achos hwn," ebe ei wraig yn siriol, gan osod ei llaw ar ei ysgwydd. "Ni allaswn byth eich caru, oni buasai fy mod yn eich adnabod yn well nag yr ydych yn eich adnabod eich hun."

Awgrymai Mr. Bird y buasai cystal i'w wraig, hwyrach, roddi ychydig o ddillad y plentyn a gladdasant i Harri bach; a hithau, yn llawen o'i glywed, a redai i'w cyrchu a'u parotoi, gyda chymysg deimladau o alar ar ol ei phlentyn, ac o garedigrwydd tosturiol at y fam a'i phlentyn adfydus a daflasai rhagluniaeth megys ar ei thrugaredd.

Gwisgwyd Elisa a Harri bach yn glud i'r daith, a dringasant i'r cerbyd. Estynodd ei llaw allan i Mrs. Bird i ffarwelio, ond yr oedd ei chalon yn rhy lawn iddi allu dyweyd gair;—symudai ei gwefusau unwaith ac eilwaith, ond yr oedd y teimlad yn tarfu y geiriau: a chan godi ei golwg tua'r nefoedd, na allai y rhai oedd yn dystion o hono byth ei anghofio, hi a ymollyngodd yn ol i'r cerbyd, ac a orchuddiodd ei gwyneb â'i dwylaw.

Ond y fath gyflwr yr oedd ein seneddwr ynddo! Efe, yr hwn, yr wythnos flaenorol, a fuasai yn cymhell llywodraeth ei dalaeth i basio penderfyniadau caethiwus yn erbyn caethion ffoedig a'r rhai a'u lletyent ac a'u cynnorthwyent

Yr oedd yn areithiwr hyawdl yn y tŷ, a chymerasai ran arbenig yn y ddadl ar y cwestiwn hwn: siaradai gyda dirmyg am wendid y rhai hyny a osodent lesiant ychydig grwydriaid truenus o flaen achosion pwysig y wladwriaeth! Yr oedd mor eofn a llew yn yr achos; nid yn unig yn gwbl argyhoeddedig yn ei feddwl ei hun, ond hefyd yn gallu argyhoeddi pawb a wrandawent arno. Ond siarad am y peth oddiyma draw oedd y cwbl. Nid oedd eto erioed wedi sefyll wyneb yn wyneb â'r peth ei hun. Ni feddyliasai erioed beth oedd mewn gwirionedd, nes y rhwygwyd y llen oddiar ei lygaid yn amgylchiad Elisa a'i phlentyn. A dyna y galon, oedd fel calon adamant yn y senedddŷ, yn dadleu tros gyfraith lymach i wasgu ar y trueiniaid, yn toddi fel cŵyr o flaen tân, erbyn i'r trueni ei hunan gael ei osod ger ei bron.

Hwyliasant ymaith, beth bynag, yn nyfnder y nos. Ac wedi bod yn ymfaeddu mewn enbydrwydd mawr ar hyd yr hen ffordd erwin, am oriau hirion, cyrhaeddasant y lle, a churasant

y teulu allan o'u trymgwsg. Cyfododd gŵr y tŷ i fyny, a deuai o'i ystafell wely. Yr oedd yn gawr o ddyn, rhwng chwech a saith troedfedd o daldra, a chorffolaeth cyfatebol. Cafodd Mr. Bird beth trafferth i beri iddo ddeall yr achos. O'r diwedd, gofynodd iddo, "A ydych chwi yn ddyn a ddiogela wraig dlawd, a phlentyn bach, rhag caethgeisiaid (*slave catchers*)?"

"Yr wyf o'r farn fy mod," ebe John Van Trompe, gyda phwyslais cryf.

"Yr oeddwn innau o'r farn hòno," ebe y seneddwr.

"Os daw un o honynt hwy yma," ebe y gŵr da, gan estyn allan ei fraich gref rymus, "dyma fi 'n barod iddo fo; ac y mae genyf saith o feibion, yn chwe' troedfedd o daldra bob un, yn barod os daw taro. Os gwelwch y *slave-catchers*, ebe fe wrth y seneddwr, "cofiwch fi atyn nhw, a deydwch wrthyn nhw na waeth gantho ni pa mor fuan y galwo nhw gyda ni—tydi o ddim gwahaniaeth yn y byd gantho ni."

Ar hyn daeth Elisa druan flinedig ofnus ymlaen i'r drws, daliodd ei noddwr newydd y ganwyll i edrych yn ei gwyneb, a dywedodd ychydig o eiriau calongaredig wrthi, ac agorodd ddrws ystafell-wely iddi fyned i mewn.

"'Rŵan, lodas," ebe fe wrthi, "ni raid i ti ofni dim byd yn y fan yma, yr ydw i i fyny â phob peth o'r fath hyn," gan bwyntio i fyny at ddau neu dri o ynau oedd yn crogi uwch ben. "Mi ŵyr pobl sydd yn fy adnabod i, na fydde fo ddim yn beth da ar les iechyd neb i geisio cael rhywun allan o nhŷ i, yn groes i fy meddwl i. Felly, 'rŵan, dos di i dy wely, a chysga mor esmwyth a bydde ti 'n gneyd pan oedd dy fam yn siglo dy grud di," ac yna cauodd y drws arni.

"Mae hon yn ddynes hardd ryfeddol!" ebe fe wrth Mr. Bird. "Ha! ïe, rhai hardd fel hyn sy ganthyn nhw fwya o achos i redeg i ffwrdd," ebe fe drachefn, "os byddan nhw yn meddu dim teimlad, fel y dyle fod gan wragedd parchus. Mi a wn yn dda sut y mae pethau yn bod."

Eglurodd Mr. Bird iddo holl amgylchiadau Elisa.

"O! y cryadur, druan!" ebe Van Trompe, "'n cael i hymlid a'i rhedeg i lawr fel carw, a hyny yn unig am ei bod yn meddu teimladau naturiol fel mam, a gneyd yr hyn na allai un fam yn y byd lai na'i neyd o. Mi ddeyda i chi beth, pethe fel hyn fydd yn fy ngyru i nesa peth i regu o ddim byd," ebe fe, gan sychu ei lygaid â chefn ei law. "Mi ddeyda i chi beth arall," efe a ychwanegai, "mi fum flynydde ar flynydde heb 'muno â'r eglwys, 'blegid bydde gweinidogion yn ein parthe ni yn arfer pyrgethu bod y Beibil yn cefnogi pethe o'r fath yma, a ni allwn ni ddim d'wad i fyny â nhw hefo 'u Groeg a'u Hebraeg; a felly mi gymris yn 'u herbyn nhw a'r Beibil i'w canlyn nhw, a 'munis i byth â'r eglwys tan ge's i weinidog oedd yn medryd d'wad i

fyny âg y nhw mewn Groeg, a phob peth felly, ac mi 'roedd o 'n deyd yn hollol groes iddyn nhw, ac ono mi 'munis â'r eglwys."

Cymhellai Van Trompe y seneddwr i aros yno hyd y boreu; ond yr oedd arno frys i fyned ymaith gynted y gallai i gyfarfod y cerbyd oedd yn myned i Columbus. Gadawodd ddeg *dollar* yn llaw lletywr caredig Elisa at ei thraul hi; ac wedi ysgwyd dwylaw, ymadawsant. Ac felly, rhaid i minnau ysgwyd dwylaw â chwithau bellach, ac ymadael am heno, ebe Jemi.

"Wel, yn wir, mi gowson stori felus gin ti heno," ebe F'Ewythr Robert, "wyddost ti beth? 'roeddwn i chwedi rhw chrynu tipyn unweth am y Bird hwnw, pan oedd o 'n deydyd y base raid i Lisa fyn'd o'i dŷ fo 'r nosweth hòno—mi ddylis i'n siwr fod o am i throid hi allan i gymryd i siawns; ond mi droes y peth allan yn glyfar drost ben: ond doedd fater ar y ddyar iddo fo 'i chael hi wel y cafodd o hefyd. 'Dwi'n siwr y base 'n anos gin y gŵr siarad yn y pal'ment wed'yn am neythud cyfyrthie o'r fath hòno chwedi iddo fo gael y profiad o'u drwg nhw."

"Un tebyg iawn i chi, F'Ewyrth, oeddwn i yn gwel'd y dyn dwaetha ene," ebe Cati. "Mi roeddwn i 'n meddwl am danoch chi o hyd, wrth wrando 'i hanes o—'toedd o run lyferydd ninion."

"'Toes gin i ddim gwrthyneb i fod yn debyg i hwnw," ebe F'Ewythr Robert—"mi rydw i chwedi dwad yn ffrind garw iawn â fo; ydw, yn wir—ha! ha! Mi 'roedd o 'n barnud na fase fo ddim yn beth da ar les iechyd neb i ddwad ono i gisio dal Lisa. Mi faswn yn licio tase Harli 'n myn'd ono, i gael pilsen o un o'r gyne rheini; ys na naethe hi les i'w iechyd o, mi naethe clwed i fod o chwedi i chael hi les garw i ff'iechyd i, beth bynag: tase fo 'n rhoid gole trw 'i fol o, mi fase 'n dda iawn."

"A ydych chwi yn gallu hoffi yr athrawiaeth yna, Modryb Elin?" gofynai James.

"Na, ni allaf lyncu na hoffi ei bath hi," ebe Modryb Elin: "ond ni waeth i mi dewi na dadlu 'nerbyn Rhobet. Pan fyddaf yn meddwl ei fod wedi ei ennill i wel'd y drwg o ddymuno i ddialedd a thrueni ddisgyn ar gydgreadur, i'r un fan yn i ol yr eith o yn union. Y fath drugaredd nad ydyw llywodraeth y byd yma ddim wrth ewyllys plant dynion! a'r fath amynedd a doethineb anfeidrol raid fod yn y Llywydd Mawr i gynnal a threfnu, llywodraethu, a pheri i gynddaredd dynion ei foliannu, a ffrwyno ac 'attal gweddill eu cynddaredd."

"Y mae llaw rhagluniaeth i'w gwel'd yn amlwg iawn yn mhob rhan o'r hanes yna," ychwanegai Modryb Elin. "Nid rhyw hanner gwaith y mae hi yn arfer wneyd. Nid myn'd â Elisa tros yr afon, a'i gadael hi wed'yn. Na: 'roedd hi â'i llygaid craff tosturiol o hyd arni ac yn darbod trosti. Cafodd ymgeledd a chymhorth cyfamserol yn y tŷ gwyn, gan y gŵr a'r wraig garedig

rheini; a phan oedd raid iddi fyn'd oddiyno, 'roedd drws agored arall yn y cyrhaedd i'w derbyn, a rhyw ymwared yn cael ei ddangos pen oedd hi 'n darfod yn y fan hòno drachefn, mae 'n sicr gen i. Ond mor ddeillion ydym ni i wel'd Duw mewn pethau fel hyn."

"Dene un peth oedd yn fy synud i," ebe F'Ewythr Robert, "gwel'd cimin gwhanol dyn oedd Mr. Bird hwnw yn i dŷ i hun, ragor oedd o yn y pal'ment—gimin gwell oedd i garitor pyrsonol o, wel y dwedwn i, na'i garitor coeddus o. 'Roedd o wel tase fo 'n ddau ddyn hollol groes i'w gilydd, rwsut."

"Mae llawer dyn tebyg iddo fo i'w gael yn y byd yma," ebe James. "Edrych ar y peth oddidraw, drwy *spectols* cyfreithiau a defodau y wlad megys, yr ydoedd yn y senedd. Llefarai yno fel gwladgarwr, neu yr hyn a dybid yn wladgarwch; ond erbyn ei ddwyn i olwg y peth, cyffröid ei deimladau dyngarol, a dygid y rhai hyny allan i weithrediad; a chan nad oedd ei galon wedi ei chaledu drwy ymarferiad â'r creulondeb fel eraill, aeth ei syniadau gwladwriaethol a gwladgarol yn ebyrth i'w deimladau dyngarol. Yr oedd ei galon yn y peth hwn yn well na'i ben, fel y sylwai ei wraig. Trwy rym hir ymarferiad â gwaith creulondeb, y mae dynion yn myned yn fwystfilod dideimlad, fel Haley, a Marks, a Tom Loker, a'u cyffelyb."

"Mi synis i 'narw," ebe Jacki, "glowed fod 'gethwrs 'refengil i'w cael yn y wlad hòno 'n medrud ceisio 'mddiffyn peth mor 'swydus a thrin dynion fel mae nhw 'n gneyd ono—'toes neb o'n 'gethwrs ni 'n y wlad yma nae 'r fath beth, rydw i'n coelio. 'Dw i 'n siwr na naethe 'rhen Ddafydd Cydwalad mo'no fo; a tydw i ddim yn meddwl y gnae Dafydd Rolant, na Richard Jones, Llwyngwril,[1] mono fo chwaith, 'nte tawn i byth i'w gwrando nhw ynt hyny."

Chwarddent oll ar hyn, ac ymadawodd James Harris i fyned adref, dan addewid i ddyfod yno drachefn nos dranoeth.

Wedi iddo fyned ymaith, edrychai yr hen ŵr yn synfyfyriol am enyd: dywedai yn y man—

"Mi rydw i chwedi byw yn o hir yn y byd yma, heb wbod fawr iawn am 'i helynt o, a'r pethe sy'n myn'd ymlaen yntho fo; mi rydw i rwsut wel tawn i mewn rhw fyd newydd, 'rol i'r bachgen ene ddechre deydyd ynhesion pobol y Merica i ni. Mi roeddwn i 'n dychmygu gweld y ddyar yma wel tae chi 'n meddwl am rw glwyd fawr wedi 'i chodi i fyny yn rhwle, a dynion wel Harli, a Thwm Loker, a'u ffasiwn, yn sefyllt ar un pen

[1] Cyn i'r tudalenau hyn ddyfod o'r wasg, gwelsom fod yr hen bregethwr parchus a thra chymeradwy hwn, wedi myned i ffordd yr holl ddaear. Un hynod ydoedd yn ei oes; a bydd chwithdod a hiraeth gan gannoedd yn Ngogledd Cymru ar ei ol. Hyderwn y bydd i rhyw gyfaill adnabyddus o hono ysgrifenu cofiant teilwng am dano. Byddai y fath yn llyfr difyrus a buddiol, a diau fod cannoedd a ddymunant ei feddu.

iddi hi; a rhai wel Bird, a'r dyn mawr braf hwnw (tydw i 'n cofio mo'i enw fo, 'rwan), ar y pen arall, a hithe wel yn troi weithie un ffordd, ae weithie ffordd arall. Oni b'ai fod rhw rai da iawn yn un pen, ar gyfer y rhai drwg sy'n y pen arall, mi droe 'r hen ddyar yma ar i hochor, a mi tafle ni oddiar i gwyneb bod yg un, wel y gnae clwyd felly py tae dynion yn sefyll ar un pen iddi hi, heb neb ar y pen arall."

"Pwy sy'n sefyll ar y canol, F'Ewyrth?" ebe Jacki.

"O, rhywrai wel yth di a dy ffasiwn, Jacki, nat oes dim pwyse ynthoch chi ffordd yn y byd—drwg na da."

"'Does un cyflwr canol yn bod, dalltwch chwi hyny," ebe Modryb Elin—"neb yn mynd trwy y byd yma heb wneyd naill ai drwg ai da; er bod rhai yn fwy hynod na'u gilydd yn y naill a'r llall. Diwrnod rhyfedd fydd y diwrnod hwnw pan y dygir pob gweithred dda a drwg, a holl ddynion da a drwg oesoedd y byd, i farn, ac y telir i bob un yn ol ei weithredoedd. Caiff y caethion, truain, a'u gorthrymwyr hefyd, gyfiawnder y dydd hwnw. 'Os gweli dreisio y tlawd, a gwyro barn a chyfiawnder mewn gwlad, na ryfedda o achos hyn,' medd Solomon, 'canys mae yr hwn sydd uwch na'r uchaf yn gwylied, ac y mae un sydd yn uwch na hwynt.' Dylem ni ofidio a galaru wrth feddwl fod pethau drwg, a dynion drwg, o'r fath y clywsom am danynt yn y byd, ond yn benaf oll am ein drwg ein hunain; a dylem ddiolch hefyd fod cynnifer o bethau da, ac o ddynion da, i'w cael. 'Oni buasai i Arglwydd y lluoedd adael ychydig weddill, fel Sodoma y buasem, a chyffelyb fuasem i Gomora.' Mi rydw i yn gweld mwy nag a welais erioed o'r blaen yn y deisyfiad hwnw yn y pader—'Deled dy deyrnas.' Pan fo teyrnas Iesu Grist wedi llwyddo tros y ddaear, ni fydd dim son mwy am drais yn y wlad, na dystryw, na dinystr, yn yr un o derfynau y byd. Ddaru chwi ddim sylwi fel yr oedd y wraig hòno, Mrs. Bird, yn dangos mai 'r Beibl oedd wedi dysgu iddi hi fod yn dirion a chymwynasgar wrth rai mewn trallod? A phan fo 'r Beibl wedi ennill ei lywodraeth ar galonau pawb yn gyffredinol, ni fydd dim dynion creulon a dideimlad i'w cael wed'yn. Mae 'n resyn na chae o fwy o barch nag y mae o 'n ei gael—cyfaill gore 'r byd ydi o."

---

## NOSON VII.

### GEORGE HARRIS.

"SUT y mae y teulu yma, heno," gofynai James Harris, ar ei waith yn croesi hiniog tŷ yr Hafod, yr hwyr hwn.

"'Rydan ni 'n lled iach i gid, diolch i'r Arglwydd," ebe

F'Ewythr Robert. "Mi anghofis ddeydyd wrtha ti neithiwr am ddwad â dy dad efo thi yma heno; mae arna i chwithdod isio i wel'd o—welis i mono fo es tro byd bellach: fydda i 'n ffond iawn o Tomos 'n wastad. Os troi di allan cystal dyn a dy dad, mi nei di'r tro. Sut y mae o, dywed?"

"Y mae o 'n lled iach, diolch i chwi, F'Ewythr Robert; yr oedd o a mam yn peri i mi eu cofio nhw atoch chwi a Modryb Elin."

"Da iawn, yn wir. Mi bicia i acw i ydrach am danyn nhw rw ddwrnod; ond rhaid i mi gael dy dad yma cin hyny."

"Ni *phiciwch* chwi ddim llawer yn yr oed yna, F'Ewythr Robert," ebe Jemi.

"Mi welis ddydd, wel'd di," ebe yr hen ŵr, dan ysgwyd ei ben. "Ond wyddost ti beth? mi reda i râs â thi eto, y diwrnod fyni di—y ngwynt i sy 'n o fyr, ynte, mae f' lode i 'n dda iawn. Mi gerddis i Langwm, ac yn ff' ol, wthnos i ddydd Gwener dwaetha, a d'oeddwn i ddim wedi blino helynt yn y byd. Ond be ydan ni 'n myn'd i gael gin ti, heno? Oes gin ti chwaneg i ddeyd am Lisa?"

"Mi fydd gen i chwaneg i'w ddywedyd yn ei chylch hi eto rywbryd; ond ni a'i gadawn hi am dro. Yr oeddwn yn meddwl heno, adrodd i chwi ychydig o hanes George Harris."

"Siors Harris — Siors Harris — aros di, fuost ti 'n son rhwbeth am dano fo o'r blaen? Mae wel tae rw atgo gin i am yr enw."

"Do; mi grybwyllais am ei enw fwy nag unwaith. Gŵr Elisa oedd George Harris."

"Wel, ïa, ïa, yn tydw i'n cofio rŵan—yn toeddet ti 'n deyd fod i fistar o'n rhw hen lyffant du dafadenog gwnynllyd, cas wrtho fo—hwnw oedd o 'nte."

"Ië, siwr, F'Ewythr Robert, dyna fo; a mi a ddywedais, os ydych yn cofio, fod George Harris yn ddyn gwych dros ben, a bod i fistar yn cenfigenu wrtho am hyny, ac yn son am ei werthu ymaith i'r Taleithiau Deheuol, ac iddo yntau, wedi iddo ddeall hyny, benderfynu dianc."

"Rydw i'n cofio'r cwbwl rwan, a mi fydde yn dda iawn gin i glowed chwaneg o'i hanes o, a gobeithio'r anwyl iddo fo fedrud diengid yn groen gyfa o winedd yr hen gigfran."

Gadawodd George dŷ y caethiwed y prydnawn cyn y noson y diangodd Elisa gyda Harri bach. Y lle cyntaf yr ydym yn cael hanes am dano, ydyw, yn disgyn yn niwyg gŵr boneddig, mewn gwestŷ, yn mhentref N——, yn nhalaeth Kentucky. Cyn i George Harris gyrhaedd yno, yr oedd ymdeithydd arall wedi disgyn yn y gwestŷ—gŵr o wynebpryd serchus, a threfnus ei wisgiad: ond rhywbeth yn od a gwahanol i'r cyffredin yn ei ymddygiad.

Yr oedd cwmpeini lliosog wedi ymgasglu i'r gwestŷ y prydnawn hwnw, fel yr arferent yn gyffredin, i fwrw yr amser heibio mewn cyfeddach. Gwneid y gymdeithas i fyny o elfenau tra amrywiol, o ran agweddau a nodweddau y dynion a'i cyfansoddent. Yr oeddynt oll, yn ol defod gyffredin y wlad, â'u hetiau am eu penau. A sylwa ein hawdures, bod y gwahanol ddulliau y gwisgent eu hetiau yn dynodi gwahanol gymeriadau y dynion. Rhai a'u gwisgent yn esgeulus ar ochr eu penau—dynion ysmala, cellweirus, diofal, oedd y rhai hyn: eraill a'u gwisgent tros eu llygaid a'u trwynau, fel pe buasent yn penderfynu mynu llawn wasanaeth ganddynt—dynion celyd a thynion eu cymeriadau, ac am eu ffyrdd a'u meddyliau eu hunain: eraill a'u gwisgent ymhell yn ol ar eu corynau—dynion effro, llygaid agored, am weled o'u blaenau, ac edrych o'u cwmpas; a'r lleill, drachefn, a'u gwisgent ryw fodd, na wyddent, ac na ofalent pa fodd yn y byd.

"Wel, wyddost ti beth?" ebe F'Ewythr Robert; "mi faswn yn cymryd 'n llŵ, 'r ol clowed hynene, mai gwaith merch ydi 'r llyfr, taset ti heb ddeydyd i mi;—fase 'r un dyn yn meddwl am bethe wel ene. 'Does dim mhela â'r merched yma—ynt wfft iddyn nhw, ddeyda i! Ond mae ene gryn lawer o *sens* yn y peth, yn siwr ddigon i chi. Mae perthynas go agos rhwn yr het a'r pen; a mae 'r dull y botho dyn yn gwisgo 'i het am 'i ben, yn rhw arwydd o be sy yn 'i ben o. Mi 'rydw i bron yn cydwel'd â hi, erbyn iddi hi ddanos y peth. Ond mi 'rydw i 'n meddwl peth arall hefyd, rŵan;—wel hyn, tydi yr un dyn ddim yn gwisgo 'i het 'r un fath bob amser, a bydd het y dyn yn ol wel y botho 'i dymer o ar y pryd. Dyma Jacki yma, rŵan, er siampal: mi fydd i het o weithie ar lechwedd i ben; ac mi fydd bob amser yn chwibianu, ac yn canu rhw lolas, wel y meder o, pen fydd i het o welly: dro arall, mi fydd â'i het yn i lygid, a'r amser hòno, mi fydd mor bendew a *stiff* a bastard mul."

Fel yr oedd Jacki ar agoryd ei enau i ddywedyd rhywbeth trosto ei hun—

"Taw, Jacki bach," ebe Modryb Elin; "na hidia mono fo."

"Wel, ni a awn ymlaen, drwy eich cenad," ebe Jemi.

O flaen y tân, eisteddai boneddwr hirheglog, gan ogwyddo ei gader yn ol a phwyso ei gefn arni, â'i ddau droed wedi eu dyrchafu ar y fantell uwchlaw y tân; dull cyffredin teithwyr o eistedd yn y rhan hòno o'r wlad. I fysg y cwmni hwn y daeth y gŵr boneddig y soniasom am dano. Edrychai ar y cymdeithion gyda golwg led bryderus. Eisteddai i lawr mewn congl ger llaw y tân, a dodai yr hyn oedd ganddo yn ei ganlyn yn ofalus o dan y gader yr eisteddai arni. Edrychai gyda gradd o arswyd ar y gŵr hirgoesog a nodwyd, yr hwn oedd yn poeri tybacco ar dde ac ar aswy, mewn modd nad oedd ddymunol iawn i foneddwr o feddwl gwan, ac o arferion destlus, i fod yn agos ato.

"Sut yr ydych, y gŵr dyeithr," ebe fe, gan boeri allan tuagddo a'r newydd-ddyfodiad.

"Yn lled dda," atebai y llall, gan geisio cadw ei hun o gyrhaedd ergyd y poeryn.

"Oes dim newyddion?" ebe y llall, gan dynu rhol o dybacco, a chyllell fawr allan o'i logell.

"Dim a wn i am dano," oedd yr ateb.

"Cymerwch damed o dybacco," ebe y llall, gan estyn iddo gyfran.

"Na: diolch i chwi, nid yw yn cytuno â mi."

"O! wel," ebe 'r cydymaith, gan gymeryd y saig i'w enau ei hun.

"Beth ydyw hwna?" gofynai un, wrth weled nifer o'r cymdeithion yn edrych ar bapyrlen argraffedig.

"Hysbysiad am negro wedi dianc," oedd yr ateb.

Ar hyn, tynodd Mr. Wilson—canys dyna oedd enw y boneddwr a ddesgrifiwyd, ei wydrau allan, a gosododd hwy ar ei wyneb, a nesaodd at y bapyrlen, a darllenodd fel y canlyn:—

"Hysbysa yr hwn y mae ei enw isod, ddarfod i'w gaethwas negroaidd, George, ddianc ymaith oddiarno. Y mae y dywededig George yn chwe' troedfedd o daldra, o liw pur oleu ei groen—gwallt gwinau modrwyog;—yn ddyn pur ddeallus—yn siarad yn ddawnus—yn gallu darllen ac ysgrifenu. Y mae yn debyg o geisio pasio am ddyn gwyn. Y mae creithiau dyfnion ar ei gefn a'i ysgwyddau;—ac wedi ei nodi â'r llythyren H ar ei law ddeheu.

Mi a roddaf bedwar can' dollar am dano yn fyw, a'r unrhyw swm os caf brawf boddlonol ei fod wedi ei ladd."

Darllenodd Mr. Wilson yr hysbysiad o'r dechreu i'r diwedd yn araf, ac mewn llais isel, fel pe buasai yn dwysfyfyrio arno.

Y gwron hirheglog, yr hwn, fel yr adroddwyd, oedd yn gwarchae am y tân, a dynodd ei goesau i lawr, a chyfododd ar ei draed, a chan rodio at bapyrlen yr hysbysiad, efe a boerodd lonaid ei safn o sudd tybacco am ei phen.

"Dyna fy meddwl i yn fyr ar honyna," ebe fe, ac eisteddodd i lawr drachefn.

"Wr dyeithr," ebe gŵr y tŷ, "i ba beth y mae hyn yna da?"

"Mi naethwn 'r un fath yn union â'r dyn ysgrifenodd y papyr yna, py tase fo yma," ebe 'r talddyn, yn y modd mwyaf digyffro, gan roddi saig newydd o dybacco yn ei safn. "Y mae unrhyw ddyn a fyddo yn perchenogi bachgen fel hwn yna, ac na fedro ymddwyn yn well tuag ato, yn haeddu ei golli o. Y mae papyrau fel yna yn gywilydd i Kentucky, dene fy meddwl i yn bendant, os oes ar neb eisieu gwybod."

"Wel, yn wir, mae hyna'n ffaith," ebe gŵr y tŷ.

"Mae gin i *lot* o fechgyn," ebe 'r gŵr talog, drachefn; "a mi fydda i'n deyd wrthyn nhw, 'Rŵan, fechgyn,' meddaf fi, 'ewch ati, a gweithiwch arni hi, *just* fel y clowch chi arnoch! Ddo i

byth i ydrach ar ych hole chi!' Dene 'r ffordd y bydda i 'n eu trin nhw. Gydewch iddyn nhw fod at eu rhyddid i redeg i ffwrdd pan fynon nhw, a mae hyny yn tori eu blys am ddiengyd. Mwy na'r cwbwl, mae gin i bapyre i'w gneyd nhw 'n rhyddion bob un o honyn nhw, wedi eu gneyd yn barod, tae rhwbeth yn dygwydd i mi, a mae nhwthe 'n gwbod hyny; a chymerwch y ngair i, ŵr dyeithr, toes un dyn yn gneyd mwy o'i *niggers* na fi, yn y wlad yma. Mi fu mechgyn i yn Cincinnati gyda gwerth pum cant o ddoleri o ebolion, a daethant â'r arian i mi bob ffyrling, a hyny fwy nag unwaith. Tydi 'r peth yn sefyll i reswm. Triniwch nhw fel cŵn, a chi gewch waith cŵn, a throion cŵn gynthyn nhw;—ymddygwch tuag atyn nhw fel dynion, a mi gewch chithe waith dynion gynthyn nhwthe."

"Iechid i galon yr hen gnöwr tybacco," ebe F'Ewythr Robert; "pwy fase 'n disgwyl clowed y fath bethe o'i ben o. Mi 'roeddwn i 'n meddwl, wrth dy glowed di 'n i 'sgrifio fo yn dechre, y base fo 'n troid allan yn rhw flaidd milen, wel llawer o honyn nhw: ond 'nid wrth i phig mae prynu 'ffylog.' Y mae *sens* a d'nolieth yn 'r hen fachgen ene. 'S ydi o 'n fyw, a tase bosib i mi gael i *ddrecsiwn* o, mi faswn yn danwon chwe' phwys o 'baco *pigtail* iddo fo, i'w gnoi a'i boerid am ben pob *dwertisment* o fath 'r un hòno, ac am ben, ac i lygid pob dyn fase 'n rhoid allan i bath hi, lle bynag base fo 'n cwarfod â nhw! Be ddeydodd y gŵr byneddig arall hwnw wrtho fo?"

Efe a ddywedodd ei fod yn cydweled yn hollol âg ef. Dywedodd hefyd ei fod ef yn adnabod y gŵr ieuanc yr oedd yr hysbysiad allan am dano yn dda—y buasai yn gweithio yn ei *factory* ef am chwe' blynedd; ac mai efe oedd y goreu a feddai o lawer; ei fod, gyda hyny, yn ŵr celfyddgar iawn—ddarfod iddo ddyfeisio peiriant i lanhau cywarch, yr hwn oedd yn cael ei ddefnyddio mewn llawer o weithfaoedd; a'i fod yn beiriant gwerthfawr mewn gwirionedd; a bod ei feistr y pryd hwnw yn dal *patent* arno.

"Ydyw, mi wranta," meddai y porthmon—canys porthmon ydoedd eich cyfaill, F'Ewythr Robert. "Ydyw, mi wranta," eb efe, "yn ei ddal, ac yn gneyd arian o hono; ac ono 'n troi arno fo, a nodi 'r bachgen â haiarn poeth yn ei law dde. Pe cawn i ond y cyfleusdra, mi rown i farc arno fo a safe wrtho am beth, mi feddyliwn."

"Da machgen i," ebe F'Ewythr Robert; "gwell well o hyd—dene werth chwe' phwys arall o dybacco, beth bynag. Mi leiciwn i neyd casgliad trw 'r shir yma i brynu tybacco iddo fo. Wel, dos ymlaen."

"Aroswch fynyd," ebe Modryb Elin: "mae rhyw bethau rheitiach i wneyd casgliadau tuag atynt, na phrynu tybacco i'r dyn hwnw, nac un dyn arall. Y mae yr arferiad o hono fo yn

un adgas a ffiaidd, yn enwedig pan weloch chwi fechgyn ieuainc yn ei gnoi ac yn ei fygu o, fel y gwelwch chwi 'n aml iawn, fel mae gwaetha 'r modd. Mae nhw 'n meddwl na fyddant ddim yn ddynion os na fedran nhw gnoi neu fygu tybacco. A phe tae chwi 'n edrych ar ambell gapel, y bore dydd Llun ar ol y Sul, mi allech feddwl mai lot o foch fuasai wedi bod ynddo fo, gan fel y bydd o yn un poeri tybacco i gyd trosto;—ond begio pardwn y moch, 'does un mochyn wnai'r fath beth. Mae peth fel hyn yn gywilydd i wlad a chenedl. Mi glywais son am un gŵr parchus yn sir Fon wedi ei gwneyd hi 'n gyfraith, nad oedd i neb boeri tybacco yn y capel lle 'roedd o; a tase nhw yn gwneyd, y base fo yn ei nodi allan ar goedd pawb, yn union,—ac felly iddo fo roi terfyn ar yr arferiad gas yn y fan hono. Mi fydda i'n maddeu i hen bobol smocio ambell bibelled yn y gornel gartref; ond fedra i ddim diodde gwel'd hogie 'n cnoi ac yn mygu ar hyd y ffyrdd, na neb i gnoi a phoeri mewn tŷ addoliad. Ond ewch chwi ymlaen, James."

"Mae'r bechgyn gwybodus yma bob amser yn rhai poenus ac anodd eu trin," ebe rhyw fwngrel anolygus yr olwg arno, o'r tu arall i'r ystafell. "Dyna fel y mae nhw 'n cael eu fflangellu a'u marcio;—pe bae nhw 'n ymddwyn yn dda, chae nhw ddim."

"Hyny ydi, am i'r Arglwydd eu gneyd nhw 'n ddynion, a'i fod o'n waith caled iawn cael gynthyn nhw feddwl a choelio mai nid 'nifelied ydyn nhw," ebe y llall.

Dadleuai y llall yn wresog tros ei bwnc:—y gwyddai efe trwy brofiad ei hun fod negroaid talentog yn fwy o boen i'w meistriaid nag o les.

"Gwell i ti anfon at yr Arglwydd i neyd *set* i ti, heb roid eneidie ynthyn nhw," ebe y porthmon.

Torwyd ar yr ymddyddan yn y fan hon gan ddynesiad cerbydan at y gwestŷ, a gŵr o agwedd a gwisgiad boneddigaidd yn eistedd ynddi, a gwas du yn gerbydwr. Edrychai yr holl gwmni ar y dyeithr ar ei ddyfodiad i'r tŷ. Yr oedd yn bur dàl, o brydweddiad lled dywyll, a llygaid duon prydferth yn pelydru dealltwriaeth—trwyn crwn, lluniaidd, a gwallt du modrwyog—gwefusau teneuon a gweddaidd, a'i gorff a'i aelodau yn heirdd a lluniaidd. Edrychai yr holl gwmni arno fel rhywun anghyffredin. Rhodiai yn hoew i mewn, a rhoddai ei enw i'r gwestai fel Henry Butler, Oaklands, swydd Shelby. Yna, gan droi, yn hollol ddigyffro ei bryd, efe a edrychai dros yr hysbysiad.

"Jim," ebe fe wrth ei lanc, "ddarfu i ni gyfarfod â gŵr ieuanc tebyg i hwn tua Bernaco, onid do?"

"Do, misar," ebe Jim, "ond tydw i ddim yn siwr am y llaw."

"Wel, ni ddarfu i mi edrych am hyny, wrth reswm," ebe yntau yn ddifater. Yna gofynodd i ŵr y tŷ am ystafell ar ei ben ei hun, fod arno eisieu ysgrifenu yn ddioed.

Yr ystafell a barotowyd ar fer enyd, a thra yr oeddynt yn ei

gwneyd yn barod, eisteddai y boneddwr dyeithr yn nghanol y cwmni, ac ymddyddanai yn rhydd â'r rhai a eisteddent yn ei gylch.

Tarawodd ei ymddangosiad cyntaf yn y lle Mr. Wilson âg ammheuaeth yn ei gylch, daliai sylw craff a phryderus arno; yr oedd o hyd yn meddwl y dylasai ei adnabod; dyfnhëid yr argraff hwn ar ei feddwl bob tro y llefarai neu y gwenai y gŵr dyeithr. Yn ei fyw ni allasai beidio a syllu arno, ac yn ei fyw ni allasai wneyd allan pwy ydoedd, nac yn mha le y gwelsai ef. O'r diwedd, saethodd y cof o hono i'w feddwl, a thremiai arno gyda golwg o syndod a dychryn—daeth y llall ymlaen ato:—

"Mr. Wilson! os nad wyf yn camgymeryd," ebe fe, gan estyn ei law iddo. "Esgusodwch fi," ebe fe, "nid oeddwn yn eich cofio ar y cyntaf; yr wyf yn gweled eich bod chwi yn fy nghofio i—Mr. Butler, o Oaklands, yn swydd Shelby."

"O! ïe, ïe, ïe," ebe Mr. Wilson, fel un yn siarad mewn breuddwyd.

Gyda hyn, hysbyswyd y gŵr dyeithr fod yr ystafell yn barod iddo, ac ebe fe wrth Mr. Wilson, "Os gwelwch yn dda, mi a ewyllysiwn gael ychydig o ymddyddan gyda chwi yn fy ystafell."

Canlynodd Mr. Wilson ar ei ol i'r ystafell. Wedi iddynt fyned i mewn, a chael y lle iddynt eu hunain, clodd y gŵr ieuanc y drws, a dodai yr allwedd yn ei logell, a chan blethu ei freichiau ar ei fynwes, efe a edrychai Mr. Wilson yn ei wyneb.

"George!" ebe Mr. Wilson.

"Ië, George!" ebe y gŵr ieuanc.

"Ni buaswn yn gallu meddwl y fath beth!"

"Yr wyf wedi ymddyeithrio yn lled lew, yr wyf yn tybied," ebe y gŵr ieuanc, gyda gwên. "Y mae sudd y gneuen ffreinig wedi cyfnewid lliw fy nghroen, ac yr wyf wedi lliwio fy ngwallt yn ddu; felly, chwi a welwch, nad wyf yn ateb i'r desgrifiad a rydd yr hysbysiad, mewn un modd."

"Ah! George, yr ydych yn chwareu camp beryglus iawn, ac ni fuaswn yn eich cynghori i anturio arni mewn un modd."

"Mi a allaf ei wneyd o honof fy hun, heb ofyn na chael cynghor gan neb," ebe George gyda gwên.

Yr oedd Mr. Wilson yn ŵr pur dirion ei dymher, ond ei fod yn hynod o ffwndrus a gochelgar. Rhodiai yn ol ac ymlaen ar hyd yr ystafell, gan droi y mater yn ei feddwl, ac yn cloffi rhwng ei awydd i helpio George a rhyw dyb ammheugar o'i ddyledswydd i amddiffyn cyfraith a threfn. O'r diwedd, efe a gyfarchodd George yn debyg i hyn:—

"Wel, George, mi a dybiwn eich bod yn rhedeg ymaith oddiwrth eich meistr cyfreithlawn (nid wyf yn synu dim at hyny). Yr un pryd, y mae yn ddrwg genyf, George, ydyw yn sicr, rhaid i mi ddweyd hyny, yr wyf yn meddwl, George, y mae yn ddyledswydd arnaf ddweyd hyny wrthych."

"Paham y mae yn ddrwg genych, syr?" gofynai George yn bwyllus.

"Wel, eich gweled megys yn codi yn erbyn cyfreithiau eich gwlad."

"Fy ngwlad!" ebe George, gyda phwyslais trwm a chwerw; "pa wlad sy genyf fi ond y bedd;—ac O! gan Dduw, na buaswn wedi fy nghuddio ynddo!"

"Pa'm, George, na—na—ni wna hyny y tro. Y mae siarad fel yna yn ddrygionus ac anysgrythyrol, George. Yr oedd genych feistr caled, mae'n wir—y mae yn ymddwyn yn anuheilwng—ni allaf geisio ei amddiffyn. Ond chwi a wyddoch fel y darfu i'r angel orchymyn i Agar ddychwelyd at ei meistres, ac ymddarostwng tan ei llaw hi, ac fe anfonodd yr apostol Onesimus yn ol at ei feistr."

"Peidiwch a thaflu yr ysgrythyr ataf fi fel yna, Mr. Wilson," ebe George, gyda llygad tanllyd. "Peidiwch, oblegid y mae fy ngwraig yn Gristion, ac yr wyf finnau yn bwriadu bod, os byth yr äf i sefyllfa y gallaf fod yn Gristion ynddi. Ond adrodd rhanau o'r Beibl wrth un yn fy sefyllfa i sydd yn ddigon i beri iddo daflu y Beibl ymaith yn gwbl oll. Yr wyf yn appelio at yr Hollalluog Dduw. Yr wyf yn barod i fyned â'r achos ato ef, a gofyn iddo os ydwyf yn gwneyd ar fai wrth geisio fy rhyddid."

"Y mae y teimladau yna yn ddigon naturiol, George," ebe Mr. Wilson. "Ydynt yn ddigon naturiol. Ond nid fy nyledswydd i ydyw eich cefnogi ynddynt. Ydyw, fy machgen, y mae yn ddrwg genyf drosoch—y mae yn achos drwg, drwg iawn. Ond y mae yr apostol yn dyweyd, 'Arhoed pob un yn y sefyllfa y galwyd ef iddi.' Rhaid i ni oll ymostwng i drefniadau rhagluniaeth, yr ydych yn gweled."

Safai George â'i freichiau ymhleth, a gwên chwerwlem yn chwareu ar ei wefusau.

"Bwriwch, Mr. Wilson, fod yr Indiaid yn dyfod ac yn eich cymeryd chwi yn garcharor oddiwrth eich gwraig a'ch plant, ac am eich cadw dros eich holl fywyd i ddyrnu eu hyd—a ystyriech chwi hi yn ddyledswydd arnoch i aros yn y sefyllfa y'ch galwesid iddi? Yr wyf yn coelio yn hytrach yr edrychech ar y cyfleusdra cyntaf a ymgynnygiai i chwi allu dianc, fel trefniad rhagluniaethol—oni wnaech chwi?"

Edrychai y gwr bach yn o syn ar yr eglurhad hwn o'r mater, ac ni chynnygiodd wneyd un gwrthresymiad iddo. Ymddangosai fel wedi ei ddyrysu: newidiodd ei dir, a dechreuai osod y peryglon mawrion oedd ar ffordd George i allu dysgwyl y llwyddai ei anturiaeth; mai gwell fuasai iddo ddychwelyd yn ol o hono ei hun, neu y byddai ei sefyllfa yn llawer gwaeth nag erioed, os ei ddal a gaffai.

"Mi a wn y cwbl o hyn," ebe George—"yr wyf yn rhedeg

perygl;" yna, gan agor ei gochlwisg, efe a ddangosai ddau law-ddryll a chyllell. "Dyna," ebe fe, "yr wyf yn barod atynt! Am fyned i lawr i'r Deheu, nid äf byth! Na, os daw i hyny, mi a allaf ennill i mi fy hun chwe' troedfedd, o leiaf, o dir rhydd —y cyntaf a'r diweddaf a ennillaf yn Kentucky."

"Wel, George, y mae y fath sefyllfa meddwl yn un ofnadwy —y mae yn fath o gynddaredd, George—yr wyf yn arswydo—myned i dori cyfreithiau eich gwlad!"

"Fy ngwlad eto! Mr. Wilson, y mae genych chwi wlad, ond pa wlad sydd genyf fi, neu unrhyw un fel myfi, a anwyd o famau caethion? Pa gyfreithiau sydd i ni i feddwl am danynt? Nid ydym ni yn gwneyd y cyfreithiau, ac nid ydym yn cydsynio â hwy: nid oes dim oll a wnelom â hwy. Yr oll a wnant erom ni ydyw ein llethu a'n cadw i lawr. Ai ni chlywais eich areithwyr yn ein cyfarfodydd yn ein dysgu, bod llywodraethau yn derbyn eu holl nerth cyfiawn oddiwrth gydsyniad y deiliaid? Ai ni all unrhyw un a glywo y fath bethau feddwl a gweled beth ydyw eu hystyr, ac i ba beth y maent yn arwain?"

Er fod dadleuon a rhesymau George yn rhy gelyd o lawer i Mr. Wilson allu eu troi yn ol, ac er ei fod yn gwir deimlo drosto, yr oedd yn un hynod o wydn ac ymlynol wrth ei syniadau a'i olygiadau ei hunan. Daliai ati i gynghori George, ac i geisio dangos iddo ddrygioni ei ymddygiad yn ceisio dianc ymaith.

"Edrychwch yma, Mr. Wilson," ebe George, gan nesau ato mewn agwedd benderfynol—"edrychwch arnaf yn awr, ai nid wyf yn awr yn eistedd o'ch blaen yn mhob peth yn ddyn fel chwithau? Edrychwch ar fy wyneb—edrychwch ar fy nwylaw—ar fy nghorff," a safai yn syth o'i flaen. "Wel, ai nid wyf yn ddyn yn gystal a rhywun arall? Wel, Mr. Wilson, gwrandewch ar yr hyn yr wyf yn adrodd wrthych. Yr oedd genyf dad—un o'ch boneddwyr chwi yn Kentucky—yr hwn na feddyliai ddigon o honof i'w attal rhag fy ngwerthu gyda'i gŵn a'i geffylau er ychwanegu gwerth yr etifeddiaeth ar ei ol pan fu farw. Mi a welais fy mam yn cael ei rhoi i fyny ar werth gyda'i saith plentyn. Gwerthwyd ei phlant o flaen ei llygaid, bob yn un ac un i wahanol feistradoedd; a myfi oedd yr ieuangaf. Cwympodd ar ei gliniau o flaen hen gaethfeistr, gan erfyn arno ei phrynu hi gyda mi, fel y caffai o leiaf un o'i phlant gyda hi; ac yntau a'i ciciodd oddiwrtho—mi a'i gwelais ef yn gwneyd felly; a'r peth diweddaf a glywais oedd ei hwylofain a'i llefau, pan rwymid fi wrth wddf ei farch i'm cludo ymaith. Prynodd fy meistr fy chwaer hynaf drachefn. Yr oedd yn ferch grefyddol a da—yn aelod o eglwys perthynol i'r Bedyddwyr; ac yr oedd yn ferch mor brydweddol ag a fuasai fy mam yn ei hieuenctid. Yr oedd wedi cael dygiad da i fyny, ac yn ddillynaidd ei moes.

Yr oeddwn yn llawen ar y cyntaf ei bod wedi ei phrynu gyda mi, oblegid byddai genyf un cyfaill yn agos ataf. Ond cefais achos i newid fy meddwl yn fuan. Yr oeddwn yn sefyll wrth y drws, syr, a chlywais hi yn cael ei fflangellu. Yr oedd pob ergyd fel pe buasai yn aredig fy nghalon, ond ni allaswn roddi un help iddi. Fflangellid hi, syr, am y mynai fyw yn Gristionogol a diwair, yr hyn na chaniatâ eich cyfreithiau chwi i un ferch gaeth ei wneyd. O'r diwedd, mi a'i gwelais yn cael ei chadwyno gyda nifer o gaethion eraill, i'w hanfon i'r farchnad i New Orleans; a hyn oll am ddim ond yr hyn a grybwyllais: a dyna y peth diweddaf a wn i am dani! Wel, mi a dyfais i fyny yn ddyn—flyneddau ar flyneddau heb dad, heb fam, heb chwaer, nac un enaid byw yn gofalu mwy am danaf na phe buaswn gi—dim ond fflangellau, dwrdiadau, a newyn! Mi a fu'm lawer gwaith mor newynog, syr, fel y byddai yn dda genyf gael yr esgyrn a daflent i'w cwn. Ac eto, pan nad oeddwn ond plentyn, ac y gorweddwn yn effro nosweithiau cyfain mewn wylofain a dagrau; nid o herwydd y fflangellu a'r newyn a oddefwn, y wylwn. Nage, syr, ond *am fy mam a'm chwiorydd*—am nad oedd genyf neb a'm carai—yr un cyfaill ar y ddaear—dyna oedd yn tori fy nghalon! Ni wybuaswn erioed beth oedd cysur a dyddanwch; ni wybuaswn erioed beth oedd cael gair tirion, hyd oni ddaethum i weithio yn eich ffactri chwi, Mr. Wilson. Ymddygasoch chwi yn dirion tuag ataf; annogasoch fi i ymddwyn yn dda, ac i ddysgu darllen ac ysgrifenu, ac i ymdrechu gwneyd y goreu o honof fy hun; ac y mae Duw yn gwybod pa mor ddiolchgar wyf am hyny. Wedi hyny, syr, mi a ddaethum i gydnabyddiaeth â'm gwraig—chwi a wyddoch y fath fenyw brydweddol ydyw. Pan ddeallais ei bod yn fy ngharu, a phan briodais hi, prin y gallwn gredu fy mod yn ddyn byw, yr oeddwn mor ddedwydd; ac, syr, y mae hi mor rinweddol ag ydyw o brydferth. Ond yn awr, pa beth? dyma fy meistr yn fy nghymeryd oddiwrth fy ngwaith, oddiwrth fy nghyfeillion, a'r oll a garaf, ac yn fy malu i'r llwch. Am ba beth? Am fy mod, medd efe, yn anghofio pwy ydwyf—i ddysgu i mi mai negro ydwyf. Wedi y cwbl, ac yn ddiweddaf oll, dyma ef yn dyfod rhyngof fi a'm gwraig; ac yn dyweyd y bydd raid i mi ei rhoddi i fyny, a byw—gyda gwraig arall. Rhydd *eich* cyfreithiau *chwi* awdurdod iddo i wneuthur hyn oll, yn wyneb Duw a dyn. Edrychwch ar y peth, Mr. Wilson! Nid oes dim yn yr holl bethau hyn a dorasant fy nghalon i, a fy mam a'm chwiorydd, nad ydyw eich cyfreithiau chwi yn ei ganiatau, ac yn rhoddi awdurdod i bob dyn yn Kentucky i'w wneuthur, ac ni all neb ei wahardd! Ac a elwch chwi y rhai hyn yn gyfreithiau fy ngwlad *i?* Syr, nid oes genyf fi un wlad, mwy na thad; ond yr wyf yn myned i gael un. Nid oes arnaf fi eisieu dim oll gan eich gwlad chwi, ond cael llonydd

i fyned allan o honi yn dawel; a phan elwyf i Canada, lle y gwna y cyfreithiau fy addef a'm hamddiffyn, hòno a gaiff fod fy ngwlad i, a minnau a ufuddhaf i'w chyfreithiau. Ond os bydd i unrhyw ddyn gynnyg fy attal, edryched ato ei hun, oblegid yr wyf yn benderfynol—mi a ymladdaf am fy rhyddid hyd yr anadliad olaf. Yr ydych yn dyweyd ddarfod i'ch tadau chwi wneyd felly; os oedd yn iawn ynddynt hwy, y mae yn iawn i minnau wneyd."

Traddodai George yr araeth yma gyda theimlad a grym, gan rodio yn ol ac ymlaen ar hyd yr ystafell, ac eistedd i lawr weithiau, —ambell waith llifeiriai ei ddagrau, dro arall gwreichionai megys mellt o'i lygaid. Yr oedd yn amlwg ei fod yn dywedyd y gwirionedd, ac yn ei deimlo i'r byw; a'i fod wedi gwneyd ei feddwl i fyny, naill ai i ennill ei ryddid trwy ddianc i Canada, neu trwy ddisgyn i'r bedd. Yr oedd Mr. Wilson yn cael ei gyffroi yn fawr wrth wrando arno. Yr oedd megys pe buasai nodwyddau dur yn myned trwy ei gnawd, er ys meityn.

"Yn blag arnynt i gyd!" ebe fe yn ddisymwth. "Oni fyddwn i 'n arfer dweyd felly bob amser—yr adynod uffernol—gobeithio nad wyf yn rhegi chwaith. Wel, dos yn dy flaen, George—dos yn dy flaen; ond bydd ofalus, fy machgen, paid a saethu neb, George, oni bydd—wel, gwell i ti beidio saethu, yr wyf yn barnu; o leiaf hoffwn i ddim bitio un dyn, chwi wyddoch. Pa le y mae eich gwraig, George?" ebe fe drachefn, gan godi a cherdded ar hyd yr ystafell.

Wedi myned, syr, â'i phlentyn yn ei breichiau—wedi myned wrth gyfarwyddyd y seren ogleddol; a pha le y cyfarfyddwn, neu a gyfarfyddwn â'n gilydd byth yn y byd hwn, nid oes un creadur a ŵyr."

"A ydyw yn bosibl! syndod!—rhedeg oddiwrth y fath deulu tirion?"

"Y mae teuluoedd felly yn rhedeg i ddyled, ac y mae cyfreithiau eich gwlad chwi yn caniatau iddynt werthu y plentyn o fynwes ei fam i dalu dyledion y meistr," ebe George, gyda dygasedd."

"Wel, wel," ebe Mr. Wilson, gan drafod ei law yn ei logell— "yr wyf yn tybio nad wyf yn gwneyd yn ol fy marn—yn nghrog y bo nhw—ni wnaf ganlyn fy marn chwaith," ebe fe, yn fyrbwyll—"felly, hwda George," gan dynu rhol o ysgrifau allan, a'u cynnyg iddo.

"Na fynaf, fy anwyl syr!" ebe George. "Chwi a wnaethoch lawer iawn erof fi; a gallai hyn eich arwain i drwbwl. Y mae genyf ddigon o arian, yr wyf yn gobeithio, i'm cario cyn belled ag y bydd arnaf anghen myned."

"Na, rhaid i chwi eu cymeryd, George; y mae arian yn help mawr yn mhob man, ac ni ellwch gael gormod o honynt mewn ffordd onest. Cymer nhw—tyr'd, cymer nhw, machgen i."

"Ar yr ammod, syr, y caf eu talu yn ol ryw amser eto, mi a'u derbyniaf," ebe George, gan eu derbyn i'w law.

"Yn awr, George, pa hyd yr ydych yn meddwl ymdeithio yn y wedd hon? Nid yn hir, nac ymhell, yr wyf yn gobeithio. Yr ydych wedi ymddyeithro yn wych, ond y mae yn rhy beryglus. A phwy ydyw y bachgen du yma sydd yn eich canlyn?"

"Cyfaill ffyddlawn ydyw, yr hwn a aeth i Canada tua blwyddyn yn ol. Efe a glywodd, wedi iddo fyned yno, bod ei feistr wedi cynddeiriogi cymaint am iddo redeg ymaith, fel y darfu iddo ffiangellu ei hen fam, druan, yn dost; ac efe a ddaeth yn ei ol bob cam i'w chysuro hi, ac os gall, i'w chymeryd ymaith gydag ef."

"A gafodd efe hi?"

"Naddo, eto; y mae wedi bod yn cynniwair oddeutu y lle, ond ni chafodd gyfleusdra hyd yn hyn. Y mae yn awr am ddyfod gyda mi cyn belled ag Ohio, i'm cyfarwyddo at gyfeillion a fuont gynnorthwyol iddo ef, ac wedi hyny y mae am ddyfod yn ol i ymofyn am dani."

"Rhedeg perygl!—perygl mawr!" ebe Mr. Wilson.

Safai George o'i flaen, gan wenu yn ei wyneb.

Edrychai yr hen ŵr boneddig yn graffus arno. "Yr ydych yn dal eich pen i fyny mor hoew, ac yn siarad mor siriol a gŵr rhydd," ebe fe.

"O herwydd *fy mod yn ŵr rhydd*," atebai George yn ëofn. "Do, syr, mi a ddywedais *meistr* am y tro diweddaf wrth un dyn—*yr wyf yn rhydd!*"

"Cymerwch ofal, nid ydych yn sicr am hyny—gellwch gael eich dal."

"Y mae pawb dynion yn rhyddion ac yn gydraddol yn y bedd, os daw hi byth at hyny, Mr. Wilson," ebe George.

"Y mae eich hyfdra anturiaethus yn fy nyrysu yn hollol," ebe Mr. Wilson—"yn dyfod yma, y dafarn agosaf at y perygl!"

"Mr. Wilson, y mae y peth yn ymddangos mor ëofn—y mae y dafarn hon mor agos, fel na feddyliant byth y daethwn yma; edrychant am danaf draw yn rhywle, ac ni buasech chwi eich hunan chwaith yn gallu fy adwaen. Nid yw meistr Jim chwaith yn byw yn y swydd hon, ac nid yw ef yn adnabyddus yn y parthau hyn. Nid oes neb yn erlyn ar ei ol ef. Ni feddyliai neb am fy nghymeryd i oddiwrth y desgrifiad yn yr hysbysiad, yr wyf yn meddwl."

"Ond y nod ar eich llaw?"

Tynai George ei faneg, a dangosai graith newydd groeni ar ei law.

"Dyna y prawf olaf o garedigrwydd Mr. Harris (enw meistr George) tuag ataf," ebe fe. "Bythefnos yn ol, efe a gymerodd yn ei ben i'w rhoddi i mi, oblegid y credai, meddai ef, y buaswn

yn cynnyg dianc oddiarno ryw ddiwrnod. Y mae golwg ddyddorol arno, onid oes?" ebe fe, gan dynu ei faneg yn ol am ei law.

"Yr wyf yn teimlo fy ngwaed yn fferu wrth feddwl am eich sefyllfa a'ch peryglon," ebe Mr. Wilson.

"Bu fy ngwaed i yn fferu am lawer o flyneddau, Mr. Wilson, ond yn awr y mae yn ngwres berw," ebe George.

Wedi ychydig seibiant—

"Wel, fy anwyl syr," ebe George, "mi a dybiais ddarfod i chwi fy adnabod, ac ewyllysiwn gael ymddyddan fel hyn â chwi o'r neilldu, rhag y buasai i chwi, drwy amryfusedd, gan fawredd eich syndod, godi ammheuaeth y cwmni yn fy nghylch. Byddaf yn gadael y lle hwn yn foreu yfory, cyn y dydd; a nos yfory, yr wyf yn gobeithio y caf gysgu yn ddiogel yn Ohio. Teithiaf y dydd, a galwaf yn y gwestai goreu—ciniawaf gydag arglwyddi y tir. Felly, ffarwel, syr; os clywch fy mod wedi fy nghymeryd, gellwch fod yn sicr fy mod yn farw."

Safai George fel y graig, tra yr estynai ei law ymadawol allan. Ymaflai yr hen ŵr boneddig caruaidd ynddi, a gwasgai hi yn dỳn, ac ysgydwai hi yn ddwys. Ac wedi rhoddi llawer o gynghorion a gocheliadau i George, efe a adawodd yr ystafell.

Wedi iddo yn brin groesi yr hiniog, galwodd George ar ei ol drachefn, a chlodd y drws fel o'r blaen.

"Mr. Wilson," ebe fe, "yr ydych wedi dangos eich hun yn Gristion yn eich ymddygiad tuag ataf fi,—yr wyf am ofyn un gymwynas o garedigrwydd Cristionogol genych eto."

"Wel, George."

"Wel, syr, y mae yr hyn a ddywedasoch yn bur wir—yr wyf yn rhedeg perygl ofnadwy. Nid oes enaid byw ar y ddaear i ofalu dim am danaf, pe bawn yn marw," ebe fe, gan dynu ochenaid drom. "Caf fy nghicio allan, a'm claddu fel ci, ac ni feddylia neb am danaf dranoeth—ond yn unig fy ngwraig druan—druan o'i chalon hi—galara a gofidia hi—a phe byddai i chwi, Mr. Wilson, allu cael cyfleusdra i anfon y bin fechan yma iddi, byddai yn dda genyf. Darfu iddi ei rhoi i mi fel anrheg Nadolig, yr un anwyl. Rhoddwch hi iddi, a dywedwch wrthi fy mod yn ei charu hyd angeu. A wnewch chwi?" ebe fe yn ddwysddifrifol.

"Gwnaf yn sicr, George, druan," ebe yr hen foneddwr, gan gymeryd y bin â llygaid gwlybion, a'i wefusau a'i lais yn crynu gan rym ei deimlad.

"Dywedwch un peth wrthi," ychwanegai George,—"fy neisyfiad olaf ydyw—os gall hi rywfodd fyned i Canada, am iddi fyned yno. Nid yw o bwys yn y byd, pa mor garedig oedd ei meistres, a pha mor fawr y carai hithau ei chartref, dywedwch fy mod yn erfyn arni beidio myned yn ei hol—oblegid y mae

caethwasiaeth bob amser yn dybenu mewn trueni. Dywedwch wrthi am ddwyn i fyny ein bachgen yn ŵr rhydd, ac yna ni bydd raid iddo ddyoddef y pethau a ddyoddefais i. Dywedwch y pethau hyn wrthi, Mr. Wilson—a wnewch chwi?"

"Gwnaf George, mi a ddywedaf y cwbl wrthi. Ond yr wyf yn hyderu, George, na dderfydd am danoch; cymerwch galon, yr ydych yn ddyn heinif cryf. Ymddiriedwch yn yr Arglwydd, George. Mi a ddymunwn o'm calon eich bod yn ddiangol o'r peryglon—mi a wnawn hefyd."

"A oes Duw i ymddiried ynddo?" gofynai George, yn y fath dôn o chwerw anobaith ag a darawai yr hen foneddwr âg arswyd. "O!" ychwanegai George, "mi a welais y fath bethau ofnadwy yn fy oes, ag a barant i mi feddwl nad all fod Duw. Ni all Cristionogion wybod pa fodd y mae pethau o'r fath yn ymddangos i ni. Y mae Duw i chwi; ond a oes Duw i ni?"

"O! paid, paid, fy machgen," ebe Mr. Wilson, mewn dagrau, "paid a meddwl a siarad fel yna. Oes, y mae, oes y mae;—'Cymylau a thywyllwch sydd o'i amgylch ef; ond cyfiawnder a barn yw trigfa ei orseddfainc ef.' Oes, y mae Duw yn bod, George; credwch ef, ymddiriedwch ynddo, ac yr wyf yn sicr y cynnorthwya efe chwi. Daw pob peth i'w le—os nad yn y byd hwn, fe newidia y cwbl yn y byd a ddaw."

Llefarai yr hen foneddwr y geiriau hyn gyda dwysder ac awdurdod a barai i George deimlo eu dylanwad; ac yr oedd ei adnabyddiaeth o gymeriad diargyhoedd Mr. Wilson hefyd yn help i'w ymadroddion gael gafael ar, a derbyniad gan, galon George.

"Diolch i chwi am ddywedyd fel yna wrthyf, fy ffyddlawn gyfaill," ebe George, "mi a feddyliaf am eich geiriau."

"Dyna ddiwedd y stori yna," ebe James Harris—ac felly yr ymadawodd y ddau â'u gilydd; ac ar derfyn y stori hon rhaid i minnau ymadael am heno.

"Aros fynyd bach," ebe F'Ewythr Robert, "rhyw hanes trwm a phwysig ryfeddol oedd y darn d'waetha o'r stori heno; faswn i yn y myw 'n medrud dal ymbell waith—ydi, mae peth wel ene yn ddigon i hollti calon Cader Idris, yn wirionedd ine. Mi rydw i wel tae rhw gwmwl tew chwedi myn'd trost y nghalon i, wrth wrando a meddwl am Siors Harris. Mwyn d'ioni, ddaru nhw beidio cael gafel yntho fo. Os cowson nhw afel yntho fo, mi fydd hyny yn spwylio stori Lisa eto."

"Na, efe a ddiangodd yn iach o'u cyrhaedd, fel y dywedais o'r blaen, ac y caf adrodd i chwi eto ryw dro," ebe Jemi.

"Wel, mi roist 'llyngdod i mi na choeliet ti byth," ebe F'Ewythr Robert, "a mi rydw ine 'n foddlon i roid 'llyngdod i tithe i fyn'd adre 'rŵan. Cofia di ddwad â dy dad yma hefoth di nos yfory; a noswaith dda i ti heno."

"Wel," ebe yr hen ŵr, wedi i James fyned ymaith, "mi smocia i gatied 'rŵan yn bur gaurus, mi ddyliwn, chwedi i mi gael ar ddallt na ddaru nhw ddim dal Siors Harris. Be ydach chi 'n feddwl o'r hen ŵr byneddig hwnw? Mi 'roeddwn i 'n rhw hanner digio wrtho fo weithie, a mi fyddwn yn madde 'r cwbwl iddo fo wed'yn. Mi droes o allan yn bur dda yn diwedd, beth bynag."

"Rhw wlanen o beth oedd o," ebe Cati, "ond mi 'roedd gwaelod da yntho fo. Tase fo yn fab i'r Mistar a Missis Bird rheini, mi faswn i 'n dysgwyl i gael o'n rhwbeth tebyg i'r peth oedd o; mi 'roedd o fel tase rhw lawer o'r ddau wedi c'warfod yntho fo. Mi 'roedd o am gadw at gyfreithie i wlad, fel Mr. Bird, a mi 'roedd o 'n barod i'w hanner rhegi, a'u tori nhw o dosturi at y caethion hefyd, yr un fath a Missis Bird. 'Rydw i 'n meddwl mai dyn da iawn oedd o ar y cwbwl."

"Wel, mi ddeyda i chi fy meddwl ine am dano fo," ebe Jacki.

"Wel, gwr'ndewch i gid," ebe F'Ewythr Robert, "mae Jacki yn myn'd i ddeyd i feddwl, a mi ddaw rhwbeth allan fydd yn werth i'r byd i w'bod o—rŵan Jacki."

"Wel, dene ydi meddwl i," ebe Jacki, "mai hen lanc ifanc oedd Mr. Wilson, mi 'roeddwn i 'n gwel'd rhwbeth yn debig iawn yntho fo i hen lancie adwaen i—rhwbeth rhyfedd yn i ffordd o rwsut."

"Mae rhwbeth rhyfedd iawn yn dy goryn di, beth bynag," ebe yr hen ŵr; "debig gin i mai hen lanc ifanc fyddi dithe, ys dydi d'athrawiaeth di 'n wir. Wel, Neli, rydan ni 'n disgwil wrtha titha rŵan i ddeydyd dy reswm."

"'Does gen i ddim rheswm i'w ddeydyd, am a wn i," ebe Modryb Elin, "a gwell gen i dewi â deyd dim, os na fydd gen i rywbeth dalo ei ddweyd. Yr oeddwn i yn teimlo fel un yn cyd-ymdeimlo â Mr. Wilson wrth wrando 'r hanes. Ymddengys i mi ei fod o 'n ddyn go wan ei feddwl, ond yn bur dyner ei gydwybod a'i deimladau. Yr oedd yn meddwl fod gair Duw yn ei rwymo fo, a phob dyn arall, i barchu ac i ufuddhau i gyfreithiau ei wlad, beth bynag fyddo rheini, a hyn a barai iddo fo geisio perswadio George Harris i droi yn ol oddiar y llwybr 'roedd o wedi cychwyn, drwy ddianc oddiar ei feistr. Yr oedd fel yn ammheu 'r peth hefyd, ac yr oedd holl deimladau ei galon o'n gogwyddo 'n groes i argyhoeddiad gwanaidd ei ddeall a'i gydwybod. Dyn mewn petrusder ynghylch ei ddyledswydd ydoedd, ac yr oedd y petrusder hwnw 'n boenus iawn i'w gydwybod dyner ef. Yr oedd calon y dyn yn ei lle; ond nid oedd ei ddeall a'i gydwybod wedi eu goleuo yn dda. Llywodraethid ei deimladau gan gariad at Dduw a dyn, yn dywalltedig yn ei galon; ond yr oedd llygaid ei feddwl, fel llygaid Lea, yn weiniaid. Brawd gwan oedd o. Yr oedd yr hen gnowr tybacco hwnw, chwedl chwithau, yn gryfach ei feddwl a'i ddealltwriaeth nag y fo. Ond nid oedd

gan hwnw gydwybod i Dduw—ni wyddai ddim am galon yn crynu wrth ei air ef, y mae lle i ofni. Ac—"

"Howld! howld! aros, aros!" ebe F'Ewythr Robert, "paid ti a deyd dim yn erbyn 'r hen gnowr tybacco, fedra i ddim diodde i ti—'r hen fachgen clyfra o honyn nhw i gid oedd hwnw gin i. Mi 'roedd o 'n llawer iawn tybycach i ddyn duwiol na'r gethwrs rheini sy'n ceisio 'mddiffyn cadw caethion. Mi fydde 'n well gin i ganwaith farw yn i groen o nag yn 'i crwyn nhw, beth bynag."

"Wel, wel, mi a adawaf eich ffrind, yr hen dybacwr, yn llonydd," ebe Modryb Elin, "cofiwch chwi, mai yn eich croen eich hun y bydd raid i chwi sefyll ger bron y Barnwr, a phob dyn arall yn gystal a chwithau. 'Canys pob un a ddwg ei faich ei hun,' medd y gair. 'Y peth oeddwn i ar fedr ddweyd oedd, bod Mr. Wilson heb ddeall ac ystyried nad oes dim rhwymedigaeth ar ddyn i ufuddhau i gyfreithiau dynion os bydda nhw 'n groes i gyfreithiau Duw. Os oes hawliau yn perthyn i ddyn fel dyn—fel creadur Duw, ac un cyfrifol i Dduw—ni all un gyfraith ddynol ddyddymu 'r hawliau hyny, ac mae yn gyfiawn i ddyn ddianc o afaelion y fath gyfreithiau, os gall o, fel yr oedd George Harris yn ceisio gwneyd. Yr oedd yn Mr. Wilson egwyddor oedd yn ei gymhell o i wneyd yn ei le, er bod ei wan gydwybod o 'n ammheus, pa un oedd o 'n gwneyd yn iawn neu beidio."

"Wel, aros di rŵan," ebe F'Ewythr Robert, "mi 'roedd 'r hen ŵr byneddig hwnw 'n deyd bod Abram yn cadw slafs, ac erill o'r hen 'triarchied, sut y gelli di i cyfianhau nhw? a mae gethwrs y 'Merica yn codi siample Abram a'r rheini, wel rydw i 'n dyallt, i 'sgusodi pyrch'nogion slafs yr oes yma."

"Y maent felly," ebe Modryb Elin, "ond nid fy ngwaith i yw cyfiawnhau na chondemnio 'r hen batriarchiaid. Mi a feddyliwn ei bod yn bur amlwg fod yr Arglwydd yn goddef llawer o bethau dan yr oruchwyliaeth hono ag sydd yn cael eu gwahardd yn bendant dan yr efengyl. Yr oedd gan lawer o honynt hwy ddwy, neu ragor na hyny, o wragedd, ac yr oedd hyny yn cael ei oddef, yr hyn ni oddefa y Testament Newydd, ac ni oddefa cyfreithiau un wlad, a elwir yn Grist'nogol, y fath beth chwaith; a mi allai 'r pregethwrs rheini, chwedl chwithau, ddadleu tros i ddyn gadw mwy nag un wraig, fel peth ysgrythyrol, yn llawn cystal ag y gallant ddadleu tros gadw slafs."

"Da iawn, Neli, yn twyt ti 'n siarad i bwrpas," ebe F'Ewythr Robert, "tase ti dipin iengach, mi faswn yn d'yru di i'r Merica rhag blaen i'w dysgu nhw, mi faswn hefyd. Ond aros di eto, mi ddeydodd 'rhen ŵr byneddig hwnw rwbeth ynghylch y postol Paul wrth Siors Harris, i fod o 'n dafnon rhw gaethwas oedd wedi dengyd yn i ol at i fistar, os tydw i 'n cofio 'n iawn—a be neid di o nene?"

"Fe ddywedodd Mr. Wilson felly wrth George Harris, mae 'n wir, ac y mae Paul ei hun yn ei ddweyd o—efe a anfonodd lythyr at Philemon, yr hwn oedd yn Gristion, yn llaw Onesimus y gwas, yr hwn yr oedd Paul wedi bod yn offeryn i'w ddychwelyd yn Rhufain, i'r lle y diangodd oddiwrth ei feistr, gan ofyn iddo ei dderbyn yn ol, nid fel gwas mwyach, ond fel brawd anwyl. Y mae Paul yn y llythyr hwnw felly yn dwyn ei dystiolaeth, er nid yn uniongyrchol, yn erbyn cadw caethion. Pe buasai meistr Onesimus yn rhywun tebyg i feistr George Harris, yr wyf yn coelio na buasai Paul byth yn ei gynghori i fyned yn ei ol; neu pe na buasai yn sicr yn ei feddwl y buasai Philemon yn ei dderbyn fel brawd, ac nid fel caethwas, ni buasai yn ysgrifenu y fath lythyr ato. Yr oedd Paul yn cynghori caethweision crefyddol i fod yn ymostyngar i'w sefyllfa; ond os gallent fod yn rhyddion, am iddynt fwynhau hyny yn hytrach."

"Wel aros di eto," ebe F'Ewythr Robert, "sut na base Paul yn deydyd yn bendant yn erbyn y drwg o gadw *slafs*, wel y mae rhai dynion yn deydyd yn y dyddie yma!"

"Y mae rheswm am hyny," ebe Modryb Elin. "Deiliaid llywodraethau paganaidd oedd yr eglwysi 'roedd Paul yn ysgrifenu atynt, ac nid oedd yr apostolion byth yn cynnyg at ddymchwelyd un ffurf o lywodraeth wladol, na newid eu sefydliadau; ond at ennill dysgyblion i Grist. Nid oeddynt mewn un modd yn agored i'r cyhuddiad eu bod hwy yn derfysgwyr a gwrthryfelwyr yn erbyn yr awdurdodau, ac yn dysgu anufudd-dod i'r cyfreithiau. Rhoddi y lefain yn y celwrn blawd yr oeddynt hwy, gan wybod y byddai iddo mewn amser suro yr holl does. Pan ddelai egwyddorion yr efengyl i feddu dylanwad cyffredinol ar wlad, yr oeddynt yn gwybod yn dda y buasent yn dwyn llywodraeth, sefydliadau, a chyfreithiau y wlad hono yn gaethion gwirfoddol i'w hysbryd hi. Yr wyf fi yn coelio y base Paul yn llefaru mor uchel a neb yn erbyn cadw slafs, pe buasai yn byw yn yr oes hon, pan y mae llywodraethau, fel llywodraeth America, a fynant gael eu galw yn llywodraethau Crist'nogol, yn gwneyd, yn cynnal, ac yn amddiffyn cyfreithiau o du y peth gorthrymus, anghyfiawn, a chreulawn;—a dynion, a fynant gael eu galw yn Grist'nogion, yn ymddwyn yn llawer mwy annynol a bwystfilaidd tuag at eu caethion nag yr ymddygai neb paganiaid yn yr oesau hyny. Pe buasai Paul, meddaf, yn dyst o bethau fel hyn, buasai yn cyhoeddi anathema ofnadwy yn eu herbyn."

"Wel, yn wir," ebe F'Ewythr Robert, "'rwyt ti 'n deydyd rheswm da, ddyliwn i 'n siwr. Mi 'roeddwn i 'n meddwl wrth dy wrando di, am danat ti, wel y gwelis i di weithie 'n trin cengel dafedd chwedi d'rysu, yn cymryd pwyll a mynedd hefo fo, nes i ddirwin o i'r pen, tase raid i ti roid

diwrnod cyfa ati hi; mi faswn i chwedi gwlltio efo llawer un, a'i daflud o i'r tân i'w grogi cin pen pum mynud. Mi roeddwn i 'n meddwl fod pwnc y Beibil a'r slafs ene yn rhw gengel ddyrus ryfeddol, ond mi ddyliwn i dy fod di chwedi ddirwin o i'r pen yn daclus. Tyr'd i dy wely rwan."

---

## NOSON IX.

### F'EWYTHR TOMOS.

DAETH Thomas Harris (tad James) ychydig o flaen ei fab i'r Hafod yr hwyr hwn. Cyn gynted ag y daeth i mewn i'r tŷ, siriol gyferchid ef gan y teulu. "Sut yr ydach chi, Tomos bach?—dowch ymlaen, Tomos—'steddwch i lawr, Tomos. Sut mae 'r wraig a'r teulu acw i gid, Tomos," ebe F'Ewythr Robert. Wedi iddo eistedd i lawr, a dybenu yr holion a'r atebion cyffredin o bob ochr—

"Wel, mewn difri, Tomos," ebe F'Ewythr Robert, "yr ydan ni chwedi cael dfyrwch rhyfeddol hefo Jemi chi 'r nosweithie dwaetha yma: bachgen clyfar trost ben ydi Jemi. Y fath fendith ydi dysg i blant! a'r fath gam â nhw ydi i gadel nhw wel y ces i ngadel."

"Ydyw," ebe Thomas Harris, "y mae tipyn o ddysg, yn siwr, y peth goreu a all rhieni roddi i'w plant. Byddaf fi yn meddwl yn wastad, bod rhoi ychydig ddysg yn eu penau, a rhyw gelfyddyd yn eu dwylaw, y pethau goreu a mwyaf buddiol iddynt i fyned trwy y byd yma; ac yn llawer gwell na llawer o arian yn 'u pocedau nhw. Rhowch ddysg a chelfyddyd iddyn nhw; ac os ca nhw iechyd a gras, mi än' trwyddi hi 'n burion."

"'Rydach chi 'n deydyd calon y gwir, Tomos," ebe F'Ewythr Robert. "Y fath gam mawr ges i, na chowswn i dipin o ysgol! Mi rydw i 'n teimlo nghholled bob dydd—toedd gin y nhad a mam ddim llawer o fodd i roid dysg i mi 'n siwr; ond tase gynthyn nhw 'wllys, mi fasen yn ffeindio 'r gallu i mi gael blwyddyn ne ddwy: a mi fase hyny 'n rhwbeth. Ond toedden nhw, mwy na llawer erill o'u cymdogion yn y dyddie rhei'ny, 'n gweld dim gwerth yn y peth. Ynt tydw i'n cofio nhad yn deyd wrth 'r hen Sion Dafydd William, Bron y Gader, pen oeddwn i rhw hogyn bach, fod o 'n synud at Sion i fod o chwedi rhoid i fachgen yn rysgol. 'Peth pryglus iawn ydi rhoi dysg i blant,' medde fo; 'tae nhw 'n dysgu 'sfenu, hwrach mai fforgio nae nhw, a chael 'u crogi am hyny; felly mae llawer yn gneyd. Ddyle neb roid i fachgen 'n 'rysgol, os na fydd o 'n meddwl gneyd twrne ne berson o hono fo. Cadwch ych plant heb ddysgu 'sfenu, a mi cedwch nhw rhag un ffordd sy'n arwen i'r crogbren, beth bynag: a dene wel 'roedd llawer o'r hen

bobol yn arfer siarad. Mi 'roeddwn i chwedi penderfynud, tase mhlant i'n byw, y cawsen nhw lond 'u bolie o ysgol beth bynag, tase raid i mi 'u gadel nhw yn diwedd heb un geniog goch o ffortun."

"Mae gormod yn meddwl yr un fath a'r hen bobol eto; neu o leia, yn ymddwyn fel pe bydde nhw 'n meddwl felly," ebe Thomas Harris. "Mi fydda i'n synu narw iawn at bobol sydd â moddion ganddynt, eu bod yn gadael eu plant heb roddi 'chydig o ddysgeidiaeth iddynt beth bynag."

"Piti garw fod plant gin 'u bathe nhw," ebe F'Ewythr Robert. "Dene bobol y T———, wyddoch, yn werth cantoedd o bune, a dene lot o ferched gynthyn nhw, na feder run o honyn nhw gimin a 'sfenu 'i henw. Mi briododd un o honyn nhw does fawr yma, wyddoch, a mi roedd 'i thad yn rhoid gryn dri chant o bune o g'nysgeth hefo hi; ond ni wydde hi ddim sut i roid croes wrth 'i henw yn reglwys. 'Roedd yn gwilydd i wyneb 'i thad i fod ono, ys oedd dim styrieth yntho fo; a mae'r lleill i gid 'run fath: a mae nhw 'n gwisgo wel *ladis*—yn 'u sidane a'u rybane, nes byddwch chi 'n 'u clowed nhw 'n sïo wth ych pasio chi,—fydde waeth rhoid capie lasie am bene tyrchod dyar. Mae o 'n gwilydd calon i bobol â moddion gynthyn nhw yn y dyddie yma: toedd dim cimin o help am dani es talwm."

"Y mae felly yn wir," ebe Thomas Harris; "ond nid llawer gewch chwi yn y wlad yma fel y bobol y darfu i chwi gyfeirio atynt chwaith yn y dyddiau yma: mae rheini fel teulu o hil epil yn *od* i bobol eraill."

Ar hyn, deuai James Harris i mewn, a rhoddodd y ddau hen ŵr ben ar y stori. A galwodd F'Ewythr Robert ar y teulu ynghyd, i gael dechreu ar wasanaeth y noson. Ond cyn dechreu y gorchwyl, rhoddent adroddiad o gynnwysiad yr ymddyddan a fuasai rhyngddynt y nos o'r blaen, ynghylch Mr. Wilson, yr hyn a roddai ddifyrwch nid bychan i Thomas Harris a'i fab.

"Wel, y mae 'n bryd i ti ddechre Jemi," ebe F'Ewythr Robert, "ond gad i ni gael gwbod pw ran o'r stori sy gin ti heno?"

"Meddwl yr wyf mai rhoddi tro ar F'Ewythr Tomos, a wnawn heno," ebe James; "ond rhaid i chwi ddysgwyl rhyw ystori bur bruddaidd—rhywbeth tebyg i edrych ar ddafad ddiniwed yn cael ei hysglyfaethu a'i rhwygo gan flaidd creulawn—ystori na buasem yn synu cymaint ati, pe buasai yr amgylchiadau yn dygwydd yn Itali, neu Naples, neu Awstria, lle y mae y llywodraethau a'r llywodraethwyr yn debyg i fleiddiaid, teigrod, a dywalgwn, yn eu hysbryd a'u hegwyddorion. Ond yn America, y wlad a ymffrostia gymaint yn ei chyfreithiau a'i sefydliadau rhyddion, y mae y fath beth yn annyoddefol i gig a gwaed!

Rhaid i chwi ymgosbi, F'Ewythr Robert, rhag ffyrnigo ac ymwylltio tra byddwyf yn ei hadrodd."

Y diwrnod cymylog a niwliog, tywyll a du, oedd i ddwyn trallod ac anrhaith i gaban tlawd F'Ewythr Tomos, a wawriodd. Boreu oer, rhewllyd, yn nghanol mis Chwefror ydoedd—boreu a adawodd saeth adfachog yn nghalonau aelodau y teulu truan hwn, a lyna ynddynt hyd oni thyner ymaith gan angeu.

Parotoai Modryb Clöe y boreubryd diweddaf i'w phriod gyda chalon a theimladau haws eu dyfalu na'u desgrifio. Paciai i fyny ei grysau a'i ddillad, ac eneiniai bob dilledyn â dagrau heilltion y gorthrymedig.

Eisteddai Tomos gerllaw, â'i Destament yn agored o'i flaen, a'i law o dan ei ben. Ni ddywedai y naill un gair wrth y llall. Yr oedd eto yn bur foreu, a'r plant oll yn cysgu yn eu gwelyau.

Cyfodai Tomos oddiar ei stol, a cherddai yn ysgafn at y gwely i gymeryd golwg ar ei blant. Yr oedd yn hynod o hoff o honynt, bob amser, fel y mae y negroaid yn gyffredin.

"Dyma 'r tro olaf!" ebe fe.

Ni ddywedodd Modryb Clöe air, ond gyrai ymlaen ar ysmwddio crys oedd dan ei dwylaw; ond o'r diwedd, gollyngodd yr ysmwddiadur o'i llaw, ac eisteddodd wrth y bwrdd, ac ymollyngodd i wylo.

"Rhaid i ni fodloni, debic gen i," ebe hi—"ond, O Arglwydd! sut y galla i neyd? Taswn i 'n gwbod i b'le nhw 'n myn'd â chi—ne sut nhw 'n trin chi. Missis deyd hi treio prynu chi 'n ol mhen blwyddyn ne ddwy. Ond, taid! toes neb byth yn dwad i fyny, nhw myn'd unweth lawr ffor' hòno!—nhw lladd nhw! Fi clowed fel byddan' nhw 'n gweithio nhw yn y planfeydd rheini."

"Bydd yr un Duw i'w gael ono, Clöe, ag sydd yma," ebe Tomos.

"Wel, g'lygwch y bydd," ebe Clöe, "yr Arglwydd yn gadel i bethe 'chrynllyd gym'ryd lle weithie—fi gallu cael fawr o gysur ffor' ene."

"Yr wyf yn llaw 'r Arglwydd," ebe Tomos. "Gall dim fyn'd ymhellach nag y goddefo efe; a dene un peth fi gallu bod yn ddiolchgar am dano. Y *fi* sy'n cael y ngwerthu, ac nid ti, ne 'r plant. Chi 'n ddiogel yma—arna i 'n unig bydd y peth yn disgyn; ac fe gynnorthwya 'r Arglwydd fi—mi a wn y gwna."

"Ah! y galon wrol a mawrfrydig!" medd yr awdures, "yn cadw danodd dy ofid dy hun, i gysuro dy anwylion." Llefarai Tomos gyda llais toredig, a theimladau calon lawn yn croni yn ei wddf—ond llefarai yn wrol a hyderus.

"Dewch i ni feddwl am ein cysuron," efe a ychwanegai â llais crynedig, fel un yn teimlo bod mawr anghen arno am feddwl yn ddyfal iawn arnynt, i dynu rhyw gysur yn yr adeg drallodus hon.

"Cysuron!" ebe Clöe, "fi gwel'd dim cysur na thrugaredd! —tydi o dim yn gyfion!—dim cyfiawnder mewn peth fel hyn! Dylse misar byth gadel chi cael y'ch cym'ryd am i ddyled o. Chi gwedi ynnill iddo fo fwy na fo cael am danoch chi ddwyweth trosodd—chi gwedi ynnill y'ch rhyddid, a dylse fo fod gwedi i roid o i chi dwy blynedd 'n ol. Fo dim help i'r peth rŵan, hwrach—ond fi 'n teimlo bod y peth o'i le. 'Tall neb byth tynu hyny o honw' i. Y fath gradur ffyddlon buoch chi —fel tase 'r busnes yn fusnes i chi y'ch hun, bob amser—chi 'n meddwl mwy am dano fo nag am y'ch graig a'ch plant y'ch hun. A pwy meder gwerthu cariad a gwaed c'lone i gael i hinen allan o drwbwl. Mi fydd 'r Arglwydd fyny â nhw—mi ga nhw gwel'd hyny."

"Clöe, rŵan, os wyt ti 'n y ngharu i, gnei di dim siarad fel ene," ebe Tomos—"hwyrach mai dyma 'r tro dwaetha byth i ni fod efo 'n gilidd. Fi deyd i ti, Clöe, fi brifo clowed un gair 'n erbyn misar. Fi wedi bod yn dal o yn y mreichie pen 'r oedd o 'n babi; a mae 'n nturiol fod yn da iawn iawn gin i am dano fo. Dim disgwil iddo fo meddwl mawr am dana i, druan. Mistred 'n arfer gneyd pethe fel hyn, a mae 'n n'turiol iddyn' nhw edrach trostyn nhw 'n difeddwl. Cymara di fo â mistred erill—pwy sy'n cael cysled trinieth a byfolieth a ces i? A base fo byth yn gadel iddi fyn'd fel hyn arna i, tase fo'n gallud i helpio fo—mi gw'bod base fo dim."

"Wel, ffor' bynag, mae c'mwri yn y peth yn rhwle," ebe Modryb Clöe; yn yr hon yr oedd ystyriaeth anhyblyg o gyfiawnder yn elfen gref. "Gallaf fi dim gneyd allan p'le mae 'r drwg, ond fo *bod* yn rhwle—fi 'n siwr o hyny."

"Ti edrych fyny at yr Arglwydd," ebe Tomos, "fo uwchlaw pawb—dim un deryn tô 'n syrthio i'r ddaear hebddo fo."

"Hyny dim rhoid cysur i mi, rwsut—ond hwrach dyle fo," ebe Modryb Clöe. "Ond tydi o dim iws siarad—fi jest rhoid 'menyn ar y deisen, a gneyd un *breewast* da—neb gwbod pryd y cewch chi un eto."

Dywed yr awdures bod yn anghenrheidiol, er llawn ddeall llymder trallodion y negroaid a werthir i'r taleithiau deheuol, i gofio fod teimladau naturiol y negroaid yn hynod o gryfion. Y mae eu serch at eu cartrefi yn wresog a dianwadal—nid ydynt yn naturiol hyfion ac anturiaethus, ond yn llawn serchiadau. Ychwanegwch at hyn yr arswyd â'r hwn y gwisga anwybodaeth yr hwn sydd anadnabyddus; ac at hyny eto, bod bygwth gwerthu i'r taleithiau deheuol yn cael ei osod o flaen y negro o'i fabandod fel y gosbedigaeth waethaf. Y bygythiad hwn a'u dychryna yn fwy na 'r fflangell na 'r arteithiau tostaf. Clywsom ni ein hunain rai o honynt yn addef y teimlad hwn, a gwelsom gyda pha fath ddychryn

yr ymddyddanant â'u gilydd yn eu horiau segur, gan adrodd storïau arswydlawn y wlad i "lawr yr afon," yr hon iddynt sydd "y fro anadnabyddus hòno, o'r hon nid oes un ymdeithiwr byth yn dychwelyd."

Adrodda cenadwr yn mysg y ffoaduriaid yn Canada, i lawer o'r ffoaduriaid gyffesu ddarfod iddynt ddianc oddiwrth feistriaid tirion mewn cymhariaeth, ac iddynt ddewis yn hytrach feiddio yr anturiaeth o ddianc ymaith, agos bob un, oddiar yr ofn a'r dychryn rhag cael eu gwerthu i'r taleithiau deheuol.

Eisteddodd y ddau druan gofidus wrth y bwrdd i gyfranogi o'u boreubryd olaf byth gyda'u gilydd; ond ni allasent wneyd dim ond edrych ar eu hymborth—ar fara ing a dwfr gorthrymder yr ymborthent y boreu hwnw. Wedi codi oddiwrth y bwrdd, casglodd Modryb Cloe ddillad Tomos ynghyd, a dododd hwy mewn cistan, yn barod, erbyn y delai yr alwad am dano ymaith. Tra yr oedd ar y gorchwyl hwn, llefai un o'r plant—"Dyma Missis yn dwad!"

"Hi gallu gneyd dim help i ni: be mae hi 'n geisio?" ebe Modryb Cloe.

Daeth Mrs. Shelby i mewn. Estynai Modryb Clöe gader iddi, mewn dull pur ddiseremoni a surllyd. Ond ni chymerai Mrs. Shelby arni ei bod yn sylwi dim. Yr oedd yn edrych yn welw a phryderus.

"Tomos," ebe hi, "yr wyf yn dyfod i—;" ond ymattaliodd yn sydyn, gan droi ac edrych ar y tylwyth plant bach, y rhai a safent o amgylch mewn dystawrwydd, fel yn synddyfalu pa beth a allai y pethau hyn fod; a chan guddio ei hwyneb â'i napcyn, hi a dorodd i wylo.

"O, missis, missis, peidiwch, peidiwch!" ebe Modryb Clöe, ac yna ymollyngodd hithau i lefain; torodd y plant i wylo; ac felly cydymdoddent, y feistres a'r caethion gorthrymedig, mewn cydymdeimlad calonddrylliog. "O, chwychwi" (medd Mrs Stowe yn y fan hon) "y rhai a arferwch ymweled â'r trallodedig, a wyddoch chwi nad ydyw pob peth a all eich arian bwrcasu, ac a roddir gyda chalon oer, ac wynebpryd difater, yn werth un deigryn gonest o wir gydymdeimlad?"

"Tomos, druan!" ebe Mrs. Shelby, "ni allaf roddi dim i chwi a fydd o un lles i chwi—pe rhoddwn arian i chwi, cymerid hwy oddiarnoch. Ond yr wyf yn tystio yn ddifrifol wrthych, ger bron Duw, y mynaf wybod i ba le y byddwch yn myned, ac y mynaf chwi yn ol mor gynted ag y gallaf gael arian i'ch pwrcasu—a hyd hyny, ymddiriedwch yn yr Arglwydd."

Ar hyn, dyna y plant yn gweiddi fod Mr. Haley yn dyfod.

"Pl—g ar i b—f—dd!" ebe F'Ewythr Robert; "mae o 'n fyw eto, ydi o? Mi 'r oeddwn i 'n gybeithio y base fo chwedi tori i wddw 'n rhwle, ne bod y ddyar chwedi i lyncyd o, na chlowswn i byth son am dano fo."

"Ust! ust!" ebe Modryb Elin.

"Hist, hist, yn wir!" ebe F'Ewythr Robert; "fedra i ddim tewi pen glowa i son am i enw fo. Mi well gin i 'r gŵr drwg na fo, waeth gin i tae o a'r gŵr drwg yn clowed; a 's na nei di adel llonydd i mi, mi helia i o, wel 'r ydw i 'n clowed ar y nghalon neyd. Mi 'r oeddet ti 'n darllen rhw salm bore ddoe, lle 'r oedd Dafydd yn myllditbio rhw ddynion 'r un fath a Harli 'n inion; a pham na cha ine neyd 'r un peth?"

"Dyna fel mae dynion yn gŵyrdroi 'r ysgrythyre," ebe Modryb Elin. "Yr oedd Dafydd, dan gyfarwyddyd yr Ysbryd Glân, yn cyhoeddi barnedigaethau Duw yn erbyn dynion drygionus, er rhybudd iddynt; dan lywodraeth rhyw ysbryd arall 'r ydach chi —ysbryd drwg—ysbryd ymddial—yn dymuno melldith a dialedd ar y dyn yna. Y rheol a rydd y Beibl i ni, ydyw, gweddïo tros y fath rai, ac nid eu melldithio. Felly y gorchymynodd, ac felly y gwnaeth Iesu Grist, *Mab* Dafydd; ac efe sydd i fod yn esiampl i ni."

"Neli!" ebe F'Ewythr Robert; "'tydw i ddim yn meddwl, er dy fod di 'n son am wddïo o hyd, o hyd, nad wyt tithau yn hel yn dy frest, cysled a fine. Be ydach chi 'n feddwl, Tomos?" ebe fe wrth Thomas Harris.

"Na wn i, 'n siwr ddigon," ebe Thomas. "Tase fo 'n digwydd tori 'i glun, ne rwbeth felly, faswn i ddim yn cwyno llawer iddo fo."

"'Rydach chi rhy drigarog o'r haner wrtho fo, Tomos bach. gewch chi glowed eto," ebe F'Ewythr Robert; a chan droi at James, ebe fe, "Mi ddeydist fod un o'r plant wedi 'i wel'd o 'n dwad at y tŷ, ond do? Wel, sut y fu?"

Wel, fe ruthrodd Haley i mewn i'r tŷ yn bur ddrwg ei dymher. ar ol y siomedigaeth a gawsai y dydd o'r blaen, o herwydd methu o hono ddal ei ysglyfaeth (Harri bach).

"Tyr'd, y niger," ebe fe wrth F'Ewythr Tomos, "a wyt ti 'n barod?" Ond pan welai Mrs. Shelby, efe a arafodd, a gwnaeth ymgrymiad iddi.

Yr oedd Modryb Clöe yn clymu cistan ddillad ei gŵr â chortyn. Cyfododd ei chefn i fyny, ac edrychodd ar Haley fel llewes; yr oedd ei dagrau megys pe buasent wedi troi yn farwor tanllyd ar eiliad.

Cyfodai Tomos i fyny yn addfwyn, i fyned i ganlyn ei feistr newydd. Cyfodai ei gistan ar ei ysgwyddau. Cymerodd ei wraig y baban bach ar ei breichiau i fyned i anfon y tad at y bedrolfen oedd yn disgwyl i'w gludo ymaith—dilynai y plant eraill ar eu hol dan lefain.

Cymerodd Mrs. Shelby Haley o'r neilldu am ychydig, i eiriol ei goreu gydag ef am dynerwch i F'Ewythr Tomos. Ymgasglodd yr holl dylwyth o gaethion perthynol i'r lle ynghyd, i ganu

yn iach i'w hen gydymaith. Edrychent oll i fyny arno ef fel y pen gwas, a'u dysgawdwr Cristionogol, a theimlent yn ddwys iawn ar ei ymadawiad, yn enwedig y merched.

"Yr ydych chwi yn dal yn well na ni, Clöe," ebe un o'r merched, yr hon oedd yn wylo yn ddwys, wrth weled fel yr oedd Clöe yn sefyll yn ddystaw-brudd wrth y bedrolfen.

"Dagre fi wedi darfod," ebe hi, gan edrych yn ddigofus at Haley, yr hwn oedd yn dyfod ymlaen tuag atynt. "Fi dim crïo o flaen yr hen *filen* acw, beth bynag."

"Dos i fewn!" ebe Haley wrth Tomos, ac felly efe a aeth; neidiodd Haley i fyny ar ei ol; a chan dynu allan bâr o gyffion trymion, efe a'u dododd am ei goesau, yr hyn a barai i bawb oedd yn y lle ruddfan mewn cydymdeimlad a digder.

Mrs. Shelby, yr hon oedd ychydig o'r neilldu, a waeddai—"Mr. Haley, yr wyf yn sicrhau i chwi nad oes dim anghen am hyn yna."

"'Dwn i ddim, madam," oedd yr ateb, "mi a gollais bum' can' dolar yn y lle yma eisioes; ac ni allaf fforddio rhedeg ychwaneg o antur."

"Be arall all'sech chi disgwil oddiwrtho fo!" ebe Modryb Clöe—tra yr oedd y ddau fachgen hynaf yn awr wedi deall rhywbeth o natur tynged eu tad, yn llefain ac yn gwaeddi yn druenus.

"Y mae yn ddrwg genyf," ebe Tomos, "nad ydyw George[1] ddim gartref."

Yr oedd George wedi myned oddicartref ar ymweliad â chyfaill ieuanc, nid ymhell o'r gymydogaeth. Aethai oddicartref cyn i'r ddrycin hon dori allan, ac ni wyddai eto ddim am dani.

"Cofiwch fi at George!" ebe Tomos, yn bur deimladol.

Ar hyn gyrai Haley ymaith, sefydlodd Tomos olwg drom alarus, a'r olwg ddiweddaf am byth iddo, ar ei gartref, lle yr oedd pob peth daearol anwyl ganddo, tra yr oedd yn cael ei olwynio ymaith oddiwrtho.

Gollyngodd Modryb Elin ochenaid drom ar hyn.

"O b'le doeth, ac i b'le 'raeth hon ene?" ebe F'Ewythr Robert, "dwi'n siwr tase ti 'n rhoid iaith iddi hi, mai helfa ar Harli oedd hi."

"Yr ydych chwi am fesur pawb wrth eich llathen eich hun, Robert," ebe Modryb Elin; "nid am Haley 'roeddwn i 'n meddwl 'rŵan, ond teimlwn fy nghalon yn gofidio tros F'Ewythr Tomos, a'i wraig, a'i blant; a cheisiwn ddymuno fod i'r Duw sydd yn noddfa i'r gorthrymedig yn amser trallod, fod yn noddfa ac

[1] Mab Mr. Shelby oedd George, yr hwn ydoedd yn neillduol o hoff o F'Ewythr Tomos.

yn gymhorth hawdd ei gael iddynt hwythau, os ydynt eto ar dir y byw."

"Neith dy w'ddio di ddim lles yn y byd mewn achos wel ene, 'n wir, Neli bach—coelia di fi!" ebe F'Ewythr Robert. "Be ydach chi 'n feddwl, Tomos?"

"Mi 'rydw i 'n meddwl cimin a hyn," ebe Thomas Harris, "na wnewch chi a mine les yn y byd drwy regi Haley hwnw a'i fath, beth bynag, ond yn hytrach drwg a niwed i ni ein hunain. Y mae y Beibl yn gorchymyn i ni 'gofio y rhai sy'n rhwym, fel pe byddem yn rhwym gyda hwynt;' a chan ei fod ef yn gorchymyn hyny i ni, wyddon ni ar y ddaear faint o les eill trueiniaid gael trwy 'n gweddiau ni, tae ni 'n gweddio 'n iawn. Mi fydda i, a deyd y gwir i chi, yn teimlo mwy o duedd i felldithio rhywrai fel Haley, nag fydda i 'n deimlo o duedd i weddïo tros rywrai fel F'Ewythr Tomos; ac y mae hyny yn profi i mi fod fy nghalon i 'n ddrwg."

"Tydw i ddim yn meddwl 'run fath a chi ar gyfri 'n y byd," ebe F'Ewythr Robert. "Mi fydda i 'n dymuno i ddynion drwg wel ene gael 'u cospid, wel yr haedden nhw, am 'u drygioni; a mi rydw i 'n styried bod hyny 'n profi bod gin i galon dda, gin y mod i 'n cysau dynion drwg."

"Mae 'n ddigon posib i'r naill ddyn drwg gasau y llall, Robert, druan," ebe Modryb Elin: "mi all dyn meddw gasau y dyn cybyddlyd, a dyn cybyddlyd gasau y dyn meddw, ac y mae y ddau yn ddynion drwg. Casineb at *bechod*—y *peth* drwg—ydyw y casineb a brofa fod y galon yn galon 'hawddgar a da;' ac fe feder y galon sydd yn casau *pechod* yn y dyn, dosturio a gweddïo tros y dyn sy'n byw ynddo fo, am iddo gael ei oleuo i weled ei ddrwg, a'i ddwyn i edifarhau o'i herwydd, ac nid yw byth yn dymuno melldith a dinystr ar y troseddwr, ond ei adael yn nwylaw yr hwn sy'n barnu yn gyfiawn. Ond yr ydan ni yn rhwystro i James fyned ymlaen."

"Os ydych chwi wedi setlo 'r pwnc, ni a awn ymlaen," ebe James:—

Dylaswn grybwyll fod Mr. Shelby wedi myned i roddi tro y boreu hwnw, er mwyn myned o'r golwg: yr oedd yn rhy galed i'w deimladau i edrych ar Tomos yn cael ei arwain ymaith fel ych i'r lladdfa. Ymresymai lawer âg ef ei hun y diwrnod hwnw; ceisiai berswadio ei gydwybod anesmwyth ei fod dan orfodaeth i wneyd fel y gwnaethai, a bod ganddo hawl i wneyd—bod llaweroedd eraill wedi gwneyd yr un peth, a bod llawer yn gwneyd yr un peth heb fod un orfodaeth yn eu gwasgu; ond ni allai yr holl ddadleuon hyny gyda'u gilydd esmwythau ei feddwl. Na! yr oedd yno rywbeth yn aros na ellid mo'i resymu na'i ddadleu ymaith; oedd, yr oedd gafaelion euogrwydd yn rhy dynion yn y gydwybod iddo allu eu dattod, ac ymryddhau oddiwrthynt.

Gwedi i Haley a Tomos fyned tua milltir o ffordd, yr oedd gefail gof o'u blaen: gyrodd Haley yn ei flaen ati, a safodd, a chan gymeryd pâr o gyffion allan, efe a aeth i mewn i'r efail i wneyd rhyw gyfnewidiad anghenrheidiol ynddynt. "Y mae y rhai hyn ychydig yn rhy gyfyng iddo ef acw," ebe Haley wrth y gof, gan gyfeirio at Tomos.

"Taid anwyl! os nad Tomos Mr. Shelby ydw i 'n wel'd!" ebe y gof, "does bosib ei fod wedi ei werthu o!"

"Do, fe ddarfu!" ebe Haley.

"Dydach chi ddim yn deyd! wel, mewn difri, pwy fase 'n meddwl! Ond beth bynag, rhaid i chi ddim i lyffetheirio fo fel hyn,—y cr'adur gore a'r ffyddlona ar y ddaear yma ydi o."

"Ië, ïe," ebe Haley, "ond y'ch cryduriaid da chi ydi rhai mwya tebig i redeg i ffwrdd. Nid ydi rhai styfnig o honyn nhw 'n gyfalu i b'le 'r elon nhw, na be ddaw o honyn nhw; a'r rhai difeddwl a meddal, nad ydynt yn gofalu am neb na dim, mi fydda nhw 'n llonydd, a gwell gynthyn nhw, o'r ddau, gael myn'd o gwmpas o fan i fan; ond y mae mor gas gin rai fel hwn beth felly a phechod. 'Does 'run ffordd efo nhw ond 'u llyffetheirio nhw; os ca nhw 'u traed yn rhyddion, mi na'n ddefnydd o honyn nhw, 'n siwr ddigon."

"Wel," ebe y gof, gan chwilio am ei arfau, "nid y planfeydd i lawr yr afon yna ydi y lle i negro o Kentucky i fyn'd, ai ê, y gŵr dyeithr; mae nhw 'n marw ono, no brysur, ond ydyn nhw?"

"Wel, ydyn y mae nhw 'n marw 'n lled fuan ono—rhwng yr hinsawdd a'r naill beth a'r llall, mae nhw 'n meirw fel ag i gadw y farchnad i fyny 'n lled brysur," ebe Haley.

"Wel, 'dall dyn lai na theimlo o'i galon," ebe y gof, "ei fod yn resyn o'r mwya' i weled dyn gwych a da fel Tomos yn myn'd i lawr i gael ei wasgud i'r llawr ar y planfeydd siwgr rheini."

"Wel, y mae o 'n sefyll eitha siawns; yr wyf wedi addaw gneyd y gore allwn iddo; mi edrychaf am le iddo 'n was tŷ, gyda rhyw deulu parchus; ac ono, os gall ddal y dwymyn a'r hinsawdd, mi gaiff cystal lle ag y galle unrhyw negro ddisgwyl."

"Y mae yn gadel ei wraig a'i blant ar 'i ol yma, debig?"

"Ydyw; ond mi geith wraig arall 'ninion—mae digon o ferched i'w cael y'mhob man," ebe Haley.

Eisteddai Tomos yn bruddaidd yn y Uedrolfen oedd gerllaw yr efail tra yr oedd yr ymddyddan hwn yn myned ymlaen. Yn ddisymwth efe a glywai sŵn traed ceffyl, ar drot cyflym, o'r tu ol iddo; a chyn iddo gael hamdden prin i edrych o'i gwmpas, pwy a neidiai i fyny ato ond George Shelby, mab ei hen feistr. Taflodd y gŵr ieuanc ei freichiau am ei wddf, a dechreuai wylo a llefain yn ddwys. "O!" meddai, "y mae hwn yn dro gwael; ni waeth genyf fi beth a ddywedant neb o honynt! Y mae dro isel, dirmygus, cywilyddus! Pe buaswn i wedi tyf

ddyn, ni chawsent wneyd hyn, na chawsent yn wir!" ebe George, gyda dagrau.

"O Misar George! y mae'n dda gen i eich gwel'd chi," ebe Tomos, "fi dim medru diodde myn'd i ffwrdd heb gwel'd chi! fo gneyd d'ioni mawr i fi, fi deyd i chi." Symudai Tomos ychydig ar ei draed, a chanfu George y llyffetheiriau.

"O g'wilydd!" ebe fe, "mi darawaf yr hen filen yna i lawr, mi 'naf hefyd!"

"Na newch, na newch, George, a rhaid i chwi beidio siarad mor uchel; bydde dim d'ioni i mi i digio fo."

"Wel, mi beidiaf ynte er eich mwyn chwi," ebe George, "ond meddwl am y fath beth yn awr,—onid ydyw yn gywilydd. Ni anfonasant ataf fi yr un gair, ac oni buasai i Tom Linon hysbysu y peth i mi, ni buaswn yn gwybod dim eto am dano. Yr wyf wedi ei rhoddi iddynt gartref, yn onest hefyd, bawb o honynt."

"Hyny dim yn iawn, fi 'n ofni, Misar George," ebe Tomos.

"Ni allaf wrtho," ebe y gŵr ieuanc, "y mae yn g'wilydd o beth, yr wyf yn dweyd eto! Edrychwch yma, F'Ewythr Tomos," ebe fe, gan droi ei gefn at yr efail, a chan siarad mewn llais dystaw, "yr wyf wedi dwyn fy nolar i chwi."

"O! fi dim gallu meddwl cym'ryd o," ebe F'Ewythr Tomos, "mewn un modd yn y byd!"

"Ond rhaid i chwi ei gymeryd," ebe George, "edrychwch chwi,—mi ddywedais wrth Modryb Clöe fy mod am ei roddi chwi, a hi a'm dysgodd i dori twll ynddo, a rhoi llinyn trwyddo, i chwi ei wisgo am eich gwddf, a'i gadw allan o'r golwg, neu fe fyddai yr adyn brwnt hwn yn sicr o'i gym'ryd oddiarnoch. Mae arnaf flys yn fy nghalon i roi scwrfa dda iddo."

"Na, peidiwch, Misar George, ni nae o dim d'ioni i fi."

"Wel, er eich mwyn chwi, mi a ymattaliaf," ebe George, gan rwymo y dolar am wddf F'Ewythr Tomos. "Dyna fo yn awr, eb efe "botymwch eich hugan yn dŷn am dano fo, a chofiwch bob tro yr edrychwch arno, y deuaf ar eich ol i ymofyn am danoch, ac i'ch cyrchu. Yr wyf fi a Modryb Clöe wedi bod yn siarad am y peth. Erchais iddi gym'ryd calon. Mi a boenaf fywyd fy nhad allan o hono, os na edrycha ef at hyn!"

"O! Misar George, peidiwch siarad fel ene am eich tad."

"O, F'Ewythr Tomos, nid oeddwn yn meddwl dim drwg."

"'Rwan, Misar George, chi bod yn bachgen da—cofiwch, chi 'n wrthrych serch llawer calon. Gnewch chi 'n fawr o'ch mam 'n wastad: chi gochel llwybre ffol llawer o fechgin sy'n myn'd 'n rhy fawr a rhy falch i barchu 'u mame. Fi deyd i chi beth, George, 'r Arglwydd yn rhoid llawer iawn o bethe da lawer gwaith trosodd, ond nid yw 'n rhoid mam ond unweth. Chi gweld byth 'run graig arall fel ych mam, Misar George, chi byw can' mlynedd. Felly 'rwan, chi cadw nagos ati hi, a thyfu i fyny i fod yn gysur iddi hi, machgen i;—oni newch chi?"

"Gwnaf, mi a wnaf," ebe George yn ddifrifol.

"Chi gyfadu be i siarad, Misar George. Gwŷr ifenc, pen do'n nhw ich oed chi, yn brysur weithie—mae 'n naturiol iddyn nhw bod felly; ond mae pob gwr byneddig iawn, fel fi gybeithio byddwch chi, byth yn deyd gair anmharchus wrth 'i rhieni. Ydach chi dim yn tramgwyddo, Misar George?"

"Nac wyf, yn wir, F'Ewythr Tomos: yr ydych yn rhoddi cynghorion da i mi bob amser."

"Fi 'n hynach na chi, wyddoch," ebe Tomos, gan dynu ei law dros ben y bachgen, yn y modd mwyaf serchus. "O, Misar George," ebe fe, "Chi 'n meddu pob peth—dysg, gwbodaeth, mynteision, darllen, 'sfenu; a chi dyfwch i fyny 'n ddyn mawr, 'sgedig, a rhinweddol; a mi fydd ych tad a'ch mam, a phawb yn y lle, mor falch o honoch chi. Byddwch ddyn da, Misar George, fel ych tad; a byddwch Gristion fel ych mam. Cofiwch ych Creawdwr yn nyddie y'ch ienctid, Misar George."

"Mi a ymdrechaf i fod yn wir dda," ebe George; "a pheidiwch chwi a digaloni, mi a fynaf eich cael yn ol eto, fely dywedais wrth Modryb Clöe boreu heddyw. Mi adeiladaf dŷ newydd i chwi; a mi gewch barlwr a charbed drosto fo, pan dyfaf i fyny yn ddyn—O, mae amser da o'ch blaen eto!"

Ar hyn, daeth Haley allan o'r efail, a'r cyffion yn ei law.

"Gwrandewch air, syr," ebe George wrtho, yn awdurdodol, "Mi a roddaf wybod i nhad a'm mam pa fodd yr ydych yn trin F'Ewythr Tomos."

"Mae i chwi roesaw," ebe Haley.

"Mi a fuaswn yn dysgwyl y buasai cywilydd arnoch i dreulio eich holl oes i brynu gwŷr a gwragedd, a'u cadwyno fel anifeiliaid;—rhaid i chwi ffieiddio eich hunan, dybiwn i," ebe George.

"'Cyd ag b'och bonddigion yn foddlon i brynu gwŷr a gwragedd, rydw i cystal a nhwthe," ebe Haley: "tydi 'u gwerthu ddim gwaeth a mwy cwilyddus nag ydi 'u prynu nhw."

"Ni wnaf fi byth y naill neu 'r llall, pan ddof yn ddyn," ebe George. "Mae arnaf gywilydd heddyw fy mod yn perthyn i Kentucky. Yr oeddwn yn falch o hyny bob amser o'r blaen," ebe George, gan ymsythu yn ei wrthaflau, fel pe buasai yn dysgwyl y buasai i'w eiriau effeithio ar yr holl dalaeth.

"Wel, byddwch wych, F'Ewythr Tomos; cedwch ddor eich gwefusau yn ofalus," ebe George.

"Ffarwel, Misar George," ebe Tomos, gan edrych yn serchog arno; "Duw Hollalluog a'ch bendithio! Ha! does ond 'chydig o'ch bath chwi yn Kentucky," ebe fe wrtho ei hun, fel yr oedd George yn troi ei gefn i fyned ymaith.

Cadwai F'Fwythr Tomos ei olwg arno hyd nes oedd sŵn troediad ei farch yn marw ymaith o glyw—y swn a'r olwg ddiweddaf o'i gartref iddo. Ond cyferbyn â'i galon yr oedd megys

un llecyn cynhes, lle y rhoddasai dwylaw tyner-garedig ei gyfaill ieuanc y *dollar* gwerthfawr hwnw. Gosododd Tomos ei law arno, a gwasgodd ef i'w fynwes.

"Mi ddeyda iti beth 'rwan, Tomos," ebe Haley, fel y dringai i fyny ato i'r bedrolfen, "yr wyf yn meddwl gneyd yn dda â thi, fel y bydda i 'n arfer gneyd â fy *niggers;* a mi ddeyda i ti 'rwan i ddechre—delia di 'n deg â fi, a mi ddelia ine 'n dda â thithe: fydda i byth yn galed wrth fy *niggers*, ond yn wastad yn gneyd ore galla i â nhw. 'Rwan, wel'd di, peth gore i ti fydd bod yn ufudd, a pheidio arfer dim tricie; mi rydw i i fyny â bob tricie fyddwch chi, y *niggers*, yn chware; a dydi o ddim dyben yn y byd iddyn nhw geisio myn'd trosta i. Os byddan nhw 'n llonydd, a pheidio ceisio rhedeg i ffwrdd; mi gan driniaeth dda gin i; ac os na fyddan nhw, wel, arnyn nhw bydd y bai, ac nid arna i."

Sicrhaodd Tomos iddo nad oedd ganddo un bwriad y pryd hwn i redeg ymaith.

Yr oedd y fath annogaethau yn ymddangos yn hollol afreidiol ddyn ag oedd wedi ei lwytho â heiyrn trymion. Ond felly yr arferai Haley gyfarch ei gaeth brynedigion bob amser, i geisio ennill eu hyder, a chodi eu dysgwyliadau, fel na chaffai boen a thrafferth drwy iddynt geisio dianc oddiarno.

"A dyna fel y rhaid i ni eu gadael am heno," ebe James. "Yr wyf yn gwel'd fy nhad yn anesmwyth am gychwyn adref er's meityn; ac mae arnaf ofn eich bod chwithau wedi blino, F'Ewythr Robert a Modryb Elin."

"Nag ydw i, 'n siwr, ddim wedi blino," ebe F'Ewythr Robert; "mi fedrwn i wrando arnat ti tan y bore glas, 'ran hyny; ond mi rydw i 'n synud atoch chi bod ag un, na chytunech chi â fi i felldithio 'r Harli hwnw. Mi glowis i Neli yma 'n darllen hanes rhw hen ddyn yn y 'Trythodydd'—Siencyn Benhydd oedd gelwir o, dwi 'n meddwl—hen ddyn diwiol iawn oedd o, ddyliwn i. Mi fydde hwnw 'n deydyd rhw bethe ofnadwy, ac yn arfer cyfreth y pastwn i drin rhw gyrduried anstowallt, ac yn 'u chrynud nhw i farwolaeth agos;—tase 'rhen Siencyn yma, mi fase fo 'n taro hefo fi, mi gwranta i o—be ddyliech chi, Tomos?"

"Wel, yn wir, toes gin i ddim i'w ddeyd am hyny," ebe Tomos Harris; "ond hyn, mi faswn i 'n leicio 'n burion ych gwel'd chi a Siencyn wedi cael gafel ynddo fo, a throi 'n i ben o ych dau; a faswn i byth 'n cymryd i barti fo, tasech chi 'n 'i hanner ladd o."

"Dim perig yn y byd am hyny," ebe Cati; "mi ddyliech wrth glowed F'Ewythr yn siarad, mai 'r dyn mwya' myleinig tan haul ydio; ond siarad ydi 'r cwbwl—un meddalgalon iawn ydio."

"Welis di mona i chwedi digio wrth neb 'rioed wel rydw i chwedi digio wrth 'r hen borthmon dynion hwnw."

"Mi gwelis chi wedi digio wrth 'r hen borthmon gwartheg hwnw o Drawsfynydd brynodd y ddau fustach coch rheini gynoch chi, ac y torodd i fyny cyn talu am danyn nhw, ys talwm—a mi ddaruch chi gymryd y ffon fawr ene yn ych llaw i fynd i ffair y Bala i'w guro fo, meddech chi, os caech chi afel arno fo, —a phwy oedd yn bene ffrindie yn y ffair ond y chi ac ynte, wedi hyny."

"Ond mi ddaru F'Ewyrth fwgwth i guro fo," meddai Jacki; "'roeddwn i yn y fan a'r lle; a mi fase wedi gneyd hefyd, ond fel daru 'r llall fegio i bardwn o."

"Iä, bwgwth," ebe Cati; "yn ddaru o fwgwth dy guro dithe lawer gwaith—'naeth o ddim eto."

"Wel, dene ddigon," ebe F'Ewythr Robert; "'rwyt ti a dy Fodryb wedi taflud stori 'rhen borthmon ene ar drawst y nannedd i ni wni sawl gwaith bellach, Cati.—Ond druan o F'Ewythr Tomos, beth bynag! Rhaid i'r galon fedro wrando hanes wel ene 'n ddideimlad fod yn gletach na 'nghalon i—mi alla ddeydyd hyny. Faswn i 'n y myw yn dal; mi roeddwn i wel taswn i 'n 'u gweld nhw, y pethe gwrion. Ond wn i ar ddyar sut 'roedd F'Ewyrth Tomos yn gallud dal wel 'roedd o—rhw ddyn rhyfedd iawn oedd o."

"Yr oedd F'Ewythr Tomos yn Gristion," ebe Modryb Elin, —"a dyna 'r dirgelwch. Nid y peth oedd ynddo fo fel dyn, ond y peth oedd ynddo fel Cristion, oedd yn ei gynnal dan y brofedigaeth chwerw. Mae dysg a dygiad da i fyny yn harddu llawer ar foesau dynion oddi allan, ond rhowch chwi rheini yn mhair profedigaeth, mi doddith y paent i ffwrdd, a mi ddon' nhwthe i'r golwg, y peth ydyn nhw mewn gwirionedd. Nid un â phaent ar ei wyneb, ond un â phuredd yn ei galon, oedd F'Ewyrth Tomos, fel Daniel gynt. Yr oedd o 'n gloewi o hyd, po poetha fyddai gwres y brofedigaeth. Pwy, wrth edrych ar y ddau (Haley ac yntau), na fuasai 'n fil o weithiau'n well ganddo fo fod yn lle y Cristion tlawd diniwed oedd yn y cyffion, yn cael ei arwain fel ych i'r farchnad i'w werthu, nag yn lle yr adyn drygionus oedd yn ei arwain ymaith. Y mae yn beth ofnadwy i feddwl am yr euogrwydd sydd yn gorwedd ar ddynion o'r fath ag sydd yn masnachu cyrff ac eneidiau, a brynodd Mab Duw â'i briod waed, ac a wnaeth yr Ysbryd Glân yn demlau iddo ef ei hun. 'Pan ymofyno efe am waed, efe a'u cofia hwynt. Canys nid anghofir y tlawd byth—gobaith y trueiniaid ni chollir byth.' 'A chyfiawn yw ger bron Duw, dalu cystudd i'r rhai sy'n cystuddio ei bobl ef.'"

"Ydyw, y mae yn gysur cofio, wrth edrych ar bethau fel hyn, fod barn a byd arall i unioni pethau," ebe Tomos Harris.

"Yn wir y mae!" ebe F'Ewythr Robert. "Mae pethe ceimion enbydus yn y byd yma, beth bynag; ond ni ddylis i 'rioed tan

o fewn 'chydig ddyddie yma, fod pethe mor geimion yntho fo, na bod yn bosib i gryduried ar lun dynion fynd yn stwilod mor greulon."

"Wel dowch adref bellach, nhad," ebe James; "mae hi yn myn'd yn llawer o'r nos—fe fydd mam acw yn anniddig."

"Dowch yma eto nos yforu, Tomos bach," ebe F'Ewythr Robert; a dowch â Marged efo chi, yn gypeini i'r hen wraig yma—mae hi 'n hirnos gaia 'rwan: ni gawn wrando ac ymgomio."

Eiliodd Modryb Elin y gwahoddiad i Marged Harris, ac erfyniai i'r ddau ddyfod erbyn tê; yna canasant yn iach i'w gilydd am y noson hono.

---

## NOSON X.

DAETH Thomas a Margaret Harris i'r Hafod y prydnawn nesaf yn gynnar, yn ol y gwahoddiad, a mawr oedd y ddarpariaeth i'w croesawu. Dodid tanllwyth o dân yn y parlwr, a gorchymynai F'Ewythr Robert i Cati wneyd bara suddgerch, ac i Modryb Elin wneyd tê *"wel y galle y llwy sefyllt ar .i phen yn y gwpan."*

"Caban F'Ewythr Tomos" oedd prif destun yr ymddyddan ar gyfeddach y tê. Yr oedd Mrs. Harris yn wraig synwyrol a deallus; cawsai ysgol dda yn ei hieuenctid. Yr oedd hi wedi darllen a chwilio y "Caban" trwyddo; ac yn hysbys o bob cell o hono. Wrth wrandaw ar ei nodiadau, sylwai F'Ewythr Robert, mai bachgen ei fam oedd James.

"'Rydach chi gin galled a nhwthe," ebe fe, "ond y mae nhw 'n gwbod mwy na chi."

"Mae nhw 'n cael mwy o amser i ddarllen a chwilio na fi," ebe Thomas Harris; "rhaid i mi edrych ar ol yr hen fyd yma, ne mi 'drychith o ar f' ol i; ni waeth gen Jemi a'i fam tae nhw heb neyd dim ond darllen."

"'Rydach chithe 'n myn'd yn rhy bell, Tomos," ebe Modryb Elin. "'Does un wraig yn y wlad yma well at ei byfolieth na Marged. Mi ddylech chwi ei chamol hi, beth bynag."

"Wel, ydi 'n wir, chware teg iddi hi; mi fydda i yn 'i chamol ai yn 'i chefn, bob amser."

Aeth y tê drosodd mewn ymddyddanion diniwed o'r fath hyn; ac erbyn yr awr benodol, yr oedd James Harris yno yn barod i fyned ymlaen â'i adroddiad.

"Gawn ni dipin chwaneg o hanes F'Ewyrth Tomos gin ti heno?" gofynai F'Ewythr Robert.

"Cewch," ebe James, "ac o hanes eich hen ffrind, Haley, hefyd."

"Tydi o ddim yn ffrind i mi, na neb o'i ffasiwn o!"

Wel, fe ddarfu i ni adael Haley a F'Ewythr Tomos, neithiwr ar y ffordd yn teithio ymlaen, yn ddau pur wahanol eu sefyllfaoedd a'u hamgylchiadau. Pe cynnygiasid i'r naill a'r llall newid sefyllfaoedd â'u gilydd, ni chymerasai yr un o honynt lawer iawn ar y fargen. Buasai yn chwith iawn gan y masnachwr feddwl bod am fynyd yn nghyflwr y caethwas, ac ni fynasai y caethwas, yntau, er mil o fydoedd fod yn nghyflwr a sefyllfa y masnachwr.

Desgrifia yr hanes wahanol agweddau a gweithrediadau meddwl y ddau, fel yr eisteddent yn ymyl eu gilydd, tra y trotiai y fen ar hyd y ffordd.

Yr oedd meddwl Haley ar ei fasnach—faint o bris a allasai gael am Tomos, os gallai ei gadw mewn cywair da erbyn myned âg ef i'w ddangos i'r farchnad—meddyliai pa fath ddynion a merched a fyddai goreu iddo ef brynu i wneyd elw o honynt—ac am ansawdd y farchnad, a phethau cyffelyb. Yna meddyliai pa mor ddyngarol a thirion oedd efe, mewn cymhariaeth i eraill, y rhai a gadwynent draed a dwylaw eu negroaid, tra nad oedd efe ond dodi llyffetheiriau ar eu traed yn unig. Yr oedd yn gadael dwylaw Tomos yn rhyddion, tra y byddai efe yn ymddwyn yn dawel. Ac yna gofidiai wrth feddwl pa mor anniolchgar oedd y natur ddynol. Yr oedd yn ammhëus iawn pa un a oedd Tomos yn gweled ac yn teimlo ei rwymedigaethau iddo am ei drugarogrwydd ai peidio. Yr oedd ei dynerwch wedi costio 'n ddrud iddo lawer gwaith, drwy i'r *niggers* gymeryd mantais arno, ac yr oedd yn synu ato ei hun mor hynaws a thosturiol ydoedd wedi y cwbl.

"Felly 'n wir! O! 'r anwyl ine! dene hi! dene 'r peth anhawsa 'i ddiodde o'r cwbwl eto!" ebe F'Ewythr Robert. "Mae hwna 'n waeth na'r ——, yn siwr i chi, ond fod o 'n fwy o ffŵl na fo."

Wel, yr oedd Tomos, yntau, yn dystaw-fyfyrio ar ryw ymadroddion a ddysgasai allan o hen lyfr, allan o'r ffasiwn gan lawer, y rhai a redent trwy ei feddwl drachefn a thrachefn—y fath ymadroddion a'r rhai hyn—"Nid oes i ni yma ddinas barhaus, ond un i ddyfod yr ydym ni yn ei dysgwyl. O herwydd paham, nid cywilydd gan Dduw ei alw yn Dduw iddynt hwy, canys efe a barotodd ddinas iddynt." Geiriau o'r fath hyn, allan o hen lyfr, a gyfansoddwyd, gan mwyaf, fel y dywed rhywrai, gan ddynion anwybodus ac anllythyrenog, ydynt, rywfodd neu gilydd, bob amser, wedi cael rhyw ddylanwad effeithiol iawn ar feddyliau trueiniaid syml a thlodion fel Tomos. Y maent yn cyrhaedd hyd waelodion yr enaid, ac yn codi i fyny oddiyno fel âg udgorn floedd, wrolfrydedd a nerth, egni a diysgogrwydd meddwl, dan amgylchiadau a dueddent i lethu y galon i lawr i dywyllwch ac anobaith.

"O! geiriau dy lyfr di oedd y rhai ene, Neli," ebe F'Ewythr Robert; "mi 'rydw i 'n 'u nhabod nhw 'n eitha da: ond oeddet ti 'n 'u darllen nhw rw nosweth yma."

"Ië, ïe, yr hen lyfr!" ebe Modryb Elin; "hen lyfr rhyfedd iawn ydi o—yn hen heb heneiddio dim byth; mae fel tae o 'n dyfod yn newydd spon o'r nefoedd bob dydd. Fe ellir deyd am dano fo fel y dwedodd Dafydd am gleddyf Golia, 'Nid oes mo fath hwnw.' A dim rhyfedd chwaith—llyfr Duw ydi o, a mae rhywbeth dwyfol yn dwad trwyddo fo i'r enaid sy 'n ei gredu o; a'r rhywbeth hwnw oedd yn llenwi enaid Tomos druan â thawelwch a dyddanwch, yn nghanol ei drallod blin. Y fo oedd y gŵr rhydd mewn gwirionedd, er bod ei draed yn y cyffion. Yr oedd o yn 'gwybod y gwirionedd, ac yr oedd y gwirionedd yn ei ryddhau o.' A Haley oedd y caethwas; er fod ei draed a'i ddwylaw yn rhyddion, yr oedd ei galon a'i gyflwr yn gaeth yn rhwymau diafol a phechod."

"Yr oeddwn i 'n sylwi ar un gair yn yr hanes, ac mi sylwais arno o'r blaen wrth ddarllen y llyfr yna, dro yn ol," ebe Mrs. Harris, "lle mae hi'n deyd mai *hen lyfr allan o'r ffasiwn* ydyw 'r Beibl. Yr oeddwn i yn meddwl na fydd byth drefn ar y byd yma, nes y daw yr hen lyfr i'r ffasiwn—nes y daw ei egwyddorion o i gael y llywodraeth ar galonau a bucheddau dynion; a phe base y Beibl yn y ffasiwn yn America, ni fase dim son am y fath ffasiwn ofnadwy a phrynu a gwerthu dynion yno."

"Na fydde, fawr," ebe Modryb Elin; "ac mi fyddai golwg arall ar ffasiwn ein gwlad ninnau mewn llawer o bethau, pe cae 'r Beibl y parch a'r ufudd-dod a ddylai gael. Mae llaweroedd wedi dysgu 'r ffasiwn o ddarllen y Beibl, a phroffesu parch iddo fo, nad ydyn nhw 'n dangos dim o hyny yn eu bucheddau. Mi all y Beibl ddeyd eto wrth filoedd fel y deydodd i Awdwr o gynt—'Paham yr ydych yn fy ngalw i Arglwydd, Arglwydd, ac nid ydych yn gwneyd y pethau yr wyf yn eu gorchymyn i chwi?'"

"Rhaid i ni gael gynthoch chi dewi ych dwy, rŵan, i gael i James fyn'd ymlaen," ebe F'Ewythr Robert. "Dyma wel y mae Neli 'n wastad, ys dychreuith hi son am y Beibl, thewith hi byth yn dragowydd."

"Na naf, gobeithio, na thawa i byth yn dragywydd, â son am y Beibl—a diolch am dano fo," ebe Modryb Elin. "Y gwirionedd sydd yn aros ynom ni, ac a fydd gyda ni yn dragywydd."

"Wel, taw rŵan, am dipin bach, 'nte," ebe F'Ewythr Robert. "Wel, ïe, Tomos a'r hen lyfr oedd gin ti, pen ddaru ni dorid ar dy drawst di—dos di mlaen."

Wel, fel yr oedd Tomos yn troi geiriau yr hen lyfr yn ei feddwl, fe dynodd Haley, yntau, ei lyfr allan, sef papyrau newyddion, i'w ddarllen. Darllenwr pur drwsgl oedd Haley, ac fel darllenwyr trwsglion yn gyffredin, efe a rugnai dros ei wers ar

lafar, fel y caffai yr hyfrydwch o'i glywed ei hunan. Yr hyn a ddarllenai y tro hwn oedd yr hysbysiad a ganlyn:—

"ARWERTHIAD CYMUNWEINYDD.—NEGROAID!

Yn unol âg archiad y llys, fe werthir, dydd Mawrth, Chwefror 20, o flaen drws y Llysdy, yn nhref Washington, Kentucky, y negroaid canlynol:—Hagar, oed 60; John, oed 30; Ben, oed 21; Saul, oed 25; Albert, oed 14. Fe eu gwerthir er elw echwynwyr ac etifeddion ystâd Jesse Blutchford, Ysw.

SAMUEL MORRIS,
THOMAS FLINT."

"Samwel Morris! Samwel Morris!" ebe F'Ewythr Robert; "dene Gymro, cin sicred a'r byd mawr! Ydach chi 'n cofio, Tomos, am fab Wmffre Morris, o'r Tŷ C——, aeth i'r 'Merica, rw bymtheg ne igen mlynedd 'n ol yma? Sam, dwi'n meddwl yn siwr, oedd gelwid o—ddalia i chi fotwm mai hwnw ydi o, delw i o'r fan yma. Tae o 'n dwad trosodd yma, ac i mi gael gafel yntho fo, mi rown iddo fo cystal prancins ag y gafodd o es talwm."

"Mae 'n go gin i am dano fo," ebe Thomas Harris, "ond dydw i ddim yn coelio, rwsut, mai fo ydi hwnyna."

"Hwrach nat ê," ebe F'Ewythr Robert, "mi 'roedd enw ffit iawn ar y llall hwnw, Tomos Fflint ddeydist ti, 'nte? Rhaid fod calon o fflint gin y dyn feder roid i enw wrth y fath beth. Gwyn fyd na fase 'r hen borthmon hwnw yn y fan a'r lle, i boeri slomied o 'baco am ben y papyr, a Harli hefyd. Ond py sut y fu chwedyn, Jemi?"

"Rhaid i mi edrych at hwn," ebe Haley wrth Tomos, gan nad oedd ganddo neb arall i siarad âg ef. "'Rwyf fi am gael *lot* dda o honyn nhw, 'rwyt ti 'n gwel'd, i'w cym'ryd i lawr gyda thi; mi fydd yn fwy difyr a phleserus i gael cwmpeini da. Rhaid i ni yru i Washington rhag blaen, yn gynta peth, a mi rho i di yn y carchar, tra byddw i 'n gneyd y busnes."

Derbyniodd Tomos y newydd hwn yn dawel, ond dystaw ddyfalai ynddo ei hun, pa nifer o'r trueiniaid diofrydedig hyny oedd yn meddu gwragedd a phlant, a pha un a deimlent wrth ymadael â hwy fel y teimlai efe. Gellid meddwl nad derbyniol iawn oedd y newydd ei fod i gael ei daflu i garchar, iddo—yr oedd yn beth chwithig iawn iddo i feddwl am hyn, gan fod ei gydwybod yn dwyn tystiolaeth ddarfod iddo, bob amser, arwain bywyd gonest a diniwed. Ac yr oedd Tomos, druan, rhaid addef, yn falch o'i onestrwydd, ac nid oedd ganddo fawr o ddim arall i ymfalchïo ynddo. Fodd bynag, cyrhaeddasant Washington tua 'r hwyr; a lletyodd Haley yn y dafarn, a Tomos yn y carchar, y noson hòno.

"Tuag un ar ddeg o'r gloch, dranoeth, ymgasglai torf gymysg o amgylch y llysdy;—rhai yn mygu tybacco, eraill yn ei gnoi

—rhai yn poeri, yn rhegi, yn ymddyddan, yn ol eu gwahanol arferion a'u tueddiadau—i aros i'r arwerthiad ddechreu.

Eisteddai y gwŷr a'r gwragedd oedd i gael eu gwerthu ar eu penau eu hunain, o'r neilldu, gan ymddyddan â'u gilydd mewn llais isel. Y wraig, a hysbysid wrth yr enw Hagar, oedd Affricanes drwyadl mewn lliw a llun. Yr oedd golwg hynach na thriugain arni, o herwydd y caledwaith y daethai trwyddo, a'r driniaeth a oddefasai. Yr oedd ei golwg wedi pallu yn fawr, ac yn gloff o'r crydcymalau. Wrth ei hochr, safai yr unig blentyn a adewsid iddi, ei mab Albert—bachgenyn bywiog, hoew, pedair ar ddeg oed. Buasai iddi lawer o blant, ond gwerthasid hwy oll oddiwrthi ond hwn. Ymaflai y fam ynddo â'i dwy law grynedig, ac edrychai gyda phryder angerddol ar bob un a ddelai heibio i daflu golwg arno.

"Peidiwch ofni, modryb Hagar," ebe yr hynaf o'r dynion oedd i'w gwerthu wrthi—"'r wyf wedi bod yn siarad â Mr. Thomas yn eich cylch, ac y mae ef yn meddwl y gall eich gwerthu 'n *lot* eich dau gyda'ch gilydd."

"Rhaid nhw dim ofni fi wedi ngweithio allan eto," ebe hi, gan godi ei dwylaw crynedig. "Fi gallu coginio eto, a rhwbio a sewrio—fi gwerth y mhrynu am bris isel—chi deyd hyny wrthyn nhw—chi deyd," ebe hi drachefn.

Ar hyn, deuai Haley ymlaen at y *lot*. Aeth at yr hen ddyn, a gwnaeth iddo agor ei enau, er iddo edrych ei ddannedd, a gwnaeth iddo ymsythu, ymblygu, a myned trwy lawer o ystumiau, er profi ei nerth a'i ystwythder. Yna, äi ymlaen at y nesaf, gan wneyd yr un modd. O'r diwedd, deuai at y bachgen, a theimlai ei ddwylaw a'i freichiau, ac edrychai ei fysedd, a pharai iddo redeg a neidio, i ddangos ei fywiogrwydd.

"Fo dim i gael 'i werthu heb y fi," ebe yr hen wraig, gyda theimlad cynhyrfus. "Fo a fi 'n *lot* efo 'n gilidd—fi 'n gre eto, misar, a fi gallu gneyd llawer iawn o waith—llawer iawn, misar."

"Gwaith allan?" ebe Haley, gyda golwg ddirmygus. "Stori bur debyg, yn wir!" Ac fel wedi boddloni ei hunan ar y prawf a wnaethai, efe a aeth allan, a safai â'i ddwylaw yn ei logellau, a'i *cigar* yn ei ben, a'i het ar ochr ei goryn, yn barod i'w orchwyl.

"Beth ydych yn feddwl o honynt," ebe dyn oedd wedi bod gyda Haley yn edrych yr eiddo.

"Wel," ebe Haley, gan boeri, "mi a gynnygiaf ar y rhai ieuangaf, a'r bachgen, yr wyf yn meddwl."

"Y maent am werthu y bachgen a'r hen wraig gyda'u gilydd," ebe y dyn.

"Mi cân hi 'n waith caled—tydi hi ond swp o esgyrn, a dim gwerth 'i halen."

"Phrynech chwi mo honi, ynte?"

"Ffwl fyddai 'r neb a wnelai 'r fath beth—y mae hi 'n hanner dall, yn grydcymalau trwyddi, ac yn ffolog gyda hyny."

"Y mae rhai 'n prynu hen gryduried fel hyn, weithia, ac mae nhw 'n troi allan yn wydnach na fase neb yn feddwl," ebe y dyn.

"Dim gwiw son!" ebe Haley. "Ni chymerwn i moni hi tae nhw 'n gneyd anrheg o honi hi, yn wir—rwy'n gwel'd rŵan."

"Wel," ebe y llall, "mae 'n resyn, rŵan, i beidio 'i phrynu hi efo 'r bachgen, mae 'i chalon hi gimin arno fo;—mi gwerthan hi am 'chydig bach."

"Mi nae 'r tro 'n burion i'r rhai sy gynthyn nhw ddigon o arian i'w taflu ffordd hòno," ebe Haley. "Mi gynnygiaf ar y bachgen at waith y planfeydd; ond fynwn i ddim byd i'w neyd â hi, ffordd yn y byd, pe bae nhw yn 'i rhoi hi am ddim i mi."

"Mi gyll arni 'i hun," ebe y dyn.

"Digon tebyg!" ebe Haley, yn ddigyffro.

Torid ar yr ymddyddan ar hyn gan gyffro yn mysg y lliaws, a dyna yr arwerthwr—dyn byr, prysur, ac awdurdodol ei agwedd —yn dyfod ymlaen. Daliai 'r hen wraig ei hanadl, ac ymaflai yn dŷn yn ei bachgen.

"Cadw 'n agos at dy fam, Albert—nhw 'n rhoid ni fyny efo 'n gilidd," ebe hi.

"O! mam! fi ofn gna nhw dim!" ebe y bachgen.

"Rhaid nhw gneyd, blentyn," ebe y fam; "fi dim medrud byw, sut yn y byd, os nhw dim gneyd!"

Cyhoeddai llais awdurdodol yr arwerthwr, ar hyn, fod y gwerthiant i ddechreu. Gwnaed lle rhydd, a dechreuodd y cynnyg. Gwerthid y dynion oedd ar y rhestr yn bur fuan, ac am brisiau da, yr hyn a ddangosai fod gofyn prysur yn y farchnad. Syrthiodd dau o honynt i ran Haley.

"Tyr'd dithe, 'rŵan, y gŵr bach," ebe yr arwerthwr wrth y bachgen, gan ei gyffwrdd â'i forthwyl, "sa i fyny, a dangos dy hun."

"Rhowch ni i fyny efo'n gilydd—gwnewch, misar, gwnewch!" ebe yr hen wraig, gan ymaflyd yn dŷn yn y bachgen.

"Sefwch draw!" ebe y dyn yn sarug, gan ei gwthio ymaith, "'n ola' 'rydach chwi i ddwad ymlaen."

"'Rŵan, y gŵr du bach, naid i fyny," ebe fe, gan wthio y bachgen tuag at y blocyn, tra y clywid yr ochenaid ddofnaf o'r tu ol iddo. Edrychodd y bachgen yn ol, ond nid oedd amser i aros, a chan sychu y dagrau oddiwrth ei lygaid mawrion dysglaer, yr oedd i fyny ar y blocyn mewn eiliad. Cododd yr olwg ar ei osgedd hardd, ei aelodau lluniaidd, ei wynebpryd bywiog, gydymgais dioed; cyrhaeddai hanner dwsin o gynnygion glust yr arwerthwr ar unwaith. Edrychai y plentyn yn bryderus a dychrynedig o'i amgylch, fel y clywai sŵn y cynnygion cydymgeisiol—un oddiyma, a'r llall oddidraw, hyd oni ddisgynodd y

morthwyl i'w daro i fyny i Haley. Gwthid ef oddiar y blocyn i'w feistr newydd; safai am foment, ac edrychai yn ol, pan welai ei hen fam, druan, yn crynu i gyd trosti, ac yn estyn ei dwylaw ysgwydedig tuag ato.

"Prynwch fi hefyd, misar, er mwyn yr Arglwydd anwyl! prynwch fi, ne mi fydda farw!"

"Mi fyddwch farw cyn y gna i—dene 'r gwir!" ebe Haley. "Na!" ac efe a drodd ar ei sawdl.

"Gwerthwyd yr hen wreigan am ychydig, i'r gŵr a fuasai yn ymddyddan â Haley, yr hwn nid oedd yn gwbl amddifad o dynerwch teimlad, yna dechreuai y lliaws ymwasgaru.

Ymgasglai y trueiniaid a werthasid, y rhai a fuasent fel teulu gyda'u gilydd yn yr un lle dros lawer o flyneddau, o amgylch yr hen fam adfydus, yr hon yr oedd ei thrallod a'i gofid yn resynus i'w ganfod.

"Dalle nhw dim gadel un i mi? Misar deyd bob amser y cowswn i un," ebe hi drosodd a throsodd drachefn, a'i chalon ar dori.

"Gobeithiwch yn yr Arglwydd, Modryb Hagar," ebe yr hynaf o'r dynion, mewn tôn alarus.

"Pw 'r les neith o!" atebai hithau, mewn wylofain.

"Mam, mam, peidiwch! peidiwch!" ebe y bachgen, "nhw 'n deyd mi cael misar da."

"Fi dim gyfalu—dim gyfalu. O Albert! O fy machgen! Fy mhlentyn ola'! Arglwydd, sut y galla i!"

"Dowch, cymrwch hi i ffwrdd, rai o honoch," ebe Haley yn sychlyd, "neith o ddim d'ioni iddi fyn'd ymlaen fel yna."

Cymerid hi ymaith, mewn rhan drwy orthrech a thrwy berswadio, a cheisient yn ofer ei chysuro fel yr arweinient hi at bedrolfen ei meistr newydd.

Cymerodd Haley ei eiddo ymaith—y tri a brynasai—a dododd gyffion ar eu dwylaw, a chadwynodd hwy ynghyd, a gyrodd hwy o'i flaen i'r carchar, i aros i'r cwch i hwylio i lawr yr afon Ohio.

"Wele, bobol anwyl!" ebe F'Ewythr Robert, dan godi ei ddwylaw, "glowsoch chi 'rioed fath bethe! fedra i ddim coelio nad ydi'r bobol ene 'n waeth na'r 'sprydion drwg, sydyn nhw 'n cael y gwir, a debic cin i nad ydi 'r ddynes ddim chwedi dyfeisio nhw."

"Nac ydyw, ysywaeth, F'Ewythr Robert," ebe James, "nid yw'r cwbl ond desgrifiad gwan o olygfeydd a welir yn feunyddiol yn Washington a New Orleans, a phob tref arall lle y cynnelir marchnad dynion ynddi."

"Wel, wel, yn boeth yr elo 'u trefi nhw, medda i, o nghalon hefyd!"

"Yn wir, mi glown ine ar y nghalon ddeyd Amen," ebe Thomas Harris.

"O na base 'r hen Lias yn y byd 'rŵan i dynud tân o'r nefoedd yn 'u pene nhw!" ebe F'ewythr Robert.

"Cofiwch am yr un mwy nag Elias," ebe Modryb Elin, "yr hwn a geryddodd ei ddysgyblion pan fynent dynu tân o'r nefoedd ar un o drefi Samaria, gan ddywedyd wrthynt, 'Ni wyddoch o ba ysbryd yr ydych chwi; ac na ddaethai Mab y dyn i'r byd i ddystrywio eneidiau dynion ond i'w cadw.' Ond rhaid cyfaddef ei bod yn naturiol iawn i ni fyned i ysbryd y dysgyblion wrth wrandaw am y fath bethau; ond beth pe byddem yn y cyfryw amgylchiadau ein hunain? Ymddwyn fel yr oedd F'Ewythr Tomos yn ymddwyn ydyw 'r gamp uchaf a ddysgodd dyn ar y ddaear erioed, yn ol fy meddwl i; a champ nad oes neb ond Cristion yn ei medru ydyw."

"Os ydych chwi wedi gorphen eich sylwadau, mi äf finnau ymlaen â'r hanes," ebe James.

Wedi i Haley orphen ei negesau yn y ddinas, yn mhen diwrnod neu ddau efe a hwyliodd gyda'i feddiannau dynol mewn agerlestr i lawr yr afon. Yr oedd lliaws mawr o ymdeithwyr ar y bwrdd. Yr oedd caethion Haley ar eu penau eu hunain ar y *deck* isaf, yn ymddyddan ac yn cydymdeimlo â'u gilydd yn eu hadfyd. Un o honynt, a nodid yn yr hysbysiad blaenorol dan yr enw John, oed 30, gan daro ei law ar lin F'Ewythr Tomos, a ddywedai, "Y mae genyf wraig, a ni ŵyr hi ddim byd am hyn, druan o honi!"

"P'le mae hi 'n aros?" ebe Tomos.

"Mewn tafarn ychydig i lawr ene," ebe John, 'base da gin i gael 'i gwel'd hi am unweth eto yn y bywyd hwn."

Druan o John! yr oedd y peth yn ddigon naturiol; a'r dagrau a lifeirient tros ei ruddiau, fel y llefarai, oeddynt yn gystal profion o deimlad caruaidd a phe buasai yn ddyn gwŷn. Tynai Tomos ochenaid drom, a cheisiai ei gysuro oreu y gallai.

Ar y pen goreu i'r llestr, ac yn y caban, yr oedd gwŷr a gwragedd, rhieni a phlant, gwŷr ieuainc a gwyryfon, yn mwynhau eu hunain, a chymdeithas eu gilydd, yn hynod o gysurus.

"O mami!" ebe bachgen bychan, a fuasai ar grwydr ar hyd y bwrdd, "y mae yma fasnachwr negroaid ar y llestr, ac y mae ganddo bedwar neu bump o gaethion i lawr acw."

"Y creaduriaid truain!" ebe y fam, mewn tôn deimladwy.

"Beth ydyw hyny?" gofynai boneddig arall.

"Rhyw gaethion tlodion i lawr yna," atebai y fam.

"Ac y mae cadwynau am danynt!" ebe y bachgen.

"Y fath gywilydd i'n gwlad fod y cyfryw bethau i'w gweled ynddi," sylwai boneddiges arall.

"O! mae llawer iawn i'w ddweyd o bob ochr i'r cwestiwn," ebe gwraig drwsiadus, yr hon a eisteddai gerllaw, ac yn gwnïo, a bachgen a geneth bach iddi yn chwareu o'i deutu. "Mi fûm

i lawr i'r Deheu, a rhaid i mi ddweyd fy mod yn barnu fod y negroaid yn well allan na phe buasent yn rhyddion."

"Ar ryw olygiadau, y mae rhai o honynt yn dda allan," ebe y foneddiges, i'r hon yr atebasai y wraig—"y peth mwyaf enbydus mewn cysylltiad â chaethwasanaeth, yn ol fy meddwl i, ydyw y trais a wneir ar deimladau a serchiadau teuluaidd;—er esiampl, —gwahanu teuluoedd oddiwrth eu gilydd."

"Y mae hyny yn beth drwg, mae'n wir," ebe y llall; "ond yr wyf yn coelio nad yw hyny yn dygwydd yn fynych."

"O! ydyw y mae!" ebe y llall yn union, "mi fûm i 'n byw yn Kentucky, a Virginia hefyd, lawer o flyneddau, ac mi a welais ddigon i wneyd calon undyn yn glaf. Tybiwch chwi, madam, bod eich dau blentyn yna yn cael eu cymeryd oddiarnoch i'w gwerthu?"

"Ni allwn ddim ymresymu oddiwrth ein teimladau ein hunain am deimladau y dosbarth yna o bobl," ebe y wraig.

"Yn wir, ma'm, ni wyddoch chwi ddim oll am danynt, os ydych yn meddwl felly," atebai y foneddiges: "ganwyd a magwyd fi yn eu mysg hwy; mi a wn eu bod yn teimlo 'n llawn mor ddwys—yn fwy felly, hwyrach—ag y teimlwn ninnau."

"Yn wir?" ebe y llall, wedi ei gwladeiddio, a chan edrych allan trwy ffenestr y caban, hi a orphenai yr ymddyddan gyda'r un sylw ag a wnaethai ar y dechreu,—"wedi 'r cwbl, yr wyf yn meddwl eu bod yn well allan na phe buasent yn rhyddion."

"Piti garw na fase 'r ffifflen ene 'n cael 'i rhoid yn lle 'r caethion am bum mlynedd ne chwech, mi fase 'n altro 'i thôn toc, mi w'ranta," ebe F'Ewythr Robert. "Ddeydodd neb arall o'r cwmpeini ddim byd ar y mater?" ebe fe drachefn.

"Do," atebai James, "yr oedd yno hen foneddwr difrifol a defosionol yr olwg arno, yn eistedd gerllaw, ac yn gwrandaw ar y gwragedd. Yr oedd yn gwisgo dillad duon—gŵr eglwysig ydoedd. "Y mae yn ddiammheuol," eb efe, "mai amcan a threfn rhagluniaeth ydyw bod i'r hil Affricanaidd gael eu cadw 'n gaethweision, a'u dal mewn cyflwr isel. 'Melldigedig fyddo Canaan, gwas gweision ei frodyr a fydd efe,' medd yr ysgrythyr."

"Glywch chwi, y gŵr dyeithr, ai dyna yw meddwl y 'sgrythyr yna?" ebe gŵr tal oedd yn sefyll gerllaw.

"Yn ddiammheuol," ebe y llall. "Gwelodd rhagluniaeth yn dda, o herwydd rhyw resymau annirnadwy i ni, i ddiofrydu yr eppil i gaethiwed, er ys oesau lawer; a rhaid i ni ochelyd gosod ein hopiniynau ein hunain yn erbyn ei threfn hi."

"Wel, ynte, gadewch i ni i gyd fyn'd a phrynu *niggers*," ebe 'r tàl ŵr, "os dyna ffordd rhagluniaeth, ynte scweiar?" ebe fe, gan droi at Haley, yr hwn oedd yn sefyll ac yn gwrandaw yn ddyfal ar yr ymddyddan.

"Ië," ebe 'r gwron drachefn, "rhaid i ni oll blygu a 'mostwng i drefniade rhaglunieth—rhaid prynu a gwerthu *niggers*, a'u cadw nhw danodd,—dene 'r pwrpas mae nhw chwedi 'u gneyd; mae g'lygiade fel ych rhai chi ar y mater yn rhai c'surus iawn, ond ydyn nhw, 'r gŵr dierth?" ebe fe, gan droi at Haley drachefn.

"Feddylis i ddim 'rioed ar y mater," ebe Haley; "alswn i ddim deyd cimim a hyn yna fy hun; tydw i ddim yn slaig. Mi gymris i 'r trât er mwyn gneyd byfolieth; os nad ydi 'n beth iawn, mi 'r oeddwn 'n mycanu 'difarhau am dano mewn pryd, wyddoch."

"Ond, bellach, mi spariwch y drafferth i 'difarhau, oni newch chi?" ebe y gŵr tàl. "Welwch chi, rŵan, beth ydi dyallt y 'sgrythyr! Tasc chi ddim ond stidio 'ch Beibil, fel y gŵr da yma, mi fasech yn gwbod peth fel hyn o'r blaen, a mi fase hyny yn safio peth wmbreth o drwbwl. Fase raid i chi ddim ond deydyd 'Melldigedig fo ——,' be oedd 'i enw fo hefyd?—a mi fase pob peth yn iawn mewn mynyd." Ar hyn eisteddai y tàl ŵr, gyda gwên ddirmygus ar ei wyneb, a dechreuai fygu tybacco, nes oedd colofnau duon yn dyrchafu oddiwrtho.

"A phwy, dybygech chwi, F'Ewythr Robert, oedd y gŵr yma? Eich hen ffrind, y cnöwr tybacco hwnw!"

"Wel, ynt oeddwn i 'n meddwl am dano fo o hyd wrth wrando arnat ti. Mae 'n dda gin i gwarfod â fo eto yn y nghalon—bendith ar i ben o; mi 'r ydw i 'n leicio i sgwrs o 'n well na 'r un o honyn nhw, rwsut. Mi 'r oedd arna i hireth isio clowed chwaneg am dano fo, es meitin. Wel, mi rhoes hi 'n goch i'r hen w'nidog hwnw. Tybed nad oedd arno fo gwilidd o hono 'i hun. 'Dw'i 'n siwr y cawswn i fwy o fendith wrth ydrach ar fy hen ffrind yn smocio ne 'n cnoid 'baco, nag a gawswn wth wrando ar rw hen 'siffar wel y llall yn 'gethu. Dynion wel ene 'n cymryd arnyn 'gethu 'r fengil! Pw! twt! hach! ffei! wfft! bo! mae o 'n ddigon i godi cyfog ar lwynog!"

"Mae F'Ewythr Robert yn myned yn *eloquent*," ebe Mrs. Harris, dan chwerthin.

"Mae clowed pethe wel ene 'n ddigon i neyd y neb fynoch chi 'n '*locent*, beth bynag ydi hyny," ebe F'Ewythr Robert. "Ond oes gin ti chwaneg o hanes yr hen ffrind," ebe fe; "mae o 'n iechid i nghalon i glowed o 'n siarad."

Wel, ebe James, wedi i'ch hen ffrind eistedd i lawr i fwgdarthu, cymerodd gŵr ieuanc oedd yn y cwmni yr ymddyddan i fyny. Yr oedd wynebpryd y gŵr ieuanc hwn yn arddangos dyn o feddwl deallus, a theimladau coeth a thyner; ac ebe fe, "'Pa bethau bynag a ewyllysioch i ddynion eu gwneuthur i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy.'" "Mi feddyliwn," ebe fe, drachefn, "fod hon yna yn ysgrythyr, yn gystal a 'Melldigedig fyddo Canaan.'"

"Wel mae 'myddangos ei fod yn destun llawn mor eglur, ŵr dierth, i rw rai wel ni, rŵan," ebe yr hen ffrind, dan bwffio y mwg oddiwrtho fel ffwrnes.

Safai y gŵr ieuanc, gan edrych o'i amgylch, fel pe buasai am ddywedyd rhywbeth ymhellach, pan safodd yr agerlestr yn ddisymwth, yr hyn a barodd y cyffro arferol ymhlith 'ymdeithwyr ar fwrdd llestr, pan ddelont at orsafle. Yr oedd amryw o'r ymdeithwyr yn glanio yn y lle hwnw.

"Dau *chap* o bersonied ydi 'r ddau ene," ebe y mygwr tybacco, wrth ddyn oedd yn sefyll yn ei ymyl, fel yr oedd dau ŵr mewn gwisg ddu yn myned allan i'r làn.

Ar hyn, dyma wraig ddu yn rhuthro yn orwyllt i mewn oddiar y làn, gan redeg trwy y dyrfa tua 'r lle yr oedd y caethion ynddo, ac yn taflu ei breichiau am y John hwnw y soniwyd am dano gyneu, a thrwy ei dagrau a'i llefain yn ei gyfarch fel ei gŵr.

Ond, medd ein hawdures, i ba ddyben yr adroddwn y stori a adroddir yn rhy fynych—bob dydd;—y stori am rwygo a thori llinynau tyneraf y galon—am dreisio, a gwasgu, a gwerthu y gwan, er ennill ac elw y cryf. Nid yw yn anghenrheidiol ei hadrodd, y mae dydd i ddydd yn ei chyhoeddi, yn ei hadrodd hefyd yn nghlust Un nad yw fyddar iddi; er y dichon y bydd yn hir yn ddystaw.

Safai y gŵr ieuanc, yr hwn, ychydig yn ol, a ddadleuasai achos Duw a dynoliaeth, â'i freichiau yn blethedig, gan ddwys edrych ar yr olygfa gyffrous; a chan droi at Haley, yr hwn oedd yn sefyll yn ei ymyl—"Gyfaill!" ebe fe, yn llymddifrifol, "pa fodd y gellwch chwi—y meiddiwch chwi gario trât fel hyn ymlaen? Edrychwch ar y creaduriaid truain acw! Dyma fi yn llawenhau yn fy nghalon fy mod yn myned adref at fy ngwraig a'm plentyn; a'r un gloch ag sydd yn rhoi arwydd i'm dwyn i ymlaen tuag at fy nheulu, a fydd yn rhoi arwydd i wahanu y truan hwn a'i wraig oddiwrth eu gilydd am byth. Credwch fi, fe eilw Duw chwi i farn am hyn oll."

Trodd Haley draw mewn dystawrwydd.

"Gwrandewch chi, rŵan," ebe John y porthmon, sef eich hen ffrind, F'Ewythr Robert.

"Wel, mi wrandawa ine, rŵan, os ydi o 'n myn'd i siarad," ebe F'Ewythr Robert; "ni fynwn i, er y mowyd, golli 'r un gair ddeydo fo. Be ddeydodd o, tybed?"

"Fel y galloch ddeall y stori yn iawn," ebe James, "mi a ddylwn ddweyd i chwi mai gweinidog oedd y gŵr ieuanc oedd yn siarad o'r blaen."

"Gwrandewch chi, rŵan," ebe eich ffrind, gan roddi pwniad i Haley. "Mae gwhanieth rhwn personied a'u gilidd, ont oes? Tydi 'melldigedig fotho Canaan' ddim yn myn'd i lawr hefo hwn, a ydi o?"



MR. SHELBY, HALEY, ELISA, A HARRI BACH.

Rhoddodd Haley duchanfa drom.

"Ha! ha! a mi roes duchanfa—roes o?" ebe F'Ewythr Robert; "'d oedd fater iddo fo duchan; mi naeth o i lawer o drieuied duchan. Mae dda gin y nghalon i fod fy hen ffrind i chwedi dwad ar 'i drawst o, am unweth. 'Toedd neb o honyn nhw mor ffit i'w drin o. Sut y fu 'r ol y tuchan ene?"

"Ond dene'r peth gwaetha o'r cwbwl," ebe eich hen ffrind, "mae 'n debyg nad eith 'melldigedig fyddo Canaan' ddim i lawr efo 'r Arglwydd, chwaith, pen ddeloch chi i setlo 'ch cyfri efo fo, un o'r dyddie yma, fel y rhaid i ni i gid neyd, mae 'n debyg."

Ar hyn, cerddodd Haley ymaith i ben arall y llestr.

"Ië, mi aeth yn rhy boeth iddo fo yn y fan hòno, ai do?" ebe F'Ewythr Robert, dan chwerthin. "Wyddoch chi be? pygethwr i bwrpas oedd yr hen ffrind; mi oedd o 'n dal at 'i destun yn siampal. 'Rhoswch chi, 'r hen berson hwnw roes y testun iddo fo, 'n tê? Mi gododd hwnw destun i feddwl pygethu o blaid cadw slafs arno fo, a mi cipiodd 'r hen borthmon o i bygethu 'n erbyn y peth oddiwrtho fo. Dene 'r siort o bygethwr ac o bygethe sy isio i rw fath o bobol, ac yn erbyn rhw fath o ddryge. Mi 'r oedd y gŵr ifanc hwnw 'n deydyd yn dda iawn; ond 'r hen *'baconist* fedrodd neyd i Harli duchan—ha! ha! Wel, tuchan botho fo 'n oesoesodd, ddeyda i."

"Rhaid i chwi gael myn'd tros ben y llestri 'n wastad, Rhobet," ebe Modryb Elin. "Tase chi 'n tewi, cin deyd y gair hyll dwaetha ene, mi fasech 'n o lew. Pa'm na chofiwch be ddywedodd F'Ewythr Tomos—'Yn oesoesoedd yn air ofnadwy,' ac y mae dymuno 'r fath beth i gydgreadur yn beth dychrynllyd a drygionus."

"Cydgyradur, yn wir!" ebe F'Ewythr Robert; "'tydw i ddim yn arddel Harli yn gydgyradur i mi. Cydgyradur y —— ydi o, os gneith hwnw 'i arddel o;—synwn i ddim na fydde 'n gwilidd gyntho fo 'neyd hyny."

Ysgydwodd Modryb Elin ei phen, a gwenodd y lleill.

"Os galla i 'neyd yn o dda o *gang* ne ddwy eto," ebe Haley wrtho ei hun, "mi *stopia* wed'yn, 'rwy'n meddwl—y mae yn myddangos yn beth p'ryglus, mewn gwirionedd." Yna, tynodd allan ei gyfriflyfr, a dechreuodd edrych trosto—meddyginiaeth a geisiodd llawer gŵr heblaw Haley, i geisio tawelu cydwybod anesmwyth.

Hwyliodd y llestr ymaith oddiwrth yr orsaf, ac aeth pob peth ymlaen ar y bwrdd fel o'r blaen.

Un diwrnod, hi a safodd gyferbyn â thref fechan yn Kentucky, ac aeth Haley allan i'r dref ar neges.

Yr oedd F'Ewythr Tomos y pryd hwn yn sefyll wrth ochr y llestr, ac yn edrych o'i amgylch. Yn mhen enyd, efe a welai ei feistr yn dychwelyd yn brysur tua yr afon, a gwraig ieuanc ddu,

â phlentyn bychan ar ei braich gydag ef, a llanc du yn cludo ei chist hi yn canlyn. Yr oedd y wraig wedi ei gwisgo yn bur drefnus, ac yn cerdded ymlaen yn siriol, dan siarad â'r dyn oedd yn cludo ei chist; ac felly, daethant i mewn i'r agerlestr. Canodd y gloch, a dechreuodd y pair hisian, ac ymaith â hwy i lawr yr afon.

Rhodiodd y wraig yn ol ac ymlaen yn mysg y cistiau a'r taclau, ac o'r diwedd, eisteddodd i lawr, gan goledd ei baban bach.

Yn mhen enyd, daeth Haley ati, a dechreuodd ddywedyd rhywbeth wrthi, mewn llais isel.

Sylwodd Tomos ddarfod i wynebpryd y wraig newid yn ddirfawr, a'i bod yn siarad yn gyflym ac yn gyffrous. Clywai hi 'n dweyd,—

"'Dydw i ddim yn 'i gredu o, ac ni chreda i mono, chwaith—ceisio gneyd ffwl o honof yr ydych."

"Os nad ydych yn ei gredu, edrychwch yma," ebe Haley, gan dynu papyr allan;—"dyma bapyr y pryniad, a dyna enw eich meistr wrtho; ac mi a delais i lawr arian parod am danoch hefyd—mi fedra i brofi fo i chi; felly, be ddeydwch chi rŵan?"

"Alla i ddim credu gnaethe misar nhwyllo fath ene—dall o ddim bod, yn wir," ebe y wraig, gan gyffroi 'n fwy.

"Chi ellwch ofyn i un o'r bobl hyn sydd yn gallu darllen ac ysgrifenu," ebe Haley; a chan alw ar ddyn oedd yn dygwydd myned heibio iddynt—"dyrllenwch hwn, 'newch chi," ebe fe; "choelia 'r lodas yma mona i pen ydw i 'n deyd iddi hi be ydi o."

"Papyr gwerthiad, wedi ei lawnodi gan John Fosdick, ydyw," ebe y dyn, "yn gneyd trosodd i chwi yr eneth hon, Lucy, a'i phlentyn; mae pobpeth yn blaen ddigon, ddyliwn i."

Casglodd llefau y wraig liaws ynghyd o'u deutu, ac eglurai Haley iddynt yr achos o'i therfysg.

"Misar deyd wrtha i," ebe y wraig, "fy mod i fyn'd i lawr i Louisville, ar huriad fel coges, yn y gwesty lle mae fy ngŵr yn gweithio—dene oedd misar yn ddeyd wrtha i, a fedra i ddim coelio base fo 'n deyd celwydd wrtha i."

"Ond efe a ddywedodd gelwydd wrthych wraig druan, yn ddiammhau," ebe gwr caredig yr olwg arno oedd yn sefyll gerllaw, ac wedi bod yn edrych tros y papyrau—"do fe ddywedodd yn sicr ddigon."

"Yna nid yw o un dyben siarad yn ei gylch," ebe y wraig, gan ymddangos yn eithaf tawel yn ddisymwth, a chan wasgu y baban yn dynach i'w mynwes, eisteddai i lawr ar ei chistan, gan droi ei chefn ar y cwmni, hi a edrychai yn fyfyriol ar yr afon.

"Y mae hi 'n mynd i'w gymryd o'n esmwyth, wedi'r cwbwl; mae grut yn y lodes, 'rwy'n gwel'd," ebe Haley.

Aeth oriau heibio tra yr oedd pawb ar y bwrdd yn mhen 'u helynt, a'r druanes ofidus hon yn gwaedu â'r cleddyf yn ei henaid. Yr unig falm i'w chalon archolledig oedd ei baban bach, yr hwn a goleddai ac a wasgai yn ei mynwes, a gwenai y bychan diniwed yn ei llygaid, gan dynu ei ddwylaw bychain ar hyd ei hwyneb. Yr oedd y plentyn tua deng mis oed, ac yn blentyn cryf iawn o'i oed, a chadarn ei aelodau. Yr oedd yn llawn bywiogrwydd, a chadwai ei fam o hyd ar waith i'w warchod a'i ddandlwm.

"Dyma *chap* braf iawn o fachgen," ebe dyn a ddygwyddai sefyll gerllaw ac edrych arno, â'i ddwylaw yn ei logellau, "beth yw ei oed o?"

"Deng mis a hanner," ebe y fam. Chwibanai y dyn ar y plentyn, ac estynai iddo ryw felusion, y rhai a gipiai y plentyn i'w enau.

"Eitha un," ebe y dyn, "mae o'n gwbod be ydi be;" yna cerddai ymaith dan chwibanu. Pan gyrhaeddodd y pen arall, aeth at Haley, yr hwn oedd yn ysmocio ar ben rhes o gistiau.

Tynodd y llall *cigar* allan, a dodai dân arni, gan ddyweyd yr un pryd,—"Mae gynthoch i lodas daclus iawn draw acw, y gwr dyeithr."

"Ydi, rwy'n meddwl i bod hi 'n un go lew," ebe Haley, gan ollwng pwff o fwg allan.

"'Rydach am 'i chymryd i lawr i'r De?" ebe y gŵr.

Rhoddai Haley bengrymiad cadarnhaol.

"Yn llaw ar y planfeydd?" gofynai y dyn.

"Wel," meddai Haley, "yr wyf yn prynu at anghen un o'r planfeydd, ac yr wyf yn meddwl ei rhoi hithe i mewn; 'roedden nhw 'n deyd i mi 'i bod hi 'n goges dda, a mi allan 'i chymryd hi at hyny, neu 'i rhoi hi i bigo cotwm—mae gynthi hi eitha bysedd at hyny, mi hedrychis i nhw—mi weithith yn dda i'r naill beth ne'r llall."

"Fydd arnyn nhw ddim eisio'r plentyn yn y blanigfa," ebe y dyn.

"Mi gwertha i o 'r cyfle cynta ga i," ebe Haley, gan danio *cigar* arall.

"Mi gwerthech am go chydig, feddyliwn," ebe y dyn, gan eistedd i lawr yn ymyl Haley.

"Wn i ddim am hyny," ebe Haley. "Mae o 'n fachgen mor *smart*—syth, pwyntus, cry, a'i gnawd mor galed a bricsen."

"Pur wir," ebe y llall; "ond wed'yn, dene 'r holl drafferth a'r gost o'i fagu o."

"*Nonsense*," ebe Haley; "mae nhw mor hawdd i'w magu a dim sort yn y byd o grydurieid—dim mwy o drafferth efo nhw nag sydd efo chathod bach. Mi fydd y *chap* ene 'n rhedeg o gwmpas i bob man o hyn i ben y mis."

"Mae gin i le da i'w magu nhw," ebe y dyn, "a mi fydda 'n meddwl am chwanegu fy stôr, weithie. Mi ddaru un goges acw golli 'i hun bach 'r wythnos dwaetha—mi syrthiodd i'r twb golchi, a mi foddodd, pen 'r oedd hi allan yn tanu y dillad; a mi 'r ydw i 'n meddwl y bydde fo 'n birion peth rhoi hwn iddi i'w fagu."

Ymmociodd y ddau mewn dystawrwydd am enyd wedi hyn, pob un o'r ddau fel yn ofnus i ddyfod at y pwynt. O'r diwedd, ebe y dyn—

"Ni feddyliech am ofyn rhagor na deg dolar am y *chap*, gan fod arnoch eisie 'i gael o oddiar eich llaw."

Ysgydwai Haley ei ben yn bur arwyddocaol o anghydsyniad. "Neith hyny mo'r tro," ebe fe. "Mi allwn fagu y *chap* i fyny fy hun, neu i roi o allan i'w fagu—y mae o mor iachus a heini—a mi gyrche gan' dolar yn mhen chwe' mis; ne mi werthe am ddau cant mhen blwyddyn ne ddwy; felly, ni chymra i ffyrlin llai na hanner can' dolar am dano fo 'rŵan."

"O! mae hyn ene tros ben rheswm, y gŵr dierth," ebe y dyn.

"Gwir bob gair," ebe Haley.

"Mi rof ddeg dolar ar hugain am dano, a dim un ffyrlin chwaneg," ebe y dyn.

"'Rŵan, mi ddeyda i chi be na i," ebe Haley, gan boeri, drachefn, "mi rana 'r ymrafael â chi, a mi ddeydwn, pump a deugain, a dene 'r cwbwl na i."

"Dene fargen 'nte," ebe y llall.

"Dene ben," ebe Haley. "P'le 'r ydych chi 'n lanio?"

"Yn Louisville," ebe y dyn.

"Da iawn," ebe Haley: "ni a fyddwn yno erbyn gwyll y nos. Mi fydd y *chap* yn cysgu erbyn hyny, a mi cewch o i ffwrdd yn dawel, heb fwstwr a screchian—mae 'n dygwydd yn rhagorol: mi fydda i 'n leicio gneyd pobpeth yn dawel—ddas gin i ddim mwstwr a therfysg 'n amser."

Ac felly, tra yr oedd y bychan diniwed yn trin ei chwareuon plentynaidd, ar lin ei fam adfydus, yr oedd y lladron dynion hyn yn bargenio am dano, gorff ac enaid, fel pe buasai genaw ci! Gwnaed papyrau y gwerthiant i fyny, ac aeth y ddau at eu difyrwch mygyddol drachefn.

Yr oedd yn hwyr tawel eglur pan safodd yr agerlestr gerllaw Louisville. Yr oedd y plentyn erbyn hyn mewn trymgwsg. Pan glywodd y fam enw y lle, hi a adawodd y plentyn o'r neilldu, ar lwth rhwng y eistau, â'i chlog o dano ac o'i ddeutu, ac yna neidiodd i ochr y llestr, yn y gobaith y gallasai ei gŵr fod yn mysg y lliaws o weision gwestdai a ddeuent i ddyagwyl ymdeithwyr. Arosodd yno enyd, gan daflu ei golygon pryderus ar wynebau y dynion ar y lan.

"'Rŵan ydi'ch amser chi," ebe Haley, gan gymeryd y plentyn

i fyny, a'i ddodi i'r dyn. "Peidiwch 'i ddeffro fo, iddo ddechre crio rŵan, ne mi fydd yma gythrel o helynt efo 'r lodes."

Cymerodd y dyn ef yn ei goflaid, ac aeth ymaith, a chollwyd ef yn fuan yn nghanol y lliaws.

Pan ddechreuodd yr agerlestr ymsymud ymaith, dychwelodd y wraig yn ol i'w hen eisteddle. Yr oedd Haley yn eistedd gerllaw—yr oedd y plentyn wedi myned!

"Ow! Ow! p'le!" ebe hi yn ddychrynedig.

"Lucy," ebe Haley, "mae eich plentyn wedi ei gymeryd ymaith; cystal i chi gael gw'bod 'rŵan a rhw amser arall. Mi wyddwn i, 'rydach chi 'n gwel'd, dallech chi ddim i gymeryd o i lawr i'r de: a mi ddygwyddodd i mi gael cyfle i'w werthu o i deulu parchus iawn, mi na nhw 'i ddwyn ò i fyny 'n well nag y basech chi 'n medru gneyd."

Yr oedd Haley, medd ein hawdures, wedi cyrhaedd y radd hòno o berffeithrwydd cristionogol a pholiticaidd, a arganmolid yn ddiweddar gan rai pregethwyr a duwinyddion yn y taleithiau gogleddol, yn yr hon yr oedd efe wedi llwyr orthrechu pob gwendid a rhagfarnau dynol. Yr oedd ei galon, syr, medd hi, yr un fath yn hollol ag y buasai eich calon chwi neu fi yn cael ei gweithio drwy ymdrech a meithriniad priodol. Yr olwg wyllt o anobaith a daflodd y wraig arno, a fuasai yn cyffroi calon un heb arfer â'r peth. Ond nid oedd yn effeithio dim arno ef—yr oedd wedi cynnefino. Gwelsai y cyfryw olygon gannoedd o weithiau. Cynnefinech chwithau hefyd â'r fath bethau, fy nghyfaill; ac amcan mawr yr ymdrechion a wnaed yn ddiweddar ydyw, gwneyd yr holl wladwriaeth ogleddol yn gynnefinol â hwy, er mwyn gogoniant yr Undeb. Ac felly, ni feddyliai y masnachwr ddim mwy o'r wasgfa angeuol a welai 'n ymweithio yn wyneb y wraig, y dyrnau cauedig, a'r anadliadau caethion, na'u bod yn bethau perthynol i'r fasnach; ei holl ofal ef oedd, rhag iddi dori allan i waeddi a llefain, a chodi cythrwfl ar y bwrdd, oblegid, fel eraill o gefnogwyr ein sefydliad, yr oedd yntau yn fawr yn erbyn gwneyd dim cyffroad.

Ond ni waeddodd y wraig. Yr oedd yr ergyd wedi pasio yn rhy uniongyrchol trwy ei chalon iddi allu llefain na wylo. Eisteddodd i lawr fel mewn llesmair,—hongiai ei breichiau fel yn feirwon ar ei hystlysau, daliai ei llygaid yn agored, ond ni welai neb. Nid oedd yr holl drwst a'r prysurdeb oedd o'i chwmpas yn cael un effaith arni hi,—yr oedd ei chalon megys wedi marw o'i mewn. Ceisiai Haley ei chysuro.

"Mi wn fod pethe fel hyn yn taro no galed ar y dechreu, Lucy," ebe fe, "ond ni neith lodes smart, gall, fel chi, roid y ffordd iddyn nhw. 'Rydach chi'n gwel'd fod yn rhaid i bethe fel hyn fod—'does dim help iddyn nhw."

"O! tewch, misar, tewch!" ebe y wraig, gyda llais un ar hanner tagu.

"'Rydach yn ferch hoew, Lucy," ebe fe drachefn, "'rydw i am neyd yn dda i chi; mi fyna le cysurus i chi i lawr yr afon, a mi gewch ŵr arall yn bur fuan, y fath lodes lanweth ag ydach chi."

"O! misar, tae chi yn tewi â siarad â fi 'rŵan," ebe y wraig, mewn llais a roddai ar ddeall i'r masnachwr fod rhywbeth dyfnach yn y mater nag a allai ef ei ddirnad; ac efe a gyfododd i fyny, a chuddiodd hithau ei phen yn ei chlog.

Rhodiai Haley i fyny ac i lawr, ac edrychai arni yn awr ac eilwaith. "Mae hi 'n i gymryd o at 'i chalon yn o ddwys," ebe fe, "ond yn dawel er hyny; tae hi 'n chwsu tipyn, mi ddoe ati 'i hun o dipin i beth."

Yr oedd Tomos wedi dyfal wylio yr amgylchiadau o'r dechreu i'r diwedd, ac yr oedd wedi rhagweled y canlyniad. Ymddangosai y peth iddo ef fel rhywbeth annhraethadwy ddychrynllyd a chreulawn—o herwydd nid oedd ei enaid du, tlawd, anwybodus, erioed wedi ei addysgu i gymeryd golwg gyffredinol ac eang ar bethau! Pe buasai wedi ei hyfforddi gan rai dysgawdwyr Cristionogol, buasai yn meddwl yn well o'r peth, a gwelsai nad oedd y cwbl ond dygwyddiadau cysylltedig â masnach gyfreithlawn—masnach ag sydd yn fywyd cynnaliaethol sefydliad, y dywed rhai duwinyddion Americanaidd wrthym nad oes ynddo ddim drygau nad ydynt yn anwahanol gysylltiedig âg achosion cymdeithasol a theuluol eraill bywyd. Ond am Tomos—yr ydym yn gweled, gan ei fod yn greadur tlawd, anwybodus, heb ddarllen dim erioed ond y Testament Newydd—ni allai gysuro a thawelu ei hun â syniadau o'r fath hyn. Yr oedd ei galon yn gwaedu o'i fewn, o herwydd yr hyn a ymddangosai iddo ef yn gamwri a chreulondeb tuag at y druanes ofidus a orweddai fel corsen ysig o'i flaen;—y creadur teimladol, byw, archolledig, eto anfarwol, ag y mae cyfraith wladol America yn ei osod gyda'r cistiau, y celfi, a'r sachau, ymhlith y rhai yr oeddynt yn gorwedd.

Nesaodd Tomos ati, i ddywedyd rhywbeth wrthi; a chyda dagrau, y rhai a dreiglent yn ffrydiau tros ei ruddiau, efe a soniai am galon lawn o gariad yn y nefoedd, am Waredwr tosturiol, a chartref o ddedwyddwch tragywyddol yr ochr draw. Ond yr oedd ei chlust yn fyddar gan ofid, a'r galon yn wywedig—ni allai deimlo.

Y nos a ddaeth—nos dawel glir ac ysplenydd, yn tywynu i lawr gyda'i llygaid angelaidd difrifddwys, aneirif, gan amneidio yn brydferth, ond yn ddystaw. Nid oedd nac iaith nac ymadrodd—un llais tosturiol—yr un llaw o gymhorth yn estynedig o'r wybr ddyrchafedig hono. Darfyddai pob llais, ymddyddan, a masnach, a phleser, y naill ar ol y llall, ar y bwrdd,—yr oedd pawb wedi myned i gysgu; a sŵn yr agerlestr yn rhwygo ei ffordd ymlaen yn unig oedd i'w glywed. Gorweddai Tomos i lawr ar gistan, ac efe a glywai, yn awr ac eilwaith, ruddfanau ac wylof-

ain distaw y druanes ofidus.—"O! be na i! O Arglwydd! O Arglwydd daionus, dyro help i mi!" a hyny lawer gwaith drosodd, yn awr ac yn y man.

Deffrodd Tomos yn sydyn tua chanol y nos; pasiodd rhywbeth du heibio iddo tuag ochr y llestr, a chlywai *splas* yn y dwr. Ni welodd ac ni chlywodd neb arall ddim yn y byd. Cododd ei ben,—yr oedd lle y wraig yn wag; cododd i fyny, ac aeth o gwmpas i chwilio am dani, ond yn ofer. Yr oedd y galon archolledig yn dawel o'r diwedd; a süai a murmurai yr afon yr un fath a phe na buasai wedi ei derbyn i'w mynwes, na chau i fyny am dani.

Pwyll! Amynedd! O! chwychwi y rhai a deimlwch eich calonau yn chwyddo gan ddigofaint yn erbyn y fath weithredoedd trawsion a hyn! Nid oes—

"Aros! aros!" gwaeddai F'Ewythr Robert; "*pwyll a 'mynedd* yn wir! Mae nghalon i chwedi chwyddo, nes dydi hi bron hollti, es meityn, a mae 'n rhaid i mi gael gollwn allan bellach, ne mi dora ar y nhrawst. *Pwyll a 'mynedd!* mi fase 'mynedd Job chwedi darfod es meityn, a chwedi mylldithio 'r dyn Harli hwnw, a phawb o'i ffasiwn o. Oni base fod 'r hen borthmon 'baco hwnw, a F'Ewyrth Tomos, ar y bwrdd, mi faswn yn leicio clowed fod y stêm paced hono chwedi myn'd ar dân i'w chrogi."

"Pe buasech yn aros ychydig bach, nes i mi orphen y *paragraph* yr oeddwn arno, F'Ewythr Robert," ebe James, "buasech yn gallu ymattal, hwyrach. Gadewch i mi ail gychwyn, a myned i'r pen:—

Pwyll! amynedd! O! chwychwi, y rhai a deimlwch eich calonau yn chwyddo gan ddigofaint yn erbyn y fath weithredoedd trawsion a hyn! Nid oes un dychlamiad o ofid, un deigryn o eiddo y rhai gorthrymedig, yn myned yn anghof gan y Gwr cynnefin â dolur—Arglwydd y Gogoniant. Yn ei fynwes amyneddus, dosturiol, y mae efe yn dwyn doluriau byd cyfan. Dyoddefwch chwithau fel efe, mewn amynedd, a llafuriwch mewn cariad; canys mor sicr a'i fod ef yn Dduw, "blwyddyn ei waredigion a ddaw."

"Wel, Rhobet, oes arnoch chi ddim cywilydd o honoch eich hun 'rwan?" ebe Modryb Elin. "'Rydech chwi yn ei cholli hi o hyd, 'r ydech chwi 'n gwel'd—fydde waeth i chi wrando arna i."

"Gwrando arnat ti! 'r wyt ti 'n cym'ryd parti 'r Harli ene, a'i ffasiwn, o hyd."

"Nac ydwyf fi," ebe Modryb Elin, "yn gwneyd dim o'r fath beth: mae mor ddrwg gen i dros y caethion, druain, ag ydyw gantoch chwithau, ac mor gas gen i mewn rhyw ystyr, am eu gorthrymwyr hwy hefyd; ond mae'n bechadurus ynthon ni eu melldithio hwy, a dymuno dialedd a dystryw arnynt. Eisieu'ch cael chwi o'r un ysbryd a F'Ewyrth Tomos sy arna i, 'doedd o ddim yn

rhegi ac yn myn'd o'i go', yr ydych chwi yn gwel'd ei fod o'n diodde'r cam ei hunan."

"Wel, ni gydawn hi'n y fan ene rwan," ebe F'Ewythr Robert, "be ddeydodd yr hen deigar wedi iddo fo wbod colli y wraig?"

"Hene eto," ebe Modryb Elin, "thawech chwi yn eich byw!"

"Wel, yr oedd yr hen deigar, chwedl chwithau, ar ei draed yn fore, yn edrych ar ol ei eiddo," ebe James, "ac wedi gwel'd ei cholli."

"P'le yn y byd mae'r lodas?" ebe fe wrth Tomos.

Yr oedd Tomos wedi dysgu y ddoethineb o gadw cyfrinach, ac ni ystyriai fod galwad arno i fynegu y cwbl a wyddai; gan hyny rhoddai ateb gochelgar.

"Dallse hi ddim rhedeg allan yn un o'r gorsafau," ebe Haley; "canys 'r oeddwn i 'n effro ac yn gwylio bob tro y safai y llestr. Ni byddaf byth yn ymddiried y gorchwyl hwn i neb arall."

Dywedodd y geiriau hyn megys mewn cyfrinach, fel pe buasent yn cynnwys rhywbeth o bwys mawr i Tomos, ond ni wnaeth efe un atebiad.

Chwiliodd y masnachwr y llestr o'r naill ben i'r llall—yn mysg y cistau, y bwrneli, a'r barilau, pob twll a chornel, ond yn ofer.

"'Rwan, Tomos," ebe fe, wedi iddo ddyfod yn ol i'r lle yr oedd Tomos yn sefyll, "mi wyddoch chwi rywbeth am y peth; ni wiw i chwi mo'r gwadu, mi a wn y gwyddoch. Mi a welais y lodes yn gorwedd yn y fan yma, tua deg o'r gloch, ac wed'yn am ddeuddeg, ac wed'yn rhwng un a dau; ac ono, erbyn pedwar, yr oedd wedi colli, ac 'roeddech chwithe'n cysgu yn y fan ene 'r holl amser. 'Rwan, mi wyddoch chi rywbeth, 'd oes dim posib' lai."

"Wel, misar," ebe Tomos, "tua bore, rywbryd, mi aeth rhwbeth heibio i mi, pan roeddwn i rhwn cysgu ac effro, ac ono mi glown swn mawr yn y dwr, fel pe base rhwbeth yn disgyn iddo fo, ac ono mi godis i fyny, ac 'roedd y lodes wedi myn'd—dene'r cwbwl wn i am y peth."

Nid oedd hyn yn cythruddo nac yn synu y masnachwr, oblegid, fel y dywedwyd o'r blaen, yr oedd wedi arfer â llawer iawn o bethau cyffelyb, nad ydych chwi erioed wedi arfer â hwy. Nid oedd hyd yn nod presennoldeb dychrynllyd angeu yn menu dim arno ef. Yr oedd wedi gweled angeu lawer gwaith—cyfarfuasai âg ef yn fynych yn llwybr ei fasnach, ac yr oedd wedi ymgydnabyddu âg ef—a meddyliai am dano yn unig fel cwsmer caled, ag oedd yn tori ar draws ei gynlluniau a'i lwyddiant masnachol yn bur annheg; ac ni wnai ragor o sylw o'r peth, na thyngu mai dyhiren oedd y lodes, a'i fod yn ddieflig o anffortunus, ac os äi pethau ymlaen fel hyn, na ennillai un ffyrling yn ei *drip*. Mewn gair, efe a ystyriai ei hun yn cael mawr gam, yn bendant; ond nid oedd dim help am dani, gan fod y wraig wedi dianc i dalaeth nad oedd byth yn rhoi i fyny un ffoadur, hyd yn nod ar

archiad awdurdodol holl Daleithiau yr Undeb gogoneddus. Eisteddai y masnachwr i lawr yn anfoddog gyda ei gyfriflyfr, a dodai i lawr y wraig golledig, gorff ac enaid, dan ben y colledion.

Symia yr awdures y stori i fyny yn y dull cyrhaeddgar a ganlyn, er gweinyddu llym gerydd i'w chydwladwyr a gefnogant y trefniant melldithiol o gaethwasiaeth.

"Y mae o'n greadur arswydus, y masnachwr yma, onid ydyw? Mor ddideimlad! Mae'n ddychrynllyd, mewn gwirionedd!"

"O! nid oes neb yn meddwl dim byd o'r masnachwyr yma—mae pawb yn eu dirmygu hwy—ni dderbynir yr un o honynt byth i gymdeithas barchus."

Ond, pwy, syr, sydd yn gwneyd y masnachwr? Pwy sydd i'w feio fwyaf? Ai y dyn goleuedig, coeth, a deallus, sydd yn cefnogi y trefniant, o'r hwn y mae y masnachwr yn rhan benodol, ynte y masnachwr truan ei hun? Y chwi gynnyrchodd y syniad cyhoeddus sydd yn galw am fodolaeth y fasnach sydd yn ei halogi ac yn ei lygru ef, hyd nes nad yw yn teimlo dim cywilydd o honi; ac yn mha beth yr ydych chwi yn well nag ef? A ydych chwi yn ddysgedig, ac yntau yn anwybodus—chwi mewn uchel sefyllfa, ac yntau yn isel—chwi yn goeth, ac yntau yn anfoesawg—y chwi yn dalentog, ac yntau yn bwlaidd? Yn nydd y farn a ddaw, gallai y bydd yr ystyriaethau hyn yn peri y bydd hi yn esmwythach arno ef nag arnoch chwi.

Wrth derfynu yr adroddiadau hyn, rhaid i ni erfyn ar y byd i beidio meddwl fod y deddfwyr Americanaidd yn hollol amddifad o ddynoliaeth, fel y gellid casglu, hwyrach, yn annheg oddiwrth yr ymdrechion mawrion a wneir gan ein corff gwladwriaethol i amddiffyn a pharhau y drafnidiaeth neillduol hon. Pwy ni ŵyr fel y llefara ein dynion mawrion yn erbyn y gaethfasnach dramor? Y mae genym lu mawr o Clarksons a Wilberforces yn codi i fyny yn ein mysg ar y mater hwn, ag sydd yn hynod o ddyddorol i'w clywed a'u gweled! Masnachu negroaid o Affrica, ddarllenydd anwyl, sydd yn beth dychrynllyd ofnadwy! Rhy ofnadwy i feddwl am dano! Ond eu masnachu o Kentucky sy'n beth arall hollol wahanol!

"Dyna fi wedi gorphen fy nghasg am heno," ebe James.

"Y mae yn bryd i ti orphen," ebe ei fam, "y mae hi yn llawer iawn o'r nos, a mi fase 'n ffitiach ein bod ni yn ein gw'lau gartre, na bod yma 'rŵan."

"'Rhoswch dipin, bedi 'r brys sy arnoch chi," ebe F'Ewythr Robert, "mi fyddwch yn myn'd i'r gwely bob nos, fuoch chi ddim yma es talwm iawn, mi faswn i'n leicio cael tipin o ymgom ynghylch yr hanes glowson ni heno, cin i chi gychwyn. Mi 'roeddwn i 'n misio dallt yn iawn prun ai o ddifri ynte o fregedd 'roedd 'rawdures ene, pen 'roedd hi 'n deydyd nad oedd F'Ewyrth Tomos, wel dyn ansgedig, heb ddarllen dim 'rioed ond

i Destament, ddim yn gallud dyallt pethe, a phy tase fo chwedi cael dysg a phethe felly, na fase fo ddim yn ydrach ar y trueni ac yn chrynu rhagddo fo wel yr oedd o."

"O, gwawdiaeth lem ar y gwŷr dysgedig a'r duwinyddion sydd yn ceisio amddiffyn caethwasiaeth oedd hono, F'Ewythr Robert," ebe James.

"Dene wel 'roeddwn ine 'n meddwl, neu o leia 'n gybeithio," meddai yr hen ŵr. "Ië, mi 'rydw i 'n i gwel'd hi 'n 'u trin nhw yn 'run dull ag 'roedd ff'en ffrind i, y porthmon hwnw, yn gneyd, a dene 'r ffordd i'w trin nhw hefyd—'u gwawdio nhw, a phwyri baco am 'u pene nhw gida hyny hefyd."

"Peth rhyfedd iawn ydyw, fel y mae plant dynion yn cynnefino â'r pethau mwya arswydus, wrth ymarfer â nhw, fel y mae y wraig yn sylwi yn y llyfr yna," ebe Modryb Elin. "Mae hi yr un fath hefo phethau naturiol. Mi glywais lawer gwaith mai y rhai mwya' ofnus ar y môr ydi'r *coliers*, a dowch a morwyr wed'yn at y pwll glo, maent hwythau yn arswydo trwy 'u calonau rhag pethau na bydd y *coliers* yn meddwl dim byd atyn nhw. Mi chwery y naill a'r llall â'r peryglon maent hwy 'n ymarfer â nhw bob dydd; ond dowch a'r naill i wyneb peryglon y llall, mae nhw mor ofnus a phlant bach. Dyna'r bobol sy'n dychrynu rhag prynu a gwerthu caethion o Affrica yn ymhyfrydu mewn hyny gartre'. Nid oeddynt wedi arfer â'r cyntaf, ond wedi hir gynnefino â'r olaf. Felly yn union y mae dynion yn caledu eu calonau ac yn serio eu cydwybodau wrth ymarfer â phechod. O! mae twyll mewn pechod, fel y dywed yr apostol, ac y mae twyll pechod yn caledu y galon."

"Ië," ebe Mrs. Harris, "ddarfu i chwi graffu fel yr oedd hi 'n dangos fel y mae 'r bobl barchus yn America yn dirmygu y rhai sy'n cario y fasnach ymlaen, pan mewn gwirionedd, wedi 'r cwbl, mai nhw eu hunain ydyw bywyd, esgyrn, a gewynau y fasnach. Codant eu dwylo mewn dychryn rhag y creulonderau, ac ar yr un pryd ymgynddeiriogant yn erbyn pwy bynag a geisio ddyddymu y *system* hono sydd yn fam i'r holl greulonderau hyny—creulonderau sydd yn anwahanol gysylltiedig wrthi—tra y pery hi, parhânt hwythau. Y fath anghysondeb gwrthun!"

"Dyna beth arall," ebe Thomas Harris, "fel y sylwodd Modryb Elin, y dynion yna 'n siarad yn groch yn erbyn y *slave trade* yn Affrica, ac yn ei gynnal a'i amddiffyn o yn eu gwlad 'u hunain. Mae nhw'n gwel'd y peth yn ddrwg yn Affrica, ond welan nhw mono fo gartre'. Mae nhw 'n union 'run fath a'r hen dwrne hwnw, pen aeth 'i gymydog ato fo i ofyn beth oedd i neyd, fod i wartheg o wedi tori i gae 'r twrne, a dyfetha peth garw o'i ŷd o. 'Wel, be sy neyd,' ebe y twrne, 'ond talu trysbas raid i chi, hyd lawn werth, be arall!' 'Stopiwch chi,' ebe 'r dyn, ''rydw i wedi cam ddeyd, y'ch gwartheg chi dorodd i nghae i.' 'O!' ebe 'r twrne, 'mater

arall hollol wahanol ydi hyny!' Felly nunion mae'r Mericans; soniwch wrthyn nhw fod rhyw bobl ereill yn cario 'r slaf trad ymlaen yn Affrica, O! mi godan 'u dwylo, a mi dro'n wỳn 'u llygid i fyny mewn dychryn rhag y fath beth; ond soniwch wrthyn nhw am 'u caethion eu hunen, O, mater arall hollol wahanol ydi hyny! 'Melldigedig fyddo Canaan,' medda nhw 'n union, a mi godan Abram a'r rheini o'u plaid. Ynd wfft fawr i'w bathe nhw!"

"Tae lawer o'r bobol yna yn dyfod trosodd i'r wlad yma, mi welent lawer o bethau barent iddynt synu a gofidio," ebe Modryb Elin. "Dwi 'n siwr y gresynai llawer un o honynt hwy tae nhw yn clywed Rhobet yma yn siarad mòr fras a hyll ag y bydd o; ac felly 'rydach chwithau wedi cynefino ag arfer iaith fras anweddus, fel nad ydach chi ddim yn gwel'd y drwg fel pobl eraill ynddi hi."

"Tawn i 'n cael gafel yn rhai o honyn nhw, mi nawn i achos iddyn nhw 'chrynud, mi siadwn 'n frasach ac yn hyllach nag y clowaist ti fi 'rioed, rwi'n siwr o hyny," ebe F'Ewythr Robert.

Ar hyn cododd Thomas a Margaret Harris, a James, i fyned adref; ond gorfu iddynt ymrwymo i ddyfod gyda James nos dranoeth, ac yn wir nid gwaith anhawdd oedd eu rhwymo, canys yr oeddynt wedi cael cymaint o ddifyrwch yn nghwmni yr hen bobl, fel y teimlent yn awyddus i ddyfod drachefn.

"Sut fu i ti fod mor ddistaw heno, Cati?" ebe F'Ewythr Robert, wedi iddynt fyned ymaith.

"Mi 'roeddwn i yn gwrando arnoch chi a modryb, a'r lleill, yn siarad," ebe Cati, "a 'blaw hyny, fase fo ddim yn beth hardd i mi siarad o flaen pobol ddierth."

"'Rwyt ti yn dy le yn union," ebe Modryb Elin, "ac y mae Jacki hefyd wedi bod yn ddystaw iawn heno."

"Diolch da iddo fo," ebe Cati, "yn tydio 'n cysgu fel mochyn es orie."

"Taw deyd anwiredd!" ebe Jacki, dan stwyrian, dylyfu gên, a rhwbio ei lygaid, ac ymaith ag ef i'w wely.

"Sut siort o ened sy gin y bachgen yma, pen fedre fo gysgu pen 'roedd y fath bethe 'n cael 'u hadrodd?" ebe F'Ewythr Robert.

"Mae llaweroedd o bobl yr un fath ag o," ebe Modryb Elin, "dynion nad ydyw eu meddyliau erioed wedi deffro, nad aeth dim goleu trwyddynt hwy erioed; mi ellwch ddarllen ar wedd eu gwynebau bod eu heneidiau heb agor eu llygaid er y dydd y ganed nhw; mi fedran gysgu, ne mi fyddan yn edrych fel bustachiaid, pan fyddo meddyliau digon nerthol i ysgwyd creigiau yn cael eu traethu; ond chwareu teg i Jacki, nid ydyw o ddim felly chwaith; mi glywch ambell i sylw ganddo fo fydd yn dangos tipin o ystyriaeth a theimlad."

## NOSON XI.

"TOMOS," ebe F'Ewythr Robert, wedi i Thomas a Margaret Harris eistedd i lawr wrth y tân, yn yr Hafod, yr hwyr hwn,—"Tomos, gin mai son am brynu a gwerthu dynion yr ydan ni, be fydde i mine brynu Jemi gynthoch chithe—mae gynthoch chi blant erill, toes gyntho ni 'run. Be gymrech chi am dano *fo*, Tomos? mi leiciwn ei gael o yn y nghalon; mi 'nawn i 'n fawr o hono fo—mi gae yr un byd a fi a'r hen wraig yma, a llyfre faint fyne fo."

"Na wn i 'n wir," ebe Thomas Harris, "leicie 'i fam mo'i werthu o, debyg cin i: er na naech chi ddim slaf o hono fo."

"Na, ni werthwn i yr un o mhlant," ebe Mrs. Harris, "y mae rhywbeth mor annaturiol yn y meddwl, rywsut, mi fydde 'n haws gen i ei roi o i chwi," F'Ewythr Robert, "na'i werthu o."

"Mi'ch coelia chi, Marged," ebe yr hen ŵr, "ond mi fydde'n haws gynthoch chi werthu un o'ch plant y'ch hun, na chymryd plentyn i bobol erill i'w werthu, rwy'n coelio."

"Yn wir mi fydde," ebe Mrs. Harris: "mae rhywbeth mwy arswydus i feddwl gneyd hyny na'r llall."

"Wel, sut andros na wele pobol 'Merica beth wel ene?" ebe F'Ewythr Robert, "mi wranta i 'rŵan tae rhwun yn ceisio gin rai o honyn nhw werthu 'u plant 'u hinen, y meddylie nhw fod y dyn ehwedi myn'd yn gynddeiriog—mi 'naen lygid a gwynebe rhyfedd; a tae rhwrai 'n dwad ac yn ceisio myn'd â'u plant oddarnyn nhw i'w gwerthud, mi äen yn gynddeiriog 'u hunen; ac eto mi feder y bobol ene werthud plant y bobol dduon, a gwerthud y gwŷr a'r gwragedd oddwrth 'u gilydd, heb feddwl dim byd ato fo, a mi fynan 'styried 'u hunen yn bobol barchus, onest, gyrfyddol, wedi'r cwbwl. Mwya fyddylia i am danyn nhw, mwya i gid rydw i 'n i ffieiddio nhw."

"Hir ymarfer â'r drwg sydd wedi cynnefino eu meddyliau âg ef, nes y mae wedi myn'd yn beth ysgafn yn eu golwg, fel y mae y llyfr yn deyd," ebe Modryb Elin.

"'Marfer ne beidio—dydi drwg y peth un blewyn llai, am hyny," ebe F'Ewythr Robert.

"Nid oeddwn yn meddwl hyny, Rhobet," ebe Modryb Elin, "ond ceisio dangos 'roeddwn i y perygl sydd o ymarfer â phechod a drygioni.

"Y mae'n ymddangos i mi," ebe Thomas Harris "eu bod yn edrych ar y negros fel eu hanifeliaid yn union—bod ganddynt hawl gyfreithlon i'w trin, a'u gwerthu, a masnachu arnynt fel y mynont."

"Felly deydodd Jemi wrthon ni y noson gynta," ebe F'Ewythr Robert, "'doeddwn i 'rioed chwedi meddwl fod y fath beth yn

y byd cin hyny, a mi glowsoch wel 'roedd yr hen byrgethwr hwnw, y daru fy hen ffrind i bwytho fo ar y stêm paced, yn deydyd, mai dene ydi trefn rhyglunieth, ac yn codi yr 'sgrythyr, 'Melldigedig fotho Canaan,' i gadarnhau 'i bwnc. Ond a ydyn nhw yn gallud meddwl, tybed, fod teimlade a dagre dyn du yn llai pethe 'ngolwg yr Arglwydd, na theimlade a dagre dyn gwŷn?"

"Mae 'n rhaid eu bod, gallem feddwl!" ebe Thomas Harris, "ne feiddien nhw ddim ceisio gweddïo na chymuno, fel y mae llawer o honynt yn arfer gneyd?"

"Tywelu 'u hinen y mae nhw i chi, drwy ddeydyd, 'Trefn rhyglunieth,' a 'Melldigedig fotho Cannaan,' a phethe felly, a thaflud y cwbwl felly ar gefn rhyglunieth a'r 'sgrythyr," ebe F'Ewythr Robert. Ac ebe fe ymhellach, "mi glowis i Neli yma yn darllen rhw 'sgrythyr bwrpasol iawn iddyn nhw rw ddwrnod yma. Sut y mae hi Neli?"

"Dydw i ddim yn cofio yrŵan," ebe Modryb Elin.

"Y 'sgrythyr hôno, wyddost, oeddwn i yn ddeyd mai 'sgrythyr i bobol y 'Merica o bwrpas oedd hi."

"O, rwy'n cofio yrŵan; hon oedd hi—'A phan estynoch eich dwylaw, mi a guddiaf fy llygaid rhagoch: hefyd, pan weddïoch lawer, ni wrandawaf; eich dwylaw sydd lawn o waed. Ymolchwch, ymlanhewch, bwriwch ymaith ddrygioni eich gweithredoedd oddi ger bron fy llygaid. Peidiwch a gwneuthur drwg; dysgwch wneuthur daioni. Ceisiwch farn, gwnewch uniondeb i'r gorthrymedig, gwnewch farn i'r amddifad, dadleuwch dros y weddw.'"

"Ië, dene hi," ebe F'Ewythr Robert, "mi leiciwn roid nene 'n destun i'r hen w'nidog hwnw i byrgethu arno fo; a mi leiciwn fod mewn cwarfod gweddi o honyn nhw, a rhwun i ddarllen y bennod ene ar 'i ddechre fo."

"Ni a allem feddwl mai gwaith go galed fydde i'r hen weinidog hwnw bregethu ar y fath destun a hwna, ne i bac o berch'nogion slafs geisio gweddïo, wedi clywed 'i ddarllen o. Mi aen' allan o un i un, tybed, fel cyhuddwyr y wraig hôno gynt, wedi eu pigo yn eu cydwybode," ebe Thomas Harris.

"Na wn i, 'n wir, welwch chi," ebe F'Ewythr Robert. "Mi fydde 'rhyglunieth,' a 'Melldigedig fotho Canaan,' gynthyn nhw wth 'u cefne, ydach chi 'n gwel'd."

"Ymhle yn y byd mae Jemi heb ddwad bellach?" gofynai F'Ewythr Robert.

"O! yn wir, mi anghofiais ddweyd," ebe Mrs. Harris; "all o ddim dwad heno; 'roedd raid iddo fyned i'r pentre, mae hi 'n noswaith glwb. Ni chofiodd o ddim am hyny neithiwr, Mi ddaw yma nos yfory."

"Wel, 'does mor help am dani, 'nte," ebe F'Ewythr Robert;

"rhaid i chi 'iste yma 'ch dau am dipin, a mi awn ymlaen hefo 'n sgwrs."

"Mi a ddarllenais heddyw yn y papyr newyddion, mae'r bachgen acw 'n ei dderbyn," ebe Mrs. Harris, "bod Duwces Sutherland wedi galw cyfarfod o *ladies* yn ei thŷ yno yn ddiweddar yma, a galw ar wragedd a merched y wlad hon i anfon cyfarchiad at wragedd a merched America, i erfyn arnyn nhw gymeryd achos y *slaves* at 'u calonau, ac arfer 'u dylanwad efo'r gwŷr a'r meibion, er dyddymu *slavery*."

"Gwaith da iawn, yn wir," ebe F'Ewythr Robert; "ond ddaru nhw neyd ?"

"'Roeddwn yn myn'd i ddweyd hyny wrthych," ebe Mrs. Harris. "Do, fe anfonwyd cyfarchiad tirion, caredig iawn, atynt, ac fe ymddangosodd yn eu papyrau newyddion hwy; ac fe dynodd sylw anghyffredin hefyd."

"Wel, sut 'roedden nhw yn 'i dderbyn o? Ydyn nhw 'n addo gneyd rhwbeth ?"

"Mae 'n ddrwg genyf ddweyd, F'Ewyrth Robert, ac y mae 'n gywilydd genyf dros fy rhyw, mai digio a brochi yn erwin mae nhw, ac edliw a dannod i'r wlad yma y pethau drwg sydd yma—peri i ferched Brydain edrych gartref—gymaint o dlodi ac o drueni sydd yn y trefydd mawrion; a hel pob peth felly i'w daflu i'n gwynebe ni."

"Wel, ffei o honyn nhw," ebe F'Ewythr Robert; "'roeddwn i 'n meddwl pethe gwell am y merched a'r gwragedd ono, na hyna. Oes, y mae yn y wlad yma lawer o bethe drwg, yn siwr ddigon—llawer o dlodi, a llawer o orthrymu; ond 'does yma ddim byd tebig i neyd ffeirie i werthu a phrynu gwŷr a gwragedd a phlant, wel 'nifelied. 'Does gynthon ni 'r un gyfreth i neyd nac i gadw neb yn dlawd ac yn drienus. Mae llywodreth a chyfreithie 'u gwlad nhw yn gneyd slafs, ac yn awdurdodi 'u prynu a'u gwerthu, eu chwipio, a'u saethu nhw hefyd, os ceisian nhw ddiengyd o'u gafaelion nhw. Gorthrymder y degwm a'r dreth eglwys ydi'r peth gwaetha sy'n perthyn i lywodreth a chyfreth y wlad yma, am wn i, a fedra i ddim gwel'd hwnw ddim byd yn debig cin waethed, er gwaethed ydi o—ac er cimin '*sentar* ydw ine,—a *slafri*. Mi faswn i 'n disgwil y base 'u gwragedd a'u merched nhw 'n ddiolchgar iawn i'n merched ni am 'u hannog nhw at y gwaith, a mi fasen nine 'n ddiolchgar am 'u help nhwthe, i gael 'mwared o'r degwm, a phethe drwg erill. A mi faswn i'n disgwil pethe 'mgenach oddiwrth y merched—mae y rhai sy'n siarad yn y llyfr ene, y rhan fwya beth bynag, o lawer, yn y mhlesio i 'n arw iawn."

"Y mae llawer fel arall, ysywaeth, F'Ewyrth Robert," ebe Mrs. Harris, "fel y cewch chwi glywed eto wrth i James fyn'd ymlaen; ac y mae llawer o ddynion, yn gystal a merched, yn wahanol i hyny hefyd, drwy drugaredd, yno."

"Tebyg iawn i'w gilydd ydyw calonau meibion a merched dynion," ebe Modryb Elin. "Nid oes gan y naill ddim achos i daflu careg at y llall."

"Y maent wedi lluchio llawer o geryg at eu gilydd, erioed," ebe Mrs. Harris; "ond yn fwy o ryw chwareu diniwed yn wastad nag o ddim arall; rhwng gwŷr a gwŷr, a gwragedd a gwragedd, y bydd rhyfel difrifol yn digwydd fynychaf. Y mae un *lady* yn America, gweddw y diweddar lywydd Tyler, yn lled fwgwth gwragedd y wlad hon, y codant hwy (y merched yno) eu gwŷr a'u meibion yn mhen ein gwŷr a'n meibion ni, os na byddwn ni 'n ddystaw, a gadael llonydd iddynt ynghylch y caethion."

"Glowch chi 'n wir!" ebe F'Ewythr Robert, "mae plwc yn y ddynes, ond oes? Ac mae hi 'n barod i fyn'd i ryfel trost *slafri*, ydi hi? Wel, yn wir, tae hi 'n myn'd yn rhyfel ar y mater ene, mi *listiwn* ine, er hyned ydw i, cin siwred a mod i yn y fan yma. A 's doe rhai o honyn nhw i gyredd ergid 'r hen wn ene, mi rown *shots* yn nghoese ambell un o honyn nhw."

"Ho, rhyw ryfelwr go ddiniwed wnaech chwi, F'Ewyrth Robert, mi feddyliwn," ebe Thomas Harris.

"Wel, leiciwn i ddim lladd 'r un o honyn nhw, rwsut, bae tawn i 'n digwydd taro wth yr hen Harli hwnw. Cawn i g'wlustra i nelu ato fo, mi gae spario 'r drafferth i brynud na gwerthud na gŵr, na gwraig, na phlentyn, 'r ol hyny, ys na ddigwydde 'r hen wn grogi tân."

"Tewch â'ch lol, da Rhobet," ebe Modryb Elin.

"Taw di a dy lol: welis i 'rioed siwn beth a thydi: 'rwyt ti am gadw pen 'rhen 'nghenwil ene o hyd," ebe F'Ewythr Robert.

"Yr ydwyf am i chwi siarad yn rhesymol a Christ'nogol," ebe Modryb Elin.

"Mae rheswm a Christ'nogaeth yn deydyd y dylen ni ladd pob ci drwg, a mae'r dyn ene 'n waeth na 'r un ci drwg y clowist ti 'rioed son am dano fo."

"Ond y mae gandde enaid i fyw byth," ebe Modryb Elin, "ac y mae barn a thragywyddoldeb o'i flaen o."

"Mi 'roedd yr hen Dwm Locer hwnw 'n meddwl nad oes un ened yntho fo—ac yn deydyd tase 'r cythrel yn cymryd canwyll i'w apio fo trwyddo, nad allse fo ffeindio dim fath beth ag ened yntho fo," ebe F'Ewythr Robert.

"Iê, ie, ond siarad adyn anystyriol a dideimlad oedd hyny. 'Y mae ysbryd mewn dyn,' a fe gaiff y dynion hyny a'u bath wybod, a chredu, a theimlo hyny hefyd, rywbryd. Ond dyna oedd yn taro ar fy meddwl," ebe Modryb Elin, yn mhellach, "y duedd sydd yn mhlant dynion bob amser erioed, i esgusodi eu hunain dan fantell beiau pobl eraill. Dyna wragedd America, 'rwan, pan ddywedid wrthyn nhw am fai mawr eu gwlad eu

hunain, yn dechreu dangos beiau 'r wlad yma 'n union. Pe buase nhw 'n addef y drwg, ac yn dangos bod yn ddrwg ganddynt hwy o'i herwydd o, ac yn addo gwneyd eu goreu i'w symud o, mi fuasai 'n briodol iawn iddynt hwy nodi ein drygau ninnau yn y wlad yma, a galw arnom ni i geisio diwygio y rhai hyny; ond y mae gwahaniaeth mawr, fel y dywedodd Rhobet, rhwng y ddwy wlad. Mae gorseddfainc y llywodraeth wedi ffurfio yr anwiredd o *slafri* yn gyfraith yn eu gwlad nhw, ond nid oes yma 'r un gyfraith yn sefydlu y drygau maent yn son am danynt; ac y mae yma lawer o gymdeithase da wedi eu hamcanu i leihau a symud y drygau rheini. Mae eu hiaith yn dangos i mi fod anerchiad gwragedd Lloegr wedi taro eu cydwybode nhw—maent hwy wedi digio, ac unwaith yr archollir cydwybod dyn fyddo 'n caru ei bechod, ac am lynu ynddo, mae o 'n siwr o ddigio yn ofnadwy, a myn'd i chwilio am feiau 'r neb fyddo 'n ei argyhoeddi o."

"Ar yr un pryd," ebe Mrs. Harris, "yr wyf fi 'n coelio y gwna 'r anerchiad les, fel moddion i godi ac i gadw y peth mewn sylw. Y mae yn dda 'u cael hwy i deimlo, er mai teimlo 'n ddigofus y maent. Y mae eu gweled yn gwingo yn brawf fod y symbylau yn pigo, ac mi gant hwythau brofi mai gwaith caled fydd gwingo yn eu herbyn yn hir. Y mae yn amlwg fod rhagluniaeth wedi darparu llyfr Mrs. Stowe i fod fel baner, ac fel udgorn, i gynnull y cenedloedd oll yn erbyn caethiwed yn America, ac, 'Wele, ar frys yn fuan y daethant, wrth lais yr udgorn, at y faner.'"

"Trueni mawr na byddai dwylaw a genau America yn lân," ebe Thomas Harris. "Ni byddai un wlad mor ardderchog dan haul a hi, oni b'ai yr anferthwch o *slafri* sydd ynddi; pe ymolchai ac yr ymlanhäai oddiwrtho, gallai godi ei gwyneb yn ddifrychau o flaen y byd wedi hyny, ac mi fyddai nerth a chysondeb yn ei dadleuon hi dros y rhai gorthrymedig yn Hungari ac Itali, a lleoedd felly. Ond tra y bo hi 'n llochi 'r wiber o gaethwasiaeth negroaidd yn ei mynwes, da y gall gorthrymwyr Ewrop ddweyd wrthi, fel y maent wedi dweyd cyn hyn, 'Y meddyg, iacha dy dŷ dy hun."

"Wel, 'rydach chi 'n deyd rheswm da, Tomos," ebe F'Ewythr Robert. "Nwn i ddim sut wyneb sy gin lwodraethwrs 'Merica i son am rydid, nac i ddeyd 'r un gair 'n erbyn gythrymwrs gwledydd erill, tra botho nhw 'n dal *slafri* i fyny: mi fydde 'n harddach iddyn nhw dewi o'r hanner, a dyleu 'r gair allan o iaith 'u gwlad, ne ddyleu caethiwed o honi hi. Ond mi ddeyda i chi be liciwn i yn y nghalon i wel'd—ne glowed, hwrach, ddylswn i ddeyd—clowed bod yr hen borthmon 'bacco chwedi i 'neuthur yn *bresdent*: ond y fo nae drefn arnyn nhw—mi ddysge fo iddyn nhw roid rhw 'sponiad arall ar yr adnod hono—'Melldigedig fotho Canaan,' ac ar 'ryglunieth,' a phethe felly, toc!"

"Mi ddeyda i chi beth, F'Ewyrth Robert," ebe Thomas Harris, "mae llawer o bobol i'w cael yn y wlad yma, o'r un ysbryd yn union a'r bobol sy'n cadw caethion yn America. Mae nhw ono 'n meddwl fod y bobol dduon wedi eu gwneyd o bwrpas at eu gwasanaeth a'u cyfleusdra nhw, a bod yn eitha iawn iddyn' nhw 'u trin nhw, fel maent yn arfer gwneyd. Wel, felly mae llawer yn y wlad yma, fel y masnachwr hwnw yn y Deheudir, y daeth gŵr mawr ato i geisio 'i fôt o, y lecsiwn ddwaetha."

"Wel, py sut 'roedd hyny?" ebe F'Ewythr Robert.

"Wel, mi 'roedd y gŵr mawr yn ceisio 'i fôt o, i chi; ond mi 'roedd fôtio 'r ffordd yr oedd o yn ceisio 'n beth pur groes i feddwl y masnachwr, ac 'roedd o wedi bwriadu fôtio efo 'r ochor arall; ond sut bynag, rhag ei ddigio, mi 'ddawodd beidio fôtio gyda 'r un ochor. Wel, hyny fu y tro hwnw; ond beth bynag, diwrnod y lecsiwn a ddaeth, ac mi 'r oedd hi yn boeth iawn, a mi aeth y gŵr mawr at y masnachwr, ac mi ddeydodd wrtho fo y bydde raid iddo fyn'd yn union deg, a rhoi 'i fôt y ffordd y myne fo iddo fo neyd. Nid oedd wiw dadlu eu bod wedi cytuno â'u gilydd o'r blaen iddo fo beidio a fôtio—myn'd oedd raid iddo. 'Wel,' ebe y masnachwr, 'mae hyny yn beth na allaf fi mo'i wneyd ar un cyfrif yn y byd; mae yn ddigon poenus i mi beidio a fôtio dros yr ochor arall.'

'Pa ham nad ellwch ei wneyd?' gofynai y llall.

'Y mae yn beth croes i'm hegwyddorion a'm cydwybod,' ebe y masnachwr.

'*Egwyddorion a chydwybod!*' ebe y llall, yn ffromllyd a dirmygus. 'Beth sy a wnelo pobol o'ch bathe chwi a son am egwyddorion a chydwybod?'

"Twymnodd hyn waed y masnachwr—ac ebe fe, 'Sir, deuwch gyda mi i'r *polling booth* yna, a mi a ddangosaf i chwi,' ac ymaith âg ef rhag ei flaen, a rhoddodd ei fôt yn ol ei egwyddorion a'i gydwybod. Ond yr oeddwn i 'n adrodd y peth yna fel siampl, i ddangos fel y mae llawer, ysyweth, yn perthyn i bob plaid yn y wlad yma yn edrych ar ddynion fel creduriaid na ddylent feddwl am feddu na barn na chydwybod o'r eiddynt eu hunain, ond bod yn offerynau i'w trin a'u defnyddio fel y gwelo eraill yn dda. A'r un ysbryd ydw i 'n wel'd mewn peth fel yna, ag sydd yn mistradodd y caethion yn America."

"'Run peth 'n inion ydi o, Tomos," ebe F'Ewythr Robert; "a mi carian o mor bell allan hefyd a mae 'n bosib iddyn nhw neyd. Mae cyfreithie 'n gwlad ni 'n condemio 'r peth, yn siwr; ond y maent 'n cael 'u tori 'n amal. Mi glowis ddyn welodd y peth yn deyd, fod gŵr byneddig, y lecsiwn ddwaetha, wedi hel 'i hollt dynantied oedd yn perchen fôt i'r un lle, ag ono yn 'u gyrud wel pac o fystachied, i'w *polio*. Mi 'roedd o 'i hun yn myn'd ar gefn ceffyl o'u blaen nhw, a'r stiwart ar gefn ceffyl

y canol, a'r mab hyna ar 'u hole nhw. Mi 'r oedd y fath olwg yn gwilidd gwlad i'w gwel'd, ac i feddwl am dani."

"Perthyn i ba ochr yr oedd o?" gofynai Thomas Harris.

"Ochor yn wir! Waeth pwy ochor—mi neith y naill ochor a'r llall gastie drwg wel hyn gystal a'u gilidd. Y peth! y peth 'i hunan ydi 'r drwg, lle bynag y botho fo. A fedra i ddim dallt sut y mae pobol yn cym'ryd 'u trin wel hyn yn yr oes a'r dyddie yma. Taswn i yn lle un o honyn nhw, mi faswn yn fôtio efo'r ochor arall, tase hyny 'n groes i meddwl i, 'n inig er danos iddyn nhw mod i 'n ddyn, a na fynwn i mo 'nhrin wel nifel."

"Mi fasech chithe ar eich colled, F'Ewyrth Robert," ebe Mrs. Harris.

"Colled, yn wir!" ebe yr hen ŵr; "mi fase well gin i golli pob peth na cholli nynolieth! Rown i ffeuen am ddyn na neith actio *wel* dyn."

"Rhaid i chwi gofio," ebe Modryb Elin, "nad felly mae holl fawrion ein gwlad ni, chwaith; mae llawer o rai ystyriol a theimladwy iawn o honynt, yn *wigs* ac yn *doris*—dynion na fynent dreisio a gwasgu cydwybode eu tenantied a'u gweithwyr ar un cyfri; ac y mae rhei'ny yn deilwng o bob parch."

"Ydynt," ebe Mrs. Harris, "ac y maent yn cael eu parchu hefyd."

"Mae 'n clochydd ni," ebe F'Ewythr Robert, "'n rhoid rhw babyr sy'n dwad allan es tipyn, i Gydwalad Ifan, y felin, bob wthnos; a mi 'roedd Cydwalad yn deyd na feder o gyfflybu mor papyr hwnw i ddim ond i fochyn chwedi colli 'i go, yn hwchian ac yn gwawchian, heb na dawn, na synwyr, na rheswm, na rhawn, na bogel gyntho fo; a ni chlowis i 'rioed fath gyfflybieth o'r blaen. Mae mochyn, pan fotho fo yn 'i go, yn gyradur digon ffol ac anstowallt; ond mi fydde mochyn chwedi colli arno 'i hun 'n beth rhyfedd iawn, 'ddyliwn i. A cheisio dysgud pobol i gym'ryd 'u trin yn dawel wel y leician nhw, mewn pethe gwladol a chyrfyddol, ydi amcan y papyr, medde Gydwalad; a thrin a thyfodi pawb wel terfysgwrs a gwrthryfelwrs, a fyno farnud ac actio trosto 'i hun."

"O! nid yw y papyr hwnw 'n werth i neb wneyd sylw o hono fo," ebe Thomas Harris; "mi fydde 'n gwilidd gan un dyn fydde ganddo ddim parch i reswm a gwirionedd ei dderbyn o i'w dŷ. Mae yn syn gen i sut wynebe na chydwybode sy gan neb, pan gefnogen nhw 'r fath beth. Mi glywis fod llawer o bersoniaid wedi dwyn tystiolaeth yn ei erbyn o, a chlod iddyn nhw hefyd am hyny; a bod yr Archddiacon Williams, gŵr boneddig dysgedig iawn, a gŵr eglwysig hefyd, wedi siarad yn gry iawn ar y mâter."

"'Roedd Cydwalad yn deyd i mi," ebe F'Ewythr Robert, "mai rhw scarthion a gwyhilion chwedi 'u bwrw allan odd'wrth

'r enwade yma sy'n 'sfenu y rhan fwya iddo fo; a tydi o ddim rhyfedd yn y byd, os felly mae hi, i fod o'n beth isel a dirmygus. 'Wel y botho dyn y bydd i lwdwn,' medde 'r hen air."

"Wel, gadewch iddynt," ebe Modryb Elin. "Mae 'r gŵr doeth yn dweyd, 'Na cherydda watwarwr rhag iddo dy gasau.'"

"Ydyw," ebe Mrs. Harris, "ond y mae yr un gŵr doeth yn dweyd, 'Taraw y gwatwarwr, a'r ehud a fydd callach;' ac er mai gwaith ofer fyddai ceryddu dynion fel hyn, fe ddylid eu taro weithiau trwy yr argraffwasg, nes y teimlont; ac y mae yn amlwg, wrth y nadau a wnant yn y papyr y soniwyd am dano, eu bod yn teimlo pan eu tarawer. Mae un peth da iawn yn ei gysylltiad â hyn, hyny ydyw, mai 'r dynion gwaela, a mwya diddawn, a didalent, sy'n troi allan fel hyn—dynion diegwyddor a difeder, fel y dywedwn ni, nad oes dim gwaith na swydd yn rhy isel ganddynt i ymweithio iddi. Cymerant arnynt eu bod yn credu holl ynfydrwydd Puseyaeth, a dadleuant a thaerant trostynt, a dywedant bob drygair yn erbyn Ymneillduwyr, eu bod yn waeth na lladron a meddwon, os meddyliant yr ennillant ffafr yr esgob, a'r deon, a rhai o'r mawrion trwy hyny. Cymerant hwythau eu gwasanaeth, a thalant iddynt rywfaint am dano; ond coeliwch chwi fi, y maent yn dirmygu ac yn ffieiddio 'r dynion yn eu calonau ar yr un pryd."

"Does dim posib lai," ebe Modryb Elin, "dyna fel y teimla pawb yn wastad tuag at ddynion diegwyddor a bradwrus; ac y mae 'r dynion yn gorfod ffieiddio a dirmygu eu hunain hefyd, yn eu mynydau sobr; a does greadur mor druenus yn bod a'r dyn hwnw sydd wedi gwneyd ei hun yn ddibarch yn 'i olwg ei hunan; ond tra y rhaid i ni ffieiddio eu hymddygiade, ni a ddylem dosturio dros eu cyflyre."

"Wel, yr ydach chi wedi myn'd ymhell iawn oddiwrth y'ch pwnc es meityn," ebe Cati; "son am y caethion yn y Merica 'roeddech chi yn y dechre, ond 'rydach chi wedi dwad trosodd i'r wlad yma, i son am lecsiwns, a phethe felly."

"Gad i hyny fod, Cati," ebe F'Ewythr Robert, "'ryda ni ar *scent* y llwynog o hyd. 'Ran hyny, ddaru 'rhen *fembar* pal'ment trost y sir yma cystal a'n gwerthud ni, bob ened a chorff o honon ni, i'r *membar* newydd, pan oedd o 'n rhoid i le i fyny—bargen rhyngthyn nhw 'u dau oedd hi."

"Mae llywodraeth a chyfreithiau ein gwlad ni, faint bynag o anmherffeithrwydd sydd ynddynt, yn rhagori yn fawr, ag ystyried pob peth, ar bob llywodraeth a chyfreithiau ar y ddaear," ebe Mrs. Harris. "Hyny fydda fi yn i wel'd yn beth gogoneddus iawn yn llywodraeth Prydain, ei bod yn ystyried hawl yr holl ddeiliaid yn gyfartal, a'i bod yn ddinas noddfa i ffoaduriaid gorthrymedig o wledydd eraill; ac ychydig flynyddoedd yn ol yr oedd y rhan fwyaf o orthrymwyr gwledydd y Cyfandir y

rhedeg yma am eu heinioes, a pheth rhyfedd oedd gweled y gorthrymwyr a'r gorthrymedigion yn llechu am nodded dan gysgod adenydd ein llywodraeth ni, ac mor dawel a diniwed, am y tymmor hwnw, ag oedd y bwystfilod ysglyfaethus a'r anifeiliaid gyda'u gilydd yn arch Noa. A'r foment y cyrhaeddo caethwas ffoedig ryw diriogaeth sy'n perthyn i Brydain Fawr, dyna 'i holl gadwynau'n chwilfriw mân, ac yntau yn ŵr rhydd;—unwaith y sango ar dir yr hen John Bull, gall hèrio gwaethaf Jonathan wed'yn."

"Mae hyn yn sicr yn beth y gallwn fod yn falch o'n gwlad, ac yn ddiolchgar trosti am dano," ebe Modryb Elin. "Y mae Brydain yn y peth yna rywbeth yn debyg i'r efengyl, sydd yn rhyddhau cyflwr euog pechadur o gaethiwed pechod a llygredigaeth—y fynyd y diango yr enaid o wlad ei gaethiwed trwy gredu yr efengyl, y mae yn dyfod i ryddid y gwirionedd—rhyddid gogoneddus plant Duw, fel nad ydyw mwyach dan bechod, a than y ddeddf, ond dan ras. 'Ac wedi ei ryddhau oddiwrth bechod, a'i wneyd yn was i gyfiawnder, y mae iddo ei ffrwyth yn sancteiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tragywyddol.' Y mae lle i obeithio fod llawer o gaethion America yn adnabod y rhyddid ysbrydol hwn, tra y mae eu meistriaid creulawn, sydd yn eu gorthrymu, yn *slafied* diafol a phechod."

Ar hyn cododd Thomas Harris a Margaret Harris i fyned adref, dan addewid i ddyfod gyda James y tro nesaf.

---

## NOSON XII.

ATTELID James Harris i dalu ei ymweliad bwriadol â'r Hafod yr hwyr nesaf, gan alwad i fyned oddicartref i Loegr, yr hyn a'i cadwodd dros ychydig nosweithiau. Cyn iddo ddychwelyd adref, yr oedd Rhys Puw, y teiliwr, wedi dyfod i'r Hafod i weithio pâr o ddillad gauaf i F'Ewythr Robert, a chadwodd cwmnïaeth Rhys yr hen ŵr yn lled ddiddig a dyddan, yn absennoldeb ei gyfaill ieuanc. Testun ymddyddan y ddau, gan mwyaf, ydoedd hanes "Caban F'Ewythr Tomos." Bu agos i'r ddau fyned benben unwaith, o herwydd i'r teiliwr gymeryd arno ei fod wedi darllen y llyfr hwnw er's pymtheng mlynedd yn ol."

"Taw a deyd celwydd," ebe F'Ewythr Robert, "'does mor blwyddyn es pan ddoeth y llyfr allan gynta 'rioed."

"'Ryda chi 'n misio 'n arw, F'Ewyrth Rhobet," ebe'r teiliwr, "mi darllenis i o bob gair es pymtheng mlynedd, 'rydw i 'n deyd i chi."

"'Rwyt ti 'n deyd anwiredd, 'rwy'n coelio," ebe F'Ewythr Robert. "Prun ai yn Gymraeg ai yn Sasneg y darllenis ti o, Rhys?"

"Yn Gymraeg," ebe 'r teiliwr, "alla i ddim gneyd rhw lawer o drefn o'r Sasneg yma?"

"Na elli, ddyliwn," ebe F'Ewythr Robert. "Ond dwi 'n siwr na ddyrllenist di mor llyfr ene 'rioed yn Gymraeg; tydi o ddim wedi 'i g'feithu eto."

"Pw! ydi es talwm iawn," ebe y llall. "'Doeddwn i 'n cofio fawr ddim byd am dano fo nes i chi ddechre deyd yr hanes—mi gofis yn union wed'yn."

"Wel, wel, ni a'i gadawn hi yn y fan ene, rŵan," ebe F'Ewythr Robert, "mi ddaw James Harris yma heno, a mi gawn wbod gyntho fo, a gwae i ti, ys wyt ti 'n deyd anwiredd; ond fyddi di ddim ond ar d'arfer, ran hyny."

Yr oedd y teiliwr wedi gweled ei hun yn y fagl erbyn hyn, ac ewyllysiai wneyd esgus i fyned ymaith, cyn i James Harris ddyfod yno, ond hyn ni oddefai F'Ewythr Robert ar un cyfrif; yr oedd wedi lled ammheu mai ofn cael ei ddal oedd ar y nodwyddwr, a phenderfynai yr hen ŵr ei gael i'r rhwyd.

James Harris a ddaeth, ynghyd â'i dad a'i fam, erbyn yr amser gosodedig; a chyda darfod iddynt eistedd i lawr,—

"Wyddost ti beth ddeydodd Rhys yma wrtha i, Jemi," ebe F'Ewythr Robert.

"Na wn i 'n siwr," ebe James.

"Wel, mi ddeydodd i fod o chwedi darllen y llyfr ene, 'Caban F'Ewyrth Tomos,' es pymtheng mlynedd."

"Mi darllenodd o agos i bymtheng mlynedd cyn erioed ei ysgrifenu ynte," ebe James.

"Ha! ha! ha! 'roeddwn i 'n meddwl mai felly 'roedd hi," ebe F'Ewythr Robert.

Yr oedd y teiliwr erbyn hyn yn ddrwg ei gyflwr, ac mor anesmwyth a phe buasai yn eistedd ar nodwyddau dur.

"Camgymeryd 'r oeddwn i," ebe fe—"am ryw lyfr arall 'roeddwn i 'n meddwl."

"Taw, taw," ebe F'Ewythr Robert, "wiw i ti geisio 'i chonstro hi wel ene, 'rwyt ti 'n rite *fast.* Be sydd ar y tlwried yma am ddeyd celwydd? Mi ddeyda i ti 'rŵan, Jemi—mi fydda i 'n wastad yn danwon am Rhys i ddwad yma i weithio, pan fydda i 'n gwel'd Neli 'n myn'd â'r dafedd i dŷ 'r gwŷdd, a mi 'ddawith ddwad rwsnos nesa 'n ddiffael; ond mi fydda i 'n gwbod o'r gore y bydd raid iddo fo gael hanner blwyddyn o amser i ddeyd celwydd. Dene 'r gwŷdd, mi 'ddewith hwnw am chwarter blwyddyn heb gwiro 'n wastad; a'r panwr chwed'yn dri mis arall; ond mi ddeydith Rhys ddigon o gelwydd i aped i'r ddau. Aros di, Rhys, efo pwy buost ti 'n brentis dwed? efo 'r hen Ffranco, 'nte? Mi gymist dy ddysg yn siou; mi 'rwyt ti 'n fistar corn ar yr hen Ffranco am ddeyd streuon; mi fydde rhw ddal ar Ffranco, chware teg iddo fo, ys bydde fo'n myn'd dipin trost yr

hic weithie, ond mi ddeydist ti gelwydd am bob pwyth roist ti 'rioed. Bryd y gwelist ti 'sbrydion ddwaetha, Rhys?"

"Fyddwch chi 'n gwel'd ysbrydion weithie, Rhys?" ebe Thomas Harris.

"Gwel'd 'sbrydion!" ebe F'Ewythr Robert, "bydd: mi welodd filodd o honyn nhw 'rioed, os coeliwch chi o—mae o 'n 'u nhabod bod ag un, mi allech feddwl wrth i glowed o 'n siarad am danyn nhw. Credu mewn 'sbrydion a *witches* ydi crefydd Rhys."

"Mae 'r hen grefydd wirion hono wedi darfod o'r wlad, agos," ebe Mrs. Harris,

"Ewch chi i ardal Llanegryn, a ffordd hono, mi gewch ddigon o honi hi," ebe F'Ewythr Robert.

"Mae 'n beth rhyfedd iawn fod pobol sydd â'r Beibl yn eu dwylaw yn rhoi coel i'r fath bethe," ebe Modryb Elin. Mi fydd yn gywilydd ac yn ofid gen i feddwl fod y fath weddillion o'r oesoedd tywyll yn aros eto yn un cŵr o'n gwlad ni. Mae yn beth dychrynllyd fod neb y dyddiau yma mor ofergoelus a chredu y fath bethe, ac mor annuwiol a myn'd at rai fydd yn cym'ryd arnynt ddeyd ffortun, a phethe felly. Mi ddyle'r pregethwyr a'r cyhoeddiade, ac athrawon Ysgolion Sabbothol, ddeyd mwy yn erbyn rhyw ffiaidd bethe o'r fath, nes eu gyru nhw i gywilydd a gwarth. 'Doedd o ddim yn beth mor ryfedd i feddwl fod ein tadau ni 'n rhoi coel i'r fath bethe, pan nad oedd fawr o foddion gwybodaeth yn y wlad. Ond y mae 'n gysur meddwl eu bod nhw 'n gwywo ac yn darfod. Fe yrodd yr Ysgol Sul nhw i ffoi, ac y mae eisio iddi hi, a'r lleill, ymwneyd ati i ymlid y gweddillion o honyn nhw yn llwyr o'r wlad."

Yr oedd y teilíwr, druan, erbyn hyn mewn lle poeth, ond ceisiai wasgu'r glust, fel y dywedir, heb ddywedyd dim. Pwythai arni yn brysur iawn; ond yr oedd wedi dyrysu cymaint, fel erbyn iddo edrych, yr oedd wedi gwnïo darn o'r wasgod wrth gorff y *goat*. Yr oedd James Harris wedi sylwi ar yr amryfusedd er's enyd, ac ar ymdorri gan chwerthin; a phan welodd benbleth y teiliwr wedi iddo weled ei drwstaneiddiwch, ni allai ymattal yn hwy—torodd y ffrwd allan yn gefnllif o chwerthin."

"Be sydd yn darfod i ti James," ebe ei fam. Gyrai hyn James i chwerthin yn waeth drachefn, a thaflodd ei olwg at y teiliwr, yr hwn oedd erbyn hyn yn brysur ar waith yn dattod ei bwythau. Canfu llygaid craff Cati anffawd y teiliwr, a dechreuodd guro ei dwylaw a chrechwenu."

"'Drychwch, 'drychwch, be naeth Rhys," ebe hi.

"Wel, ar y ngair gwir i, Rhys," ebe F'Ewythr Robert, "be neist ti dwad? ai o dy go las 'reist ti? Dyma fo wedi spwylio nillad i! Gwel'd 'sbrydion ddaru ti 'rwan, debic cin i,—mi rwyt ti am neyd ysbryd o hona ine ddyliwn, i chrynud pobol hyd y

ffyrdd ene. Mi bwythi lewis y gwat wrth wasbant y nghlos i y tro nesa, ys na 'drycha i attat ti."

"Gadewch lonydd i Rhys," ebe Modryb Elin, "'rydach chi yn ddigon i foedro y dyn."

"Wel, Rhys, Rhys," ebe Cati, "ni chewch chi ddim llonydd byth ar ol y tro ene; mi 'rydach chi a Jacki yma yn ddau debig iawn i'ch gilydd. Blwyddyn i'r gaua yma, mi 'roedd ar f'ewyrth isio cochwyn yn bur fore i fyn'd i Ddolgelle, a mi alwodd ar Jacki cin dydd i roid y cyfrwy ar gefn Darby; a mi aeth ynte allan rhwn cwsg ag effro, ddyliwn; a mi eis ine allan toc ar i ol o i odro; ac erbyn i mi fyn'd i'r beudy, be welwn i ond Jacki wedi rhoid y cyfrwy ar gefn y fuwch; a dene lle 'roedd o 'n bystachu, pan eis i fewn, yn ceisio rhoid y ffrwyn yn 'i phen hi. 'Be 'rwyt ti 'n geisio neyd, Jacki?' meddwn i. 'Ond rhoid ffrwyn y'mhen 'rhen gaseg yma, tawn i yn medrud,' medde fo; 'welis i 'rioed siwn beth, mae fel tae gyrn chwedi tyfu ar i phen hi!' 'Be sy ar y maul gin ti?' meddwn ine, 'wyddost ti ddim mai y fuwch sy gin ti?' 'Y fuwch!' medde fo, dan rwbio 'i lygid—'wel, ie 'n wir, dybygwn i, mi ddois i'r beudy yn lle i'r stabal.'"

Trodd hyn ffrwd y chwerthin oddiwrth Rhys at Jacki, a theimlodd Jacki ef i'r byw, canys efe a gipiodd ei het, ac a aeth allan mewn digter llidiog; a chafodd Cati ddarlith finiog gan ei modryb ar y testun—attal y tafod.

Ar ol y pethau hyn galwyd ar James Harris i ddechreu ar ei adroddiad.

"Wel, ni a ddilynwn ychydig ar helynt F'Fwythr Tomos," ebe James."

Rhydd yr awdures, yn nechreu y bennod sydd i fod tan ein sylw heno, ddesgrifiad bywiog a difyrus o'r afon fawr y Mississippi, ar hyd yr hon yr oedd yr agerlestr a gludai F'Ewythr Tomos, a'i gydymdeithwyr, yn mordwyo. Y Mississippi ydyw yr afon fwyaf yn yr holl fyd. Y mae ei rhediad, o'i tharddiad i'r môr, dros dair mil o filltiroedd. Ar ei thaith, derbynia lawer o afonydd mawrion iddi; llifeiria trwy wastattir eang a bras, lle y gallai cynnifer o drigolion ag sydd yn poblogi holl wledydd Ewrop gyfanneddu. "Pa afon arall yn yr holl fyd," medd Mrs. Stowe, "sydd yn cludo ar ei mynwes i'r môr gyfoeth a masnach unrhyw wlad gyffelyb i'r Taleithiau Unol—gwlad ag y mae ei chynnyrchion yn cynnwys yr oll rhwng y trofanau (*tropics*) a'r pegynau. Y mae y dyfroedd lleidiog hyn, gan brysuro, ewynu, a rhwygo eu ffordd ymlaen, yn dwyn mawr gyffelybrwydd i'r gorllanw mawr o drafnidiaeth a ddygir ymlaen ar eu hwyneb gan genedlaeth o bobl llawer mwy bywiog ac anturiaethus na'r un a welodd yr hen fyd erioed. Ah! gwyn fyd na buasai eu bod yn dwyn y clud arswydus o ddagrau y gorthrymedig, och-

eneidiau y digymhorth, chwerwon ymbiliau trueiniaid tlodion anwybodus, i glustiau Duw nad adwaenant, yr hwn, er yn anadnabyddus, anweledig, a dystaw, a ddaw allan o'i fangre ryw ddydd i waredu ac achub trueiniaid y ddaear."

Ar hyd yr afon fawreddig hon, brenines afonydd y ddaear, y rhwyga yr agerlestr ei ffordd ymlaen, gan bwffio mwg ac ager o'i genau a'i ffrcenau, a thisian a phesychu yn awr ac eilwaith. Y mae ei bwrdd yn llwythog o nwyfau ac ymfudwyr; cryn waith ydyw dyfod o hyd i'n hen gyfaill, F'Ewythr Tomos, yn nghanol y fath dryblith ag sydd ar ei bwrdd. Ond ni a'i cawn ef o'r diwedd mewn cilfach fechan ar y bwrdd uchaf, yn nghanol y bwrneli cotwm.

Yr oedd ei ymddygiad tawel, diniwed, a llonydd, drwy yr holl daith, ynghyd â'r gair da a roddasai Shelby iddo, wedi ennill graddau o hyder ynddo yn meddwl hyd yn nod y fath ddyn a Haley. Gwyliai ef yn fanwl iawn bob dydd, ar y cychwyn, a dodai lyffetheiriau am ei draed bob nos; ond parodd ymostyngiad amyneddgar, ac ymddangosiad ymostyngar a boddlongar Tomos iddo roddi heibio wneuthur felly o dipin i beth, a gadael ei ryddid iddo i fyned a dyfod ar y bwrdd fel y dewisai. Yr oedd drwy ei ymddygiad hawddgar, a'i barodrwydd i roddi llaw o help i'r dwylaw ar y bwrdd, pan fyddai anghen am hyny, wedi ennill eu serch hwy oll; neidiai ymlaen yn union pan welai y gallai fod o ryw wasanaeth iddynt. Pan na byddai dim iddo i'w wneyd, dringai i fyny i gilfach rhwng y bwrneli cotwm ar y bwrdd uchaf, lle y diwyd ddarllenai ei Feibl. Sancteiddiodd y gilfach fechan hono, drwy fyfyrdod a gweddi; a dyma lle yr ydym yn ei ganfod yn awr.

Am tua chan' milltir uwchlaw New Orleans y mae yr afon yn uwch na'r tir oddiamgylch, fel y gall yr ymdeithiwr oddiar fwrdd y llestr, megys o ben castell, arolygu yr holl wlad dros lawer o filltiroedd o gylch. Yr oedd Tomos, fel hyn, megys pe buasai darlunlen o'r bywyd oedd yn ei aros wedi ei lledu o'i flaen yn y planigfeydd lliosog a welai. Gwelai y caethion draw ymhell wrth eu llafur caled yn y planigfeydd hyn, a'u pentrefi cabanog yn rhesi hirion ar lawer planigfa, encyd oddiwrth dai gwychion a mwthrodfeydd y meistriaid. Fel yr edrychai ar y delweddau hyn, llamai ei galon yn ol i Kentucky—ei hen gartref, y tŷ, a'r teulu, a'i gaban bach ei hunan gynt, lle y gadawsai ar ol yr oll oedd werthfawr ac anwyl ganddo ar y ddaear. Yno gwelai, yn ei feddwl, wynebau ei hen gymdeithion, y rhai a gynnyddasant gydag ef o'u babandod; edrychai megys ar ei wraig ddiwyd yn darparu eu hwyrbryd i'r teulu, clywai chwerthiniad llawen ei fechgyn gyda'u chwareuon, a dystaw drydar y baban bach ar ei liniau; ac yna ar darawiad diflanai y cwbl—cuddid y planigfeydd o'i olwg gan y cedrwydd talion, a chlywai dwrf tuchanllyd yr

agerbeiriant, oll megys yn dywedyd wrtho bod y bywyd hwnw wedi myned heibio am byth iddo ef. Dan amgylchiad cyffelyb, buasech chwi yn ysgrifenu at eich gwraig, ac yn anfon cenadwri at eich plant; ond ni allai Tomos ysgrifenu; nid oedd un llythyr-gerbyd iddo ef, ac yr oedd gagendor ei wahaniad yn gyfryw nad oedd yr un bont o gymaint a gair tirion neu arwydd o garedigrwydd i fyned trosto. A ydyw yn rhyfedd, gan hyny, os disgyna rhai dagrau heilltion tros ei ruddiau ar ei Feibl, fel y mae yn agored o'i flaen ar fwrnel o gotwm, ac fel y mae ei lygad yn araf ganlyn ei fys o air i air? Yr oedd Tomos mewn oedran pan ddysgasai ddarllen, ac felly nid oedd ond darllenwr annyben—elai ymlaen o adnod i adnod dan ymlusgo megys. Yr oedd yn ffortunus iddo ef bod y llyfr a ddarllenai yn gyfryw na all darlleniad arafaidd lesteirio ei effaith: na, mae y llyfr sydd â'i eiriau fel afalau aur, yn anghenrheidiol i gymeryd pwyll uwch ei ben, a phwyso pob gair ar ei ben ei hun, fel y gallo y meddwl adnabod eu gwerth anmhrisiadwy. Gadewch i ni ei ganlyn am fynyd, fel y pwyntia at bob gair, ac yr acena y naill ar ol y llall yn hanner uchel; efe a ddarllena, "Na—thrall—oder—eich—calon:—yn—nhŷ—fy—Nhad—y—mae—llawer—o—drig—fanau.—Yr—wyf—fi—yn—myned—i—barotoi—lle—i—chwi."

Yr oedd calon Cicero, pan gladdodd ei anwyl a'i unig ferch, mor llawned o alar diffuant ag oedd calon Tomos; hwyrach, ddim yn llawnach, canys dynion oeddynt eu dau; ond ni allai Cicero fyfyrio uwch ben y fath ymadroddion gobeithlawn, ac edrych ymlaen at y fath adgyfarfod mewn byd arall; a phe y gwelsai hwy, deg i un y buasai yn eu credu. Buasai yn llenwi ei ben, yn gyntaf, â mil o ddyrus gwestiynau ynghylch dilysrwydd awdurdod y cynysgrif, a chywirdeb y cyfieithiad; ond i Tomos, druan, yno yr ydoedd o'i flaen yr hyn yr oedd arno anghen am dano, yn wirionedd mor eglur a dwyfol, fel nad oedd bosibl i ammheuaeth byth godi i'w feddwl. Yr oedd raid ei fod yn wir, oblegid os nad oedd, pa fodd y gallasai fyw.

Nid oedd yn ei Feibl ef sylwadau na chyfeiriadau ar ymyl y dail, gan esbonwyr dysgedig, eto yr oedd wedi ei addurno â marciau neillduol, o eiddo Tomos ei hun, y rhai a'i cynnorthwyent yn fwy effeithiol nag y gallasai yr esboniadau mwyaf dysgedig wneuthur. Arferasai gael gan blant ei feistr ddarllen y Beibl iddo, yn neillduol Mistar George; ac fel y darllenent hwy, efe a nodai y rhanau hyny a darawent ei sylw a'i deimlad mewn modd neillduol, â marciau duon, gyda phin ac inc. Yr oedd ei Feibl, fel hyn, wedi ei farcio trosto, o'r dechreu i'r diwedd, yn mhob dull a ffurf yn y byd. Yr oedd ganddo ei farc priodol i bob un, fel y gallai ddyfod o hyd iddo, heb fyned i'r drafferth o yspelio allan ddarn pennod er eu cael allan. Dygai y marciau

a'r rhanau hyny i'w gof ryw amgylchiad neu gilydd o'i fywyd blaenorol gartref—adgof o ryw fwynhad a brofasai gynt; fel yr oedd ei Feibl iddo ef y cwbl oll a adewsid iddo o'r bywyd presennol, yn gystal ag yn sail ei obaith o fuchedd dragywyddol mewn byd i ddyfod.

"O! yr hen Feibl!" ebe Modryb Elin. "Gellid dywedyd wrtho fel y dywed y Salmydd wrth ei Awdwr,—'Arnat ti y gedy y tlawd, ti yw cynnorthwywr yr ymddifad.' Dyna 'r tlawd a'r ymddifad truan yna, yn fwy trallodus ei gyflwr nag oedd Job, neu Habacuc—wedi colli pawb a phob peth oedd anwyl ganddo—wedi ei rwymo â rhaffau caethiwed a gorthrymder, yn gallu tynu dyddanwch a chysur o ffynnon yr addewid—addewid bywyd tragywyddol—yr addewid hòno, 'Yn nhŷ fy Nhad y mae llawer o drigfanau—yr wyf fi yn myned i barotoi lle i chwi,' oedd y pren a bereiddiai ddyfroedd chwerwon Mara iddo. Yr oedd yn myned trwy ddyfroedd dyfnion profedigaeth fawr, ond yr oedd hi—yr addewid—gydag ef, ac yn dala ei ben uwch law y dwr, rhag iddo foddi mewn tristwch a digalondid. Digon tebyg, fel mae'r wraig yn dweyd, pe cawsai y gŵr mawr dysgedig hwnw wel'd yr addewid hòno yn ei brofedigaeth a'i alar, na allasai wneyd dim yn y byd â hi—yr aethai o'i chwmpas hi i holi a spio 'r peth yma a'r peth arall, heb byth fyn'd i *mewn* iddi hi. Mae y rhai doethion a deallus yn ymddyrysu ac yn methu yn amal, tra y mae y rhai bychain yn ei chael hi, megys o dan eu dwylaw; a dyma fel y mae Duw yn fynych yn gwaradwyddo rhai dysgedig a doeth, drwy wan bethau a ffol bethau y byd. Yr oedd Tomos yn myn'd rhag ei flaen i'r addewid—yn ymaflyd yn ddibetruso yn ei gwirionedd dwyfol—yn derbyn teyrnas Dduw fel dyn bach, heb ymddyrysu dim efo nag *os* na *pha bae*, na *phaham* na *pha fodd*."

"Mi fum i 'n synu lawer gwaith," ebe Mrs. Harris, "at yr *infidels*—y bobl sy'n gwadu dwyfoldeb a gwirionedd yr ysgrythyrau—eu bod yn dangos cymaint o elyniaeth yn erbyn y Beibl, a nhwthe 'n wastad yn cym'ryd arnynt fod y fath gyfeillion i ddynolryw; rhyw gyfeillion rhyfedd iawn raid eu bod, pan y mynent ymddifadu miloedd o'u cydgreduriaid o'r unig gysur a dyddanwch a feddant yn eu gorthrymderau. Pe caniataem mai twyll ydyw y Beibl, y mae ei gredinwyr yn sefyll ar well tir na hwy, gyda golwg ar y byd a'r bywyd yma yn unig—y mae y twyll yn rhoddi cynnaliaeth a chysuron iddynt, na wyr y lleill ddim yn y byd am danynt; ac y maent yn gallu meddwl am farw, ac yn gallu wynebu angeu yn fwy tawel a chysurus, gyda hyny. Pe byddai 'r cwbwl yn troi allan yn dwyll wedi angeu, mae'r credadyn ar gystal tir a'r *infidel* wed'yn; ond os ydyw yn wirionedd, y mae y fantais i'r credadyn ragor y llall yn anfeidrol; canys beth fydd diwedd a chyflwr tragwyddol y gwadwr, os caiff,

wedi 'r cwbwl, brofi fod y llyfr a wadodd ac a ddirmygodd, yn wirionedd a saif byth."

"Ië, cyfeillion braf, yn wir, ydynt hwy!" ebe Modryb Elin. "Gwareded y nefoedd y byd rhag y fath gyfeillion, meddaf i. Meddyliwch beth fuasai sefyllfa Cymru heddyw, oni buasai 'r Beibl. Beth oedd o cyn iddi hi gael yr ysgrythyrau? Y fath agwedd druenus oedd ar foesau ac arferion ein gwlad ni! a'r un peth fuasai hi eto, pe na buasai wedi cael ymgeledd y Beibl, drwy 'r Ysgol Sabbothol, a'r pregethu. Ond dyna fydd yn fy ngofidio i 'n ddirfawr—clywed am rai o fechgyn Cymru, wedi myn'd i drefydd Lloegr, yn troi i wadu a dirmygu y Beibl: do, mi glywais am blant i bregethwyr—pregethwyr a adwaenwn i 'n dda, ac fum i 'n wrando gyda phleser mawr, lawer gwaith, yn cyhoeddi gwirioneddau gwerthfawr yr efengyl, a rhai fu farw yn y diwedd dan orfoleddu yn iachawdwriaeth yr efengyl hòno;—ie, meibion iddynt hwy yn codi i fyny i daeru mai 'celwydd ddarfu i'w tadau etifeddu,' a phregethu drwy 'u holl fywyd—i wadu a dirmygu yr efengyl y buasent hwy byw a marw yn dystion trosti. Alla i ddim dych'mygu am un peth mwy galarus i feddwl am dano: o'r tu arall, am ddim mwy dymunol na gwel'd plant rhieni duwiol yn codi i fyny yn lle eu tadau, gan ddywedyd, fel Moses,—'Duw fy nhad, efe a ogoneddaf fi.' O'm rhan fy hun, ni chefais i erioed ddim tawelwch i fy meddwl, nes i mi adnabod rhywbeth tu allan i mi fy hunan i ffoi ato oddiwrthyf fy hunan, i bwyso arno, ac ymddiried ynddo, ac megys i gadw, a chuddio, a chloi fy hunan i fyny ynddo am byth; a'r rhywbeth hwnw ydyw tystiolaeth Duw yn ei air am ei Fab ef, Iesu Grist. Yr ydwyf yn gwel'd ynddi hi ddigon i fy ngwneyd i 'n gysurus i fyw ac i farw, ac am byth: a gadael, fel yr oeddech chwithau 'n dweyd, mai twyll ydyw 'r cwbwl, mi fyddaf cystal allan a'r *infidel* yn diwedd. Mi glywais y dywediad lawer gwaith, ac mae o yn ddywediad rhesymol iawn hefyd, mai doethineb ydyw dewis yr ochor y byddo lleiaf o berygl i sefyll arni. Nid oes dim perygl, beth bynag, i sefyll ar ochor y Cristion, a chaniatau bod Cristnogaeth yn dwyll i gyd; ond os ydyw hi 'n wir, mae ei gwadwr hi mewn cyflwr ofnadwy; ac yr wyf yn deall mai ychydig iawn o honynt hwy sy'n gallu sefyll eu tir, pan ddont hwy i farw. A ddarfu chwi erioed ddarllen—yr ydych chwi wedi darllen llawer—am ryw un o honynt hwy yn marw dan ganu a gorfoleddu, fel y clywsom ni, ac y gwelsom ni hefyd, lawer Cristion yn gwneyd?"

"Na ddarllenais, ac ni chlywais i erioed am y fath beth ag *infidel* yn marw felly," ebe Mrs. Harris; "ond mi ddarllenais am lawer o'r rhai penaf o honynt yn trengu yn y fath ddychryndfeydd cydwybod, ac ingoedd o anobaith, nes y byddai yr ystafelloedd yn lleoedd rhy ofnadwy i neb allu aros ynddynt. Ni

buasai neb yn y fath leoedd yn gallu ammheu nad oes y fath le ag uffern yn bod, wrth weled a chlywed y pethau a welent ac a glywent yno."

"Wel, hai!" ebe Thomas Harris, "'rydach chi wedi myn'd i gadw seiat ych dwy; gydewch i James fyn'd yn ei flaen, i gael iddo ddwad i'r pen â'i stori cyn iddi fyn'd yn hwyr iawn."

"Yn wir, mae 'nhw 'n siarad yn bur dda, chware teg iddyn nhw," ebe F'Ewythr Robert. "Mi 'rydw i 'n leicio 'u clowed nhw, 'n dda iawn; a mae arna i isio troedio 'r llyfr ene gimin sy bosib, rhag iddo fo ddarfod yn rhy fuan; a mi neith Elin a Marged weu a throedio faint fynon ni arno fo. Wel, ïa, efo Tomos a'i Feibil 'roeddet ti 'nte, Jemi, pen ddaru Elin dori ar dy drawst di? Sut mae'r stori 'n myn'd ymlaen?"

Wel, yr oedd yn mysg yr ymdeithwyr, ar fwrdd y llong, foneddwr ieuanc o deulu anrhydeddus, ac o gyfoeth mawr, ac yn byw yn New Orleans, o'r enw St. Clare. Yr oedd ganddo ferch fach, rhwng pump a chwe' blwydd oed, yn ei ganlyn, ynghyd â boneddiges o gares iddo, yr hon a gymerai ofal neillduol am y ferch fach.

Yr oedd Tomos wedi cael aml gyfleusdra i weled y ferch fechan hon, canys yr oedd yn un o'r creaduriaid bychain prysur hyny, na ellir mo'u cadw yn llonydd yn yr unfan, mwy na phelydrau yr haul, neu awelon yr haf; ac heblaw hyny, yr oedd yn un ag yr oedd yn anhawdd ei hanghofio, wedi ei gweled unwaith.

Yr oedd ei gosgedd yn berffeithrwydd prydferthwch plentynaidd. Yr oedd ynddo megys rhyw hawddgarwch nefolaidd mewn cydchwareuad o'i hamgylch, y fath a ddychymygir ei fod yn perthyn i fodau goruwchddynol. Nid oedd ei hwynebpryd yn fwy nodedig yn mherffeithrwydd tegwch ei ddelweddau, nag oedd yn nifrifolder nodedig ei edrychiant, yr hyn a barai i'r meddylgar a'r craffus synu pan edrychent arni, ac hyd yn nod i'r rhai dylaf ac iselaf deimlo na wyddent pa beth, na phaham. Yr oedd ffurf ei phen, a throad ei gwddf, a'i chern, yn nodedig o ardderchog, a'r hirwallt aurfelyn a nofiai fel cwmwl o'i ddeutu —dyfnddwysedd ysbrydoledig ei llygaid gleision, y rhai a belydrent o dan fwäau o aeliau prydferthion; y pethau hyn oll a'i hynodent ar blant eraill, ac a barent i bob un droi ac edrych arni, fel yr ymwibiai yn ol ac ymlaen ar hyd y llestr. Er hyn oll, nid oedd y ferch fach yn un a alwasech yn blentyn sobrddwys a phruddaidd. I'r gwrthwyneb, ymddangosai hoenusrwydd diniwed fel yn chwareu, yn gyffelyb i gysgodion dail haf, ar ei hwyneb plentynaidd, ac o ddeutu ei ffurf hoewedd. Yr oedd yn wastadol ar ysgogiad, a hanner gwên ar ei genau rhosaidd—yn rhedeg yma ac acw gydag ysgafn droediad, gan hymio canu iddi ei hun, fel pe buasai yn ymsymud megys mewn breuddwyd dedwydd. Yr oedd ei thad, a'r ferch foneddig y soniwyd

am dani, ar lawn waith yn ei gwylio; a phan gaent afael arni, hi a ddiflanai yn ddiattreg oddiwrthynt drachefn fel cwmwl haf, ac fel pe na buasai un gair o rybudd neu gerydd a roddent iddi byth yn disgyn ar ei chlust, oblegid canlyn ei thueddiadau ei hun a fynai hi, a rhedeg o gwmpas i bob man a chwr o'r llestr. Yr oedd wedi ei gwisgo mewn gwyn, ac ymddangosai fel cysgod yn ymsymud o'r naill fan i'r llall, drwy bob math o leoedd, ac eto heb fod byth frycheuyn na staeniad ar ei gwisg; ac nid oedd na chongl na chilfach, i fyny nac i lawr, lle ni chynniweiriasai yr ysgeifndraed hyny, ac na fuasai y pen auraidd hwnw, gyda'i lygaid gleision, yn ei olygu.

Weithiau, pan edrychai y tânwr i fyny drwy ei chwys, efe a ganfyddai y llygaid hyny yn edrych yn syn i lawr ar waelodion tanllyd y ffwrnes, ac arno yntau gyda dynodiant o ddychryn a thosturi, fel pe buasai yn ofni ei fod mewn lle peryglus ofnadwy. Yn y fan, dyna'r gŵr wrth y llyw yn sylwi ac yn gwenu, fel y canfyddai y ddelw brydferth megys yn llygadu arno trwy ffenestr y crwn gaban; ac yn colli mewn moment drachefn. Mil o weithiau yn y dydd y bendithid hi gan bob math a graddau, fel y cynniweiriai heibio iddynt. Byddai y wynebau caletaf yn ymdoddi yn wenau pan y deuai hi yn agos, a phan y llamai ac y neidiai ar leoedd peryglus byddai pawb am y cyntaf yn rhedeg i'w hachub, neu ei chynnorthwyo.

"Beth wyt ti'n geisio 'i ddeydyd wrthon ni es meityn?" ebe F'Ewythr Robert, "'rwyt ti wel tae ti 'n dyrlunio un o'r tylwyth teg, ne rwbeth, mae nene 'n dybycach i rw un felly, ne i 'ngyles, nag ydi hi i blentyn dyn."

"Mi feddyliwch hyny 'n siwr pan glywch hi ei holl hanes hi," ebe James, "oblegid, mewn gwirionedd, yr oedd yn debycach i un o'r bodau nefol ac angelaidd nag i fod daearol a dynol; ac yr oedd yn ddigon priodol i awdures y llyfr gymeryd cymaint o drafferth, a bod mor fanwl i ddesgrifio agweddau allanol un oedd yn feddiannol ar y fath brydferthwch mewnol ac ysbrydol ag ydoedd yr eneth bach anghymharol hòno."

Ar hyn daeth Jacki i mewn, a thaflodd olwg ddigofus ar Cati, ac eisteddodd i lawr yn ei le arferol.

"Wel, ddaru ti 'madel â dy strancs, Jacki?" ebe F'Ewythr Robert, "mi roeddem ni 'n meddwl dy fod wedi cym'ryd y wib i'r 'Merica, ne i 'Stralia cin hyn. Mi gymri ofal na roi di mo'r cyfrwy ar gefn y fuwch ynt hyny, rwy'n coelio; ond mi fase 'n well i ti beidio strancio, mi gollist ddarn o stori dda trost ben. Beth wyt ti 'n feddwl o honi 'rŵan, Rhys? welis ti 'r stori ene bymtheng mlynedd 'nol yma, ddyliet ti?"

Yr oedd Rhys a Jacki yn rhy dramgwyddus eu teimladau i wneyd un atebiad. "Dos di ymlaen 'rŵan, James bach."

Yr oedd Tomos wedi cymeryd sylw neillduol o'r eneth fach,

ac yr oedd ei ddyddordeb ynddi yn cynnyddu bob tro y gwelai hi. Ymddangosai rhywbeth yn oruwchnaturiol ynddi yn ei olwg ef; a pha bryd bynag y tremiai ei llygaid prydferthion arno, o'r tu ol i un o'r bwrneli cotwm, neu oddiar ben un o'r paeliau o glud, hanner gredai ei fod yn gweled un o'r angelion yn neidio allan o'i Destament Newydd.

"Toedd ryfedd ar ddyar tase fo'n cwbwl gredu 'r peth," ebe F'Ewythr Robert, "ynt oeddwn i 'n rhw hanner gredu 'run peth, dim ond wrth dy glowed di'n rhoid desgrifiad o honi hi; ond be pe cowswn i 'i gwel'd hi? Dos ymlaen."

Rhodiai yr eneth fach hon (neu yr angyles fach, os mynwch) yn aml iawn o ddeutu y lle yr oedd meibion a merched caethion Haley yn eistedd yn eu cadwynau. Elai weithiau i'w mysg, ac edrychai arnynt gyda golwg athrist a difrifol, ac weithiau, hi a ymaflai yn eu cadwynau â'i dwylaw bychain tyner, ac yna ocheneidiai yn ddwys, a llithrai ymaith. Deuai atynt yn ddisymwth lawer tro, â llonaid ei dwylaw o *gandi*, cnau, ac *oranges*, y rhai a ranai rhyngddynt yn llawen, ac yna ymaith â hi drachefn.

Bu Tomos yn hir cyn meiddio tynu cydnabyddiaeth â hi. Yr oedd yn gyfarwydd iawn â'r moddion effeithiol i dynu sylw ac ennill serch plant, a phenderfynodd chwareu ei ran goreu y gallai gyda hon. Yr oedd yn fedrus iawn ar wneuthur basgedi bychain, a phob math ar deganau plant. Yr oedd ganddo amryw o bethau o'r fath yn ei logellau, y rhai a estynai iddi o un i un, o dro i dro, fel deniadau cydnabyddiaeth a chyfeillgarwch.

Ond yr oedd y fechan yn wylaidd, ac yn anhawdd ei denu, er y cwbl. Dros ryw dymmor, hi a wnai ei chlwyd, fel aderyn, ar ryw gistan neu fwrnel, gerllaw Tomos, pan fyddai efe yn prysur weithio y teganau; a chymerai o'i law gyda gwylder sobrddwys yr offer bychain a estynai efe iddi. O dipyn i beth, daethant yn hyfion y naill ar y llall.

"Beth ydi enw missi bach?" ebe Tomos, pan feddyliodd fod amgylchiadau wedi addfedu iddo allu gofyn y cwestiwn.

"Efangeline St. Clare," ebe y fechan; "ond Efa fydd tada, a phawb arall, yn fy ngalw. Beth ydyw 'ch enw chwithau?"

"Tomos ydi f' enw i; bydde plant bach yn arfer galw fi F'Ewyrth Tomos, draw ene, yn Kentuck."

"Yna mi galwaf finnau chwi F'Ewythr Tomos, am fy mod i yn eich hoffi chwi, yr ydych yn gweled," ebe Efa. "Felly, F'Ewythr Tomos, i b'le yr ydych chwi yn myned?"

"Fi dim gwbod, Miss Efa."

"Ddim yn gwybod?" ebe Efa.

"Nac ydw i. Fi 'n myn'd i gael y ngwerthu i rywun—wn i dim i pwy."

"Mi feder tada eich prynu chwi," ebe Efa, yn union; "ac os

gwna fo eich prynu, mae amser da o'ch blaen chwi. Mi ofynaf iddo wneyd heddyw."

"Diolch i chwi, missi," ebe Tomos.

Ar hyn, safodd y llong gerllaw gorsaf fechan, i gymeryd coed cynnud i mewn, a rhedodd Efa ymaith at ei thad, pan glywai ei lais yn galw arni. Cyfododd Tomos, yntau, ac aeth i gynnyg ei wasanaeth i helpio cludo y coed i mewn, a gwelid ef yn brysur ar waith gyda y dwylaw.

Yr oedd Efa a'i thad yn sefyll gyda 'u gilydd wrth y rheiliau i edrych ar y llestr yn cychwyn. Pan oedd yr olwyn wedi rhoddi dau gylchdro neu dri yn y dwfn, trwy ryw ysgogiad sydyn, neu rywffordd neu gilydd, collodd yr un fach ei mantoliad yn ddisymwth, a syrthiodd dros ymyl y llong i'r afon. Yr oedd ei thad, yn ei fraw a'i ddychryn, heb wybod beth oedd ar fedr ei wneuthur, ar ymsuddo i lawr ar ei hol, pan attelid ef gan rywrai o'r tu ol iddo, y rhai a welsant fod cynnorthwywr mwy effeithiol nag ef eisoes wedi myned ar ol ei blentyn.

Yr oedd Tomos yn sefyll gerllaw iddi, o dani, ar fwrdd isaf y llong, pan y syrthiodd. Gwelodd hi yn syrthio i'r dwfr, ac yn suddo, a neidiodd ar ei hol mewn eiliad. Nid oedd hyn yn orchest yn y byd i ddyn cryf fel efe. Yr oedd yn nofiwr gwych. Arosai ef ar wyneb y dwfr hyd oni welodd y plentyn yn codi; dododd ei fraich am dani, a nofiodd at ystlys y llong, ac estynodd hi yn wlyb ddyferol, i gyrhaedd gafaelion cannoedd o ddwylaw oedd yn ymestyn yn awyddus i'w derbyn. Dygodd ei thad hi yn ei fynwes i gaban y boneddigesau;—yr oedd y fechan mewn llewyg a chyflwr o ddideimladrwydd;—ac yno, fel y mae yn gyffredin mewn amgylchiadau o'r fath, yr oedd cynhwrf a berw, ac ymryson yn mysg y boneddigesau yn gyffredinol, pa un, megys, a allai wneyd fwyaf o helynt, i attal ei hadferiad yn mhob modd ag oedd yn bosibl, er eu bod hwy oll yn awyddus i wneuthur eu goreu ffordd arall.

"Wel, wyt ti agos a myn'd i ben dy stori, bellach, James?" ebe Thomas Harris; "mae hi 'n tynu 'n hwyr."

"Ni byddaf yn hir iawn, eto," ebe James; "mi ellwch chwi a mam gychwyn, mi ddof finnau ar eich ol yn bur fuan."

"Na; rhaid iddyn nhw aros y diwedd," ebe F'Ewythr Robert; "peth cas iawn ydi 'madel ar ganol stori."

"Rhaid i tithau frysio, ynte, James," ebe Mrs. Harris.

"Mi wnaf," ebe James.

Yr oedd tranoeth yn ddiwrnod tesog, mwllaidd; ac fel yr oedd yr agerlestr yn dynesu at New Orleans, yr oedd prysurdeb mawr ar y bwrdd, ac yn y cabanau—pawb yn casglu ei glud at eu gilydd, i ddarparu ar gyfer glanio.

Ar y bwrdd isaf, eisteddai ein cyfaill Tomos, â'i freichiau yn

mhleth, gan droi ei olygon yn bryderus, yn awr ac eilwaith, at fintai oedd yn y pen arall i'r llestr.

Yno y safai y brydferth Efangeline, ychydig yn llwydach ei gwedd na'r dydd o'r blaen; ond heblaw hyny, nid oedd dim o ol y ddamwain y dydd o'r blaen arni. Safai gŵr ieuanc pryd-ferth, boneddigaidd yr olwg arno, gerllaw iddi, gorphwysai ei benelin ar fwrnel o gotwm, tra yr oedd pocedlyfr mawr yn agored o'i flaen. Yr oedd yn hawdd deall ar yr olwg gyntaf mai tad Efa oedd y gŵr boneddig. Yr oedd o'r un ffurf brydweddol,—ei ben, a'r un llygaid gleision a hithau, a'r un gwallt aurfelyn; ond eto yr oedd y dynodiant yn dra gwahanol. Er bod y llygaid mawrion tryloew las yn hollol gyffelyb o ran ffurf a lliw, yr oedd y dyfnddwys ddynodiant oedd yn llygaid Efa yn eisieu yn yr eiddo ei thad. Yr oeddynt yn glir, ëofn, a dysglaer; ond goleuni y byd hwn yn hollol a belydrai ynddynt. Yr oedd dy-nodiant gwawdgar ymron i'w weled ar ei enau prydferth, tra yr oedd gosgeddiad rhydd-esmwyth yn eistedd yn weddus megys ar bob tro ac ysgogiad a roddai. Gwrandawai mewn agwedd ysmala a diofal—hanner ddigrifol a hanner ddirmygol—ar Haley, yr hwn oedd yn traethu yn hyawdl iawn ar ragoriaethau y teclyn (*article*) yr oeddynt yn ceisio bargeinio am dano.

"Yr holl rinweddau moesol a Christionogol, wedi eu rhwymo mewn *morocco* du, yn berffaith!" ebe fe, wedi i Haley orphen ei druth.

"Wel, fy ffrind, beth ydyw 'r gost, fel y dywedant yn Ken-tucky; mewn gair, beth sydd i'w dalu allan yn y *busnes* yma? Pa faint ydych am dwyllo arnaf? allan âg ef."

"Wal," ebe Haley, "tawn i 'n deyd tri chant ar ddeg o ddoleri am y ffrind acw, fyddwn i ddim ond *just* cadw fy hun; na fyddwn yn wir, yrŵan."

"Druan o honoch!" ebe y boneddwr ieuanc, gan osod ei lygaid gleision llymwawdus yn graff arno; "ac mi adewch i mi ei gael am y pris hwnw oddiar barch i mi yn unig, mi a feddyliwn."

"Wal, y mae y foneddiges bach yma yn *dotio* 'n rhyfeddol arno fo, mae 'n ymddangos, ac mae yn ddigon naturiol iddi neyd."

"O! yn sicr; mae hyny yn gosod arnoch chwithau i fod yn ystwyth a chymedrol, ffrind. Yn awr, fel mater o garedigrwydd Cristionogol, pa mor isel y gallech ei ollwng ef, i foddloni boneddiges ieuanc sydd yn *dotio* arno fo?"

"Wal, 'rŵan, *just* meddyliwch chi am y peth," ebe y masnach-wr; "*just* 'drychwch ar 'i lode fo,—y *frest* lydan, cin gryfed a cheffyl; 'drychwch ar 'i ben o—y talcen uchel acw, sy'n wastad yn danos *niggers* dyfeisgar, a feder neyd un peth yn y byd. Mi 'rydw i wedi craffu ar y pethe ene. Yrŵan, y mae *nigger* o'r fath ene yn werth cryn lawer, *just* o ran ei gorff, fel pe tae, a

thybied 'i fod o 'n un cyndyn; ond rhowch i fewn eto 'i alluoedd celfyddgar o, y rhai, fel y galla i ddanos, sy'n rhagorol iawn—mae hyny yn 'i wneyd o 'n fwy o werth drychefn. Yr oedd o'n edrych tros, ac yn trefnu holl fferm ei feistr. Mae gyntho fo d'lente an'ffredin at *fusnes*."

"Drwg! drwg iawn! yn gwybod gormod o lawer iawn!" ebe y boneddwr, â gwên wawdlyd yn chwareu ar ei enau. "Ni wna mo'r tro, mewn modd yn y byd. Mae rhai o'r fath bob amser yn rhedeg ymaith, yn dwyn ceffylau, ac yn codi cythreuliaid yn gyffredin iawn. Yr wyf yn meddwl y rhaid i chwi dynu dau cant i lawr ar gyfrif ei bertrwydd."

"Wal, f'alle fod rhwbeth yn hyny, oni bae o ran i garitor o; mi alla i ddanos i chwi gymolieth o dan law 'i feistr o, ac erill, yn profi 'i fod yn un o'r rhai gwir gryfyddol yma—yn w'ddïwr, ac yn un o'r rhai mwya 'styngedig a duwiol welsoch chi'n amser—mi fydden yn 'i alw fo 'n byrgethwr yn y parthe lle 'roedd o."

"Ac mi a allwn ei gymeryd yn gaplan teuluaidd, o bosibl!" ebe y gŵr ieuanc, yn sychlyd. "Gwych iawn! mae crefydd yn beth prin iawn yn ein teulu ni!"

"Yr ydych yn cellwair yrŵan."

"Pa fodd y gwyddoch hyny? Oni ddarfu i chwi dystio ei fod yn bregethwr? A fu ef dan arholiad unrhyw synod, neu gymanfa? Dowch, dangoswch eich papyrau."

Pe na buasai y masnachwr yn credu oddiwrth ddynodiant o natur dda a welai yn chwareu yn nglas lygad dysglaer y boneddwr, y buasai yn sicr o wneyd bargen dda yn y diwedd, gallasai gyffroi ac ymddigio; ond yn yr hyder hwnw, efe a dynai allan boced-lyfr seimllyd, a chan ei osod ar fwrnel o gotwm, dechreuai edrych dros ryw bapyrau yn bryderus. Safai y boneddwr ieuanc gerllaw, gan edrych arno gyda golwg ddifater ac ysmala.

"Tada! gwnewch ei brynu ef! beth bynag a gostio, nid yw fawr bwys am hyny," ebe Efa bach, yn ddystaw. Safai ar gistan, a phlethai ei dwylaw am wddf ei thad. "Y mae genych ddigon o arian, yr wyf yn gwybod. Y mae arnaf fi eisieu ei gael."

"I ba beth, y fach? A ydych am ei gymeryd i wneyd rhuglgist (*rattle-box*) neu sigl-farch (*rocking-horse*) o hono?"

"Y mae arnaf eisieu ei wneyd yn ddedwydd."

"Rheswm gwreiddiol iawn, yn siwr!"

Ar hyn, cyflwynai y masnachwr ardystiad o dan law Mr. Shelby, yn yr hon yr ymaflai y gŵr ieuanc â blaen ei fysedd, ac edrychai drosto yn esgeulus.

"Llawysgrifen foneddigaidd, a llythyreniad cywir hefyd"—ebe fe.

"Wel, wedi'r cwbl, ni wn yn iawn beth i'w feddwl ynghylch

y grefydd yma," ebe fe, a'r hen ddynodiant direidus yn ail chwareu yn ei lygad. "Y mae y wlad agos wedi ei dystrywio gan y bobl wynion grefyddol. Y fath *boliticians* crefyddol a fyddwn yn gael o flaen etholiadau—y fath ystŵr grefyddol mewn byd ac eglwys, fel na ŵyr dyn yn y byd pwy a'i twylla nesaf. Ac nid wyf yn gwybod chwaith bod crefydd yn uchel yn y farchnad *just* 'rŵan; ni ddygwyddais edrych yn y papyrau yn ddiweddar i edrych pa sut y mae hi yn gwerthu. Pa sawl can' *dolar* ydych yn roddi arno yn awr ar gyfrif ei grefydd?"

"Yr ydych yn hoffi cellwair â mi 'rŵan," ebe y masnachwr; "ond eto mae llawer o *sense* yn y peth ydych yn ei ddweyd. 'Rwi'n gwbod fod gwahaniaeth mewn crefydd. Y mae rhai mathe o honi 'n druenus;—dene grefydd y cwarfod, a chrefydd y canu a'r rorio, dydi rheini werth dim byd mewn gwŷn na du; ond y mae y rhai yma yn werthfawr mewn gwirionedd, ac mi gwelis nhw mewn *niggers* mor amal ag mewn pobol erill, sef y tirion, tawel, cywir, gonest, gyrfyddol, na alle 'r hollt fyd ddim 'u temtio nhw i neyd dim a feddylion nhw sy ddrwg; a mi rydach chi 'n gwel'd yn y llythyr yma beth mae hen feistr Tomos yn ddeydyd am dano fo.

"Yn awr," ebe y boneddwr, gan edrych yn sobr trwy ei lyfr cyfrifon, "os gellwch chwi sicrhau i mi y gallaf mewn gwirionedd bwrcasu y fath yma o grefydd, ac y dodir hyny i lawr ar fy nghyfrif yn y llyfr fry, fel rhywbeth yn eiddo i mi, ni phrisiwn nemawr, pe rhoddwn rhyw swm ychwanegol am dani. Beth ydych yn ddweyd?"

"Wal, yn wirionedd i, fedra i ddim gneyd hyny," ebe y masnachwr. "'Rwi 'n ofni y bydd raid i bob un sefyll ar i wadne 'i hun yn y cwarter hwnw."

"Mae braidd yn galed i ddyn orfod talu yn ddrutach am beth ar gyfrif crefydd, ac na all wneyd masnach o honi yn y dalaeth ag y bydd arno fwyaf o'i heisieu—onid ydyw, yn awr?" ebe y boneddwr, tra y gwnai i fyny rol o filiau arianol. "Dyna, cyfrifwch eich arian, yr hen fachgen," ebe fe drachefn, fel yr estynai hwy i'r masnachwr.

"Pob peth yn iawn," ebe Haley, a'i wyneb yn lloni gan bleser; a chan dynu allan hen gorn inc, efe a brysurai wneyd i fyny bapyr y gwerthiant, yr hwn a gyflwynai i'r boneddwr.

"Yr wyf yn meddwl yn awr—pe bawn i yn cael fy nosranu a'm harbrisio," ebe yr olaf, fel y taflai ei olwg dros y papyr, "i faint y gallwn i werthu? Dywedwch hyn a hyn ar ffurf fy mhen, cymaint a chymaint ar dalcen uchel, am freichiau a dwylaw a chluniau, ac yna hyn a hyn ar gyfrif gwybodaeth, dysgeidiaeth, talent, gonestrwydd, crefydd! Bendith arnaf! ni roddid fawr o bris ar y peth olaf, yr wyf yn meddwl. Ond dowch, Efa," ebe fe, gan ymaflyd yn llaw ei ferch, a rhodiai ar




**MR. WILSON A GEORGE HARRIS.**

draws y llestr, a chyffyrddai â Tomos â'i fys, a dywedai yn serchog, "Edrychwch, Tomos, i weled pa fodd yr hoffech eich meistr newydd."

Edrychai Tomos i fyny. Yr oedd yn annichonadwy edrych i'r wyneb siriol, ieuanc, prydferth hwnw, heb deimlad o serch a hyfrydwch. Teimlai Tomos y dagrau yn neidio i'w lygaid fel y dywedai, o'i galon, "Duw a'ch bendithio chwi, misar!"

"Wel, yr wyf yn gobeithio y gwna. Beth ydyw eich enw chwi? Tomos? Y mae yn llawn mor debyg o'm bendithio ar eich gofyn chwi a phe ceisiwn fy hun, yn ol pob hanes a glywais am danoch. A ellwch chwi yru ceffylau, Tomos?"

"Y rw i wedi arfer â chyffyle, bob amser," ebe Tomos. "Bydde Misar Shelby yn trin llawer o honyn nhw."

"Wel, yr wyf yn meddwl y cewch fod yn gerbydwr, ar yr ammod i chwi beidio a meddwi ragor nag unwaith yn yr wythnos, oddigerth ar ryw amgylchiadau neillduol, Tomos."

"Byddaf fi byth yn yfed, misar," ebe Tomos; gan edrych yn sobr a synllyd.

"Mi glywais y gyffelyb stori o'r blaen, Tomos, ond ni a gawn weled. Mi fydd yn beth da iawn yn wir, os na fyddwch. Ond na ofelwch, fy machgen," ebe fe yn dirion, wrth weled Tomos yn edrych fyth yn bur ddifrifol. "Nid wyf yn ammheu dim nad ydych yn amcanu yn dda."

"Yr wyf yn sicir!" ebe Tomos.

"A chwi gewch amser a lle da," ebe Efa; "mae tada yn bur garedig wrth bawb, ond yn unig y chwarddai am eu penau bob amser."

"Y mae tada yn rhwymedig iawn i chwi am eich canmoliaeth iddo," ebe St. Clare, dan chwerthin; a throai ar ei sawdl, a rhodiai ymaith.

"Dyna derfyn y stori heno," ebe James.

"Wel, yn wir," ebe ei dad, "y mae yn hen bryd i ninnau droi ar ein sodlau, a rhodio ymaith tuag adref."

"Wel, ta i ddim i geisio gyntho chi aros," ebe F'Ewythr Robert, "yn te mi faswn yn leicio 'n arw iawn gael tipin o ymgom ar y darn d'waetha o'r stori ene. Yn wir, wyddwn ni ddim prun i neyd ai crio ai chwerthin wrth i gwrando hi. Wel, yn wirionedd i, mae pobol ryfedd, a phethe rhyfedd, a throion rhyfedd, yn y byd yma. Cofiwch chi ddwad yma 'ch dau nos yfory, efo Jemi, i gael i ni fyn'd trost bethe eto."

"Gwell i ni ddwad yma ac aros yma o hyd," ebe Mrs. Harris. "Na yn wir, mae o 'n ormod i ni fod fel hyn o hyd bob nos."

"Nonsens i gid," ebe yr hen ŵr, "hir nos gaua wel hyn,—be sy gynthoch chi i neyd, waeth i chi weu 'ch hosan yma na chartre', 'run blewyn; ac am Tomos, ni neith o ddim byd ar ol gida'r nos, os na bydd o 'n gneyd ffyn, ne rwbeth felly, a mi eill ddwad a ffon hefo fo i'w gneyd yma, os bydd o 'n leicio."

"Wel, fe alle down ni, os na ddaw rhwbeth i'n rhwystro ni," ebe Thomas Harris. "Nos dawch heno—tyr'd James!"

"A nos da i chithe."

Wedi iddynt fyned ymaith, "Be wyt ti 'n feddwl o'r gŵr byneddig d'waetha ene, Elin?" gofynai F'Ewythr Robert. "'Doeddwn i ddim yn ei ddeall o yn iawn, rwsut; ond mi allwn feddwl mai dyn clyfar amhosib oedd o hefyd,—mi 'roedd o gryn dipin o rôg, mi fyddyliwn. Mae 'n dda iawn gin i fod Tomos chwedi taro mor lwcus a chael i brynud gyntho fo, mi ga le da hefo fo, dwi'n siwr; chae o ddim llawer o gam tra byddo 'r eneth bach hòno 'n agos ato fo, mi wranta i—chlywis i 'rioed son am fath hòno."

"'Roedd rhywbeth yn bur hynod yn y plentyn yn siwr," ebe Modryb Elin, "megys pe buasai rhyw eneiniad nefolaidd arni hi. Yr oedd rhywbeth yn hynod yn ei thad hefyd: yr oedd yn ddyn hawdd i'w garu, ond yn ddyn digrefydd, mae'n amlwg. Yr oedd yn debyg, mewn rhyw ystyr, i'r gŵr boneddig ifanc ddaeth at Iesu Grist ar y ffordd, y dywedir i'r Iesu ei hoffi—er nad yr un pethau oedd ynddo fo i'w hoffi ag oedd yn hwnw. Yr oedd cryn lawer o bethau cyffelyb ynddo i'ch hen gyfaill, y cnöwr tybacco, yn nharawiad ei ddawn a'i ddull, ond ei fod o wedi ei goethi a'i foneddigeiddio âg addysg a dygiad da i fyny. Tywalltai wawd a dirmyg ar y fasnach a'r masnachwyr mewn dynion, mewn dull llednais boneddigaidd, eto miniog, cyrhaeddgar, a llym, yn debyg fel y gwnai y llall yn ei ddull isel, garw, a thrahaus. Yr oedd y ddau yn drahaus yn eu ffordd; ond yr oedd rhyw hawddgarwch yn eu trahausder nhw,—yr oedd o yn codi oddiar natur dda, a theimlad tros y rhai gorthrymedig, ac yn erbyn gorthrymwyr. Yr oedd llawer o bethau dymunol ynddynt; ond yr oedd y ddau yn ddiffygiol mewn un peth, a hwnw yr 'un peth anghenrheidiol.'"

"Wel, Rhys," ebe F'Ewythr Robert, "mae wedi myn'd yn hwyr; well i ti aros yma i gysgu hefo Jacki heno, mi 'newch reiol dau bartner i fyrddwydio—un am wnïo brest gwasgod wrth gorff y siwmp, a'r llall am gyfrwyo buwch yn lle ceffyl. Mi 'rydach chi y'ch dau yn y'ch sulcs heno; mi ddowch atoch y'ch hunen 'rol cysgu a byrddwydio, dwi 'n disgwil."

"Aroswch i mi ddarllen pennod o'r Beibl cyn i chwi fyn'd i'ch gw'lau," ebe Modryb Elin.

Estynwyd y Beibl iddi, a throdd hithau i'r drydedd bennod o'r ail lythyr at y Corinthiaid, a darllenodd y pedair adnodau cyntaf, lle y mae yn ysgrifenedig—"Ein llythyr ni ydych chwi, yn ysgrifenedig yn ein calonau, yr hwn a ddeallir ac a ddarllenir gan bob dyn. Gan fod yn eglur mai llythyr Crist ydych," &c. Wedi darllen hyd ddiwedd yr adran, hi a gauodd y llyfr.

"Dyna," ebe hi, "yw gwir grefydd; a'r fath ydyw y gwir

Gristion—'llythyr Crist, a ddeallir ac a ddarllenir gan bob dyn.' Yr oedd adyn drygionus fel Haley, yn gallu darllen a deall fod gwahaniaeth rhwng rhith a gwir grefydd. Yr oedd hwnw yn gallu dweyd nad oedd myn'd i gyfarfodydd crefyddol, a chanu, a thrystio, a siarad ynghylch crefydd, a hyny yn unig, ond sŵn heb sylwedd na gwerth ynddo. A dywedai ei fod wedi sylwi a gweled math arall o honi—un ddystaw, dawel, bur, onest, ddiniwed—i'w gweled a'i hadnabod wrth y ffrwythau a ddygai, ac nid wrth y sŵn a gadwai—dynion, medde fo, na allai yr holl fyd ddim eu temtio nhw i wneyd dim a ystyrient yn bechadurus. Yr oedd yn rhyfedd genyf glywed cystal yr oedd creadur truenus o'i fath o yn gallu darllen a deall peth na wyddai fawr yn egwyddorol, na dim yn brofiadol, am dano. Ychydig, os dim, a ddarllenai ar ei Feibl, mi allwn feddwl; ond mi 'roedd o yn darllen crefyddwyr, ac y mae llawer o wir yn yr hen ddywediad, mai proffeswyr ydyw Beibl y byd. Yr oedd Tomos yn dal i'w ddarllen. Mi gostiodd i galon ddideimlad Haley feddalu tipyn wrth ei ddarllen o, fel y mae yr hanes yn dweyd, i fod wedi ei *watsio* fo yn fanwl am lawer o ddyddiau yn y dechreu, a rhoi llyffetheiriau am ei draed o bob nos, rhag iddo fo geisio dianc; ond wrth wel'd ei dawelwch a'i ddiniweidrwydd o, iddo fo roi i fyny ei drin o felly, a gadael ei ryddid iddo i fyn'd a dyfod yn y llong, fel y mynai. Rhaid i ninnau gael crefydd y gallo pawb ei darllen ynom ni—crefydd a ddygo ei thystiolaeth yn nghydwybodau pawb a'n darlleno ni, ne fydd hi o ddim llawer o werth i ni. Yr oedd gan y gŵr boneddig hwnw, yn ddiammhau, wybodaeth am grefydd, ac argraffiad ar ei gydwybod o'i gwerth hi hefyd, dan ei holl siarad cellweirus yn ei chylch hi. 'Rwyf yn meddwl fod cryn lawer o wir ddifrifolder yn gymysg â'i siarad ysgafn o. Fe ddywedodd rai pethau pwysig iawn, mewn dull ysgafn, wrth Haley; ac ni allasai dyn hollol anystyriol, fel yr oedd o yn ceisio ymddangos, ddim dywedyd y pethau hyny;—yr oedd raid ei fod o wedi meddwl a theimlo rhyw gymaint."

"Mi sylwis i ar un peth ddeydodd o," ebe F'Ewythr Robert, "pen ofynodd i Harli py faint o bris oedd o 'n roid ar grefydd F'Ewyrth Tomos, a 's doedd raid iddo fo dalud hyn a hyn yn 'chwaneg am dano fo ar *gownt* i grefydd, a allse Harli sicrhau iddo y cowse fo 'r *benfit* oddwrth grefydd Tomos yn y byd arall. Mi 'roeddwn i 'n i wel'd o 'n cyredd Harli i'r byw yn y fan hòno."

"Felly yr oedd o," ebe Modryb Elin. "Gofyniadau llawn o synwyr, a llawn o briodoldeb i'r amgylchiad oeddynt hwy, ac yn cael eu gofyn yn y dull goreu, hwyrach, hefyd. Mi 'roedd yr hanes yn dweyd fod y gŵr boneddig yn edrych yn bur ddifrifol yr amser hòno."

"Be ddeydodd Harli 'n aped iddo fo? 'dydw i ddim yn cofio 'rŵan," ebe F'Ewythr Robert.

"Mi ddywedodd," ebe Modryb Elin, "na allai ef ddim addaw y buasai crefydd F'Ewythr Tomos yn troi 'n un fantais i'w brynwr o yn y byd arall—y byddai raid i bob un sefyll ar ei wadnau ei hunan yno. Yr oedd yn dda gen i glywed cymaint a hyny o wirionedd pwysig o ben dyn o'i fath o. Na, na: ni wnaethai crefydd Tomos les yn y byd i neb ond iddo fo ei hun, i fyned i'r byd arall! Mi allsent ei brynu a'i werthu o, druan, a myned â phob peth oddi arno fo, fel y gwnaethant hwy, ond am i grefydd o, yr oedd hòno yn rhan nad allent ei phrynu na'i gwerthu, na'i dwyn ymaith. 'Os doeth fyddi, doeth fyddi i ti dy hun; ond os gwatwarwr fyddi, tydi dy hun a'i dygi.' 'Pob un a ddwg *ei* faich ei hun.'"

"Iä," ebe F'Ewythr Robert, "a mi fedrodd Harli ddeyd y bydd raid i bob un sefyllt ar 'i wadne 'i hun! Mi fydde *dda* iddo fo ydrach ar ol 'i wadne, 'nte; ne mi fyddan 'n sefyllt ar le poeth, yn siwr iddo fo."

"Wel, Robert bach, cymerwch y cynghor i chwi eich hunan hefyd," ebe Modryb Elin. "Nid oes genych chwi na finnau fawr o amser i fyw eto, ar y goreu, ac y mae arnaf ofn eich bod heb adnabod crefydd F'Ewythr Tomos; ond nid yw yn rhy ddiweddar i chwi ei chael, er ei bod hi wedi myn'd ymhell o'r prydnawn arnoch chwi."

"Mi leiciwn i gael crefydd o'r fath hòno, ne waeth gin i heb 'run; mi fydd arna i isio cael pob peth yn iawn, a mae crefydd iawn yn fwy o bwys a gwerth na dim; a'r peth sala ar wyneb y ddyar yma ydi crefydd sal, mi fydda i 'n meddwl. Ond mae hi 'n hen bryd i ni fyn'd i'r gwely."

---

## NOSON XIII.

"Yr oedd yn rhwyr gwyllt gin i 'ch gwel'd chi 'n dwad yma heno," ebe F'Ewythr Robert wrth y tri Harris, pan ddaethant i'r tŷ; "chowson ni drefn ar chwyneb y ddyar las ar Rhys a Jacki yma, ar ol neithiwr; mae 'r ddau chwedi tramglwyddo 'n ddireswm: os cawn ni stori go dda gin James heno, hwrach do'n nhw atyn 'ü hinen. Mae Rhys dipin llonach gyda 'r nos yma, nag oedd o trw'r dydd. Mi naeth Neli gypaned o dê go dda, a chacen gri iddo fo—mae Rhys yn *ffond* iawn o dê a chacen, a stori hefyd, ynt wyt ti, Rhys?"

"Fel rhw ddyn arall, am hyny, fel pethe erill, am wn i," ebe Rhys.

"Rhw ddyn arall? Be wyt ti 'n son am ddyn? Mae isio naw o dy ffasiwn di i neyd dyn."

"Mi fyta i fwyd dyn, a mi na waith dyn, bob dydd; ag ono, pa'm na alla i alw fy hun yn ddyn?" ebe Rhys.

"Mi alla dy goelio di am y peth cynta ene," ebe F'Ewythr Robert; "a dase ti 'n deyd ar ol hyny, 'Mi ddeyda streuon, a mi gybaitsia gystal ag un dyn,' mi faset yn rhwle o gwmpas y marc."

Yr oedd Rhys yn adnabod yr hen ŵr yn rhy dda i gymeryd tramgwydd oddiwrth ddim a ddywedai. "'R ydach chi 'n rhy ddrwg wrth y teiliwr," ebe fe.

"Wel, James bach," ebe yr hen ŵr, "i b'le 'r wyt ti am y'n harwen ni heno? Chlowson ni ddim byd o hanes Lisa, a Siors Harris, es tro byd, gin ti. Oes dim chwaneg o son am danyn nhw, 'n deydyd be ddoeth o honyn nhw yn diwedd?"

"Oes, y mae cryn lawer i'w ddywedyd am danynt eto, cyn y diwedd; ond rhaid i ni eu gadael hwy am dro, i ddilyn helynt Tomos, a'i feistr newydd, ychydig ymhellach."

"O'r gore, o'r gore!—dim ond y mod i'n gofyn—a liciwn i gael gwbod rw'mser sut fu arnyn nhw. Cymer di dy ffordd dy hun—mi fydda i 'n ddigon bodlon."

"Ni chewch glywed fawr o son eto am eich hen ffrind, Haley, F'Ewythr Robert," ebe Mrs. Harris, "os wyf fi 'n cofio 'r hanes yn iawn. Yr wyf yn meddwl bod James wedi myned tros y rhan hòno o'r stori, lle mae efe yn tori ffigiwr ynddi."

"'Toes arna i ddim isio clowed chwaneg am yr hen walch gyntho fo, bae i mi glowed i fod o chwedi grogi;—mi alla i ddeyd o 'rŵan, gin nad ydi Neli yma ddim yn y clyw."

"Yr ydw i yn clywed," ebe Modryb Elin, tra yn dyfod mewn i'r gegin o ystafell arall; "ac y mae yr hwn a ddywedodd, 'Nac ymddigia o herwydd y rhai drygionus, ac na chenfigena wrth y rhai a wnant anwiredd,' yn eich clywed hefyd."

"Wel, mi groged 'i well o; waeth gin i pwy nghlowo i 'n deyd hyny, beth bynag. Ond mi gydawn o 'n llonydd, i gael i James fyn'd at 'i waith."

"Wel," ebe James, "yr ydych wedi cael peth mantais i wybod rhywfaint am feistr newydd F'Ewythr Tomos, ac wedi ffurfio rhyw feddwl a barn am dano. Y mae yr awdures yn y llyfr yma yn dweyd cryn lawer o'i hanes ef, na fyddai ddim yn anghenrheidiol i ni, hwyrach, ei adrodd yn fanwl. Ond mi a roddaf i chwi ryw fras grybwyllion o hono."

Augustine St. Clare oedd ei enw, mab i ŵr goludog iawn, a pherchen planigfa, yn nhalaeth Louisiana. Yr oedd y teulu yn hanu yn wreiddiol o Canada. Protestanes Ffrengig ydoedd ei fam, teulu yr hon a ymfudasant i Louisiana ar ddechreuad ymsefydliad ymfudwyr i'r parth hwnw. Efe, a brawd arall, oedd holl deulu eu rhieni.

Yr oedd, er yn fachgen, yn hynod o dyner a bywiog ei deimladau, ac o gynneddfau a dealltwriaeth cyflym a pharod. O ran ei ffurf a'i agwedd gorfforol, yr oedd yn hardd a lluniaidd, yn lân o bryd, ac heb ddim gwrthuni ynddo o wadn ei draed hyd ei goryn. Yr oedd, mewn rhyw ystyr, felly o ran cynneddfau a galluoedd ei feddwl hefyd. Megys y dywed yr awdures, na ellid edrych arno, heb ei hoffi; ni ellid chwaith adnabod ei *garacter*, heb deimlo rhyw ddyddordeb neillduol ynddo; canys er ei fod yn ddiffygiol yn yr elfenau hyny ag ydynt anhebgorol anghenrheidiol er ffurfio nodwedd gwir rinweddol, yr oedd ynddo ryw bethau, a llawer o bethau, a barai i chwi ei serchu.

Er mai un o blant y byd hwn ydoedd, nid oedd ganddo fawr iawn o archwaeth at drin y byd; un pur ddiofal ac esgeulus ynghylch ei amgylchiadau ydoedd. Hoffai bleser a chwmnïaeth, a chael llonydd gan ofalon a thrafferthion bywyd—hoffai fyw yn llawen a difyr ei hun, a hoffai weled pawb arall o'i ddeutu yn byw felly. Yr oedd yn perchen llawer o gaethion, ac yr oedd yn hynod o dirion a charedig wrthynt; caent wneyd bob un yr hyn oedd dda yn ei olwg ei hun, o'i ran ef. Yr oedd ysbryd träawdurdodol, gormesol, a chreulawn, yn beth hollol ddyeithr iddo, ac yn beth hollol gas ganddo.

Cyfarfu â siomedigaeth chwerw, drwy gael ei attal i briodi boneddiges brydferth, gyfoethog, a synwyrlawn, y rhoddasai ei galon arni, a hithau yr un modd arno yntau. Yr oeddynt wedi ymgredu i'w gilydd. Yr oedd hi 'n byw yn un o'r taleithiau gogleddol. Pan oedd yn gwneyd darpariadau at ei briodas â hi, dychwelid ei holl lythyrau ati yn ol iddo gyda 'r *post*, a nodyn oddiwrth warcheidwad y ferch ieuanc, yn ei hysbysu y byddai hi wedi priodi âg un arall, cyn y byddai i'r nodyn hwnw ddyfod i'w law ef. Brathodd hyn ef hyd at wraidd ei galon, ac fel llawer un o'i flaen, heb ymbwyllo i aros i weled a oedd y pethau hyn felly, efe a wibiodd ei lygaid o gwmpas, mewn ymofyniad am un arall; a chyn pen y pythefnos, yr oedd wedi ymbriodi, fel y dywed yr hanesyddes, â phincen luniaidd, a phâr o lygaid gleision, a chan' mil o ddoleri; a thybiai pawb ef yn ŵr ieuanc ffortunus.

Tra yr oedd y pâr priodasol yn mwynhau pleserau y melfis, yn nghwmnïaeth cylch lliosog o gyfeillion, yn eu palasdy ysplenydd, gerllaw llyn Pontchartrain, dyma lythyr yn llawysgrifen ei gariad cyntaf yn cael ei gyflwyno i'w law; aeth mor welw ag angeu yn yr olwg arno. Ymneillduodd i'w ystafell i'w ddarllen. Rhoddai y llythyr hanes maith am yr holl erlidigaeth y buasai hi dani, oddiwrth deulu ei gwarcheidwad, i geisio ganddi ymbriodi â'i fab ef, ac fel y cadwent ei lythyrau oddiwrthi—iddi ysgrifenu laweroedd o weithiau, hyd nes oedd wedi blino yn

dysgwyl am ateb oddiwrtho—bod ei hiechyd yn pallu gan faint ei phryderion—ac iddi gael allan o'r diwedd y twyll a wnaethid â hi ac yntau. Dybenai y llythyr mewn tôn obeithiol, gan sicrhau bod ei serch tuag ato yr un yn ddigyfnewid.

Peth chwerwach nag angeu oedd y llythyr hwnw i'r gŵr ieuanc. Ysgrifenodd ati yn ddioed;—

"Derbyniais eich llythyr, ond yn rhy ddiweddar. Credais yr oll a glywswn;—mi a briodais, ac y mae y cwbl drosodd. Gollwng y cwbl dros gof ydyw yr unig beth sydd wedi ei adael i'r naill a'r llall o honom."

Gwywodd hyn ei holl sirioldeb dros amser, a dechreuai y wraig ieuanc achwyn ar drueni ei sefyllfa, o herwydd fod ei gŵr yn analluog i gyfranogi o bleserau cymdeithas. Un hynod yn mysg y merched oedd y Marie hon, canys dyna oedd ei henw. Unig blentyn ei rhieni ydoedd; ac un a gawsai, fel y ca y cyfryw yn bur fynych, bob anwes a mabiaeth a allai rhieni tyner a goludog roddi iddi. Ofnid i'r awel leiaf chwythu arni—cai ei ffordd ei hun, a'i hewyllys, a'i dymuniadau yn mhob peth—gofelid na chaffai neb na dim ei chroesi. Dan goleddiad a magwraeth o'r fath yma, tyfodd i fyny yn wir lun a delw hunanoldeb;—yn anfoddog, anniddig, anserchus tuag at bawb, ond tuag ati ei hunan. Yr oedd yn byw, yn symud, ac yn bod ynddi, ac iddi ei hunan, yn gwbl oll; a mynai i bawb arall hollol ymwadu â hwy eu hunain, yn unig er ei mwyn hi; ac er hyny, ni allai neb ei boddio. Cafodd ei gŵr, druan, brofi yn fuan pa fath oedd yr un a gofleidiasai i'w fynwes; ond ymdrechai, drwy ei synwyr cryf a'i natur dda, i wneyd y goreu o'r gwaethaf.

"Piti garw oedd iddo fo daro wrth y *siort* ene," ebe F'Ewythr Robert. "Mae dynes wel hon ene yn ddigon o gosp ar ddyn am neyd gwaeth drwg na dwyn defed. Mi fase 'n well gin i ddiodde 'r ddannodd bob dydd o mowyd, na cheisio byw hefo 'i bath hi. Tomos bach, mae Marged chi a Nel nine yma, 'n ddigon anodd 'mhela â nhw weithie, ond mae nhw 'n freninese wrth y ddynes ene!"

"Mi adwyn lawer o wragedd tebig iddi," ebe Rhys; "mi 'roeddwn i 'n meddwl am danyn nhw wrth wrando, es meityn."

"Iä, mi 'dwaenost, Rhys?" ebe F'Ewythr Robert. "Mi 'rwyt ti 'n cael cwlystra i wel'd pob math o wragedd, wrth fyn'd hyd y tai."

"Fydda i byth yn leicio deyd dim am neb; ond fydd dim posib i mi beidio gwel'd a sylwi, wyddoch," ebe Rhys. "Dene wraig y ——— 'rŵan; 'does dim trin arni hi. Mi fydd raid iddi hi gael 'i brecwest yn 'i gwely bob dydd, pen oeddwn i ono, a thale neb i fyn'd â fo iddi hi ond y gŵr, a fyte hi 'r un tamed heb iddo fo gwyno iddi hi, a chalyn arni hi o hyd o hyd; a phen ddoe hi i lawr o'i gwely, ni thawe 'i cheg hi, heb fod naill ai 'n

cwyno ac yn tuchan, ne 'n ffreuo, ac yn *scowlio*, ac yn rhiucian, ar rw un ne gilidd, tan dae hi i'w gwely dychgefn. Mi gadwodd y gŵr yn tŷ lawer diwrnod i dendio arni, ac i gwyno iddi hi, o bwrpas; a'r cryadur gwirion gimin 'i helynt hefo hi, a phy tase hi 'r ddynes ore ar y ddyar! a gynted y troe o 'i gefn, ni fydde 'i gwaith hi ond lladd arno fo—nad oedd o 'n hidio dim yn y byd am dani hi. Mi fu arna i flys lawer gwaith cynnyg benthig fy llathen iddo fo, i'w mesur hi yn bur dda draws 'i gwar."

"Mae rhai merched yn mhob oes a gwlad 'fel defni parhaus ar ddiwrnod gwlawog,' fel y dywed Solomon," ebe Mrs. Harris.

"Defni!" ebe F'Ewythr Robert; "mi fedra i roi topyn o fwsog ne rwbeth, i gau twll hwnw; ond feder neb gau safn gwraig flin anynad."

"Y mae yn debyg na fedr yn wir," ebe James, "canys fe geisiodd St. Clare fwsogli genau Marie, drwy ddwyn anrhegion o bob peth dymunol a allai feddwl am dano; ond codi ei ffroen mewn diflasdod, a chwyno a chrintachu a wnai hi er y cwbl. Er y gallai ef fod yn dirion wrthi, yr oedd yn anmhosibl iddo ei hoffi. Wyneb tlws, a chorff hardd, a chan' mil o ddoleri, oedd yr unig bethau oedd ganddi i'w chymeradwyo—purion pethau i edrych arnynt oddiyma draw; ond blodau heirddion yn cuddio pigau llymion oeddynt. Siol wag, tymher anfoddog, calon oer anserchog, oedd o dan yr holl degwch ymddangosiadol. Bu genedigaeth Efa yn adloniad mawr i deimladau St. Clare,—daeth yn fuan i gymeryd hoffder neillduol yn y plentyn; ond bu hyd yn nod hyny yn achlysur i yru y fam yn fwy anfoddog fyth. Achwynai fod meddwl a serch y tad yn rhedeg yn gwbl ar y plentyn, a'i fod yn ei hanghofio ac yn ei diystyru hi. Yr oedd Efa bach yn blentyn hynod o dyner a gwanaidd o gyfansoddiad. Pan oedd tua phum mlwydd oed, cymerodd ei thad hi gydag ef oddicartref, ar ymweliad â pherthynasau iddo oedd yn byw yn Vermont; a pherswadiodd ei gyfnither, Miss Ophelia St. Clare, i ddychwelyd adref gydag ef; ac ar eu dychweliad adref o'r hynt hon yn yr agerlestr, yr oeddynt, y pryd yr oeddwn yn son am danynt neithiwr.

Merch bur hynod oedd y Miss Ophelia hon,—un dra gwahanol yn mhob peth i'w chefnder, St. Clare. Un fanwl, ofalus, a phenderfynol ei meddwl. Ymddangosai bob amser fel un yn gwylio ac yn edrych o'i deutu am ryw wrthddrych i gymeryd gofal am dano. Ni siaradai lawer, ond byddai yr hyn a ddywedai yn wastad yn uniongyrchol, cynnwysfawr, ac i'r pwrpas. Yr oedd yn hynod o reolaidd, trefnus, a chywir, yn ei holl ymarferion—yn gywir fel cloc, ac annyhuddol fel agerbeiriant; a chasäai â chas cyflawn bob peth croes i hyn.

Pechod mawr y pechodau oll, yn ei golwg hi, oedd esgeulusdra a diofalwch. Pobl segur, neu bobl na wyddent beth i'w

wneyd, neu na chymerent y llwybr mwyaf uniongyrchol i gwblhau yr hyn a amcanent ato, oeddynt wrthddrychau ei diystyrwch mwyaf. Yr oedd yn ferch o feddwl cryf a goleuedig. Yn ei golygiadau crefyddol yr oedd yn hollol sicr a phenderfynol; nid oedd dim i gael ei ychwanegu atynt, ei dynu oddiwrthynt, na'i gyfnewid arnynt; ac felly yr oedd gyda holl alwedigaethau a threfniadau cyffredin bywyd teuluaidd. Ac, o dan y cwbl, yn ddyfnach na phob peth arall, yr oedd egwyddor gryfaf ei chyfansoddiad — cydwybodolrwydd. Yr oedd Miss Ophelia yn gaethferch hollol i y *ddyledswydd.* Unwaith yr argyhoeddid hi fod "llwybr dyledswydd," fel yr arferai ei alw, yn ei galw ffordd hon neu ffordd arall, ni allai na thân na dwfr ei hattal oddiwrtho. Rhodiasai rhag ei blaen i'r pydew, neu i ffroen magnel lwythog, unwaith y credasai ei fod yn llwybr dyledswydd. Yr oedd ei safon o iawnder mor uchel, eang, a manwl, ac ni chaniatäai wneyd goddefion i wendid ac anmherffeithrwydd dynol, fel, er iddi ymdrechu â'i holl egni i gyrhaedd ei safon, y methai yn yr ymgais; a blinid ei meddwl yn fawr gan ymwybodolrwydd o'i diffygion, a rhoddai hyn ryw agweddiad llym a phruddaidd ar ei nodwedd grefyddol.

Er mor wahanol i'w gilydd ydoedd Miss Ophelia a'i chefnder yn holl elfenau eu nodweddau, yr oedd hi yn bur hoffus o hono er yn blentyn. Yr oedd hi yn hŷn o oedran nag ef, a buasai yn famaeth iddo yn ei fabandod. Yr oedd wedi syrthio mewn cariad mawr âg Efa bach hefyd—ac nid rhyfedd: a rhwng pob peth, ni chafodd ei chefnder waith mawr i'w pherswadio i ddyfod gydag ef, i arolygu ei dŷ a'i deulu.

"Wel, aros di 'rŵan," ebe F'Ewythr Robert, "wyt ti ddim yn meddwl fod y ferch ene rwbeth yn debyg iawn i'r Mrs. Bird hòno, James?"

"Y mae rhyw bethau yn y ddwy yn debyg i'w gilydd," ebe James, "ac eto y mae cryn wahaniaeth rhyngddynt hefyd, er na fedraf fi ddim dweyd yn iawn beth ydyw y gwahaniaeth chwaith. O'm rhan fy hun, mi fyddaf yn teimlo mwy o barch i Miss Ophelia nag o hoffder tuag ati, a mwy o ryw hoffder nag o ddim arall tuag at Mrs. Bird. Hwyrach y medr Modryb Elin esbonio y ddwy i ni."

"Un braf i esbonio, yn wir!" ebe Modryb Elin. "Ond dene oeddwn i yn feddwl am y ddwy—eu bod o dan lywodraeth dau deimlad gwahanol. Tosturi, caredigrwydd, a chymwynasgarwch oedd Mrs. Bird i gyd. Ystyriaeth o ddyledswydd oedd y cwbwl gyda'r llall. Anturiasai Mrs. Bird ei bywyd i'r perygl mwyaf i geisio achub yr hwn a welsai hi mewn cyfyngder; ac fe wnaethai y llall 'run peth os b'ase hi'n credu bod hyny yn ddyledswydd arni. Aberthai y flaenaf bob peth a feddai hi, a'i hunan hefyd, o dosturi calon deimladwy at ryw wrthddrych

truan; ac mi fase'r ola' yn gwneyd hyny, ond iddi hi gael ei hargyhoeddi y dylasai hi wneyd. 'O'r braidd y bydd neb farw dros un cyfiawn'—dene oedd Miss Ophelia: 'tros y da, ysgatfydd, fe feiddiai un farw hefyd'—a dene oedd Mrs. Bird. Ac eto, nid oedd Miss Ophelia yn amddifad o galon dosturiol, mae 'n debyg, ond mai cyfiawnder a 'styriaeth o ddyledswydd oedd ei hegwyddor lywodraethol hi; ac nid oedd Mrs. Bird chwaith yn amddifad o 'styriaeth o'i rhwymedigaeth, ond tosturi oedd elfen lywodraethol ei chalon hi."

"'Rwy'n coelio 'ch bod chwi wedi tynu darlun lled gywir o'r ddwy, Modryb Elin," ebe Mrs. Harris. "Mae y fath yna o bobl yn anamlach yn y byd nag y byddai dymunol eu bod."

"Os ydych chwi wedi darfod eu pwyso a'u mesur a'u hesbonio hwy, mi äf finnau ymlaen â'r hanes," ebe James.

"Mi fyddyliwn 'u bod nhw," ebe F'Ewythr Robert, "'m'hle mae dy linin mesur di, Rhys? oes arnat ti ddim blys i roi o ar y ddwy ene? 'Dwaenost ti rwrai tebig iddyn nhw?

"Na wn i, am ydw i 'n gofio 'rŵan," ebe Rhys "'s nad ydi Modryb Elin a Mrs. Harris yma."

"Hene, Rhys, mi fedri di ysgwyd dy gynffon, yn fedri di? I b'run o'r ddwy mae 'r hen wraig yma 'n debig, ddyliet ti?"

"Mae hi 'no debig i 'Phela hòno, 'rwy'n coelio,—wn i fawr am y llall, chlowis i mo hanes hôno, ond hyny glywis i heno."

"Wel, 'ryda ni 'n disgwil wrthat ti 'rŵan, Jemi," *ebe* F'Ewythr Robert.

Yr oedd yr agerlestr yn tynu at borth New Orleans pan y gadawsom hwy, ond ni a awn heibio i hanes a helynt a thrafferth y glanio—rhywbeth tebyg ydoedd i'r hyn a welir bob dydd ar ben glansarn (*pierhead*) Liverpool, neu le arall cyffelyb. Wedi cael pob peth ynghyd i'r cerbydau, gyrasant tua'r palas; a phan gyrhaeddasant y cyntedd, cyfodai yr holl dylwyth—gwŷr, gwragedd, a phlant, gan redeg i'w cyfarfod, a'u llawen-gyfarch. Yn flaenaf o'r rhes yr oedd gŵr ieuanc melynddu, hynod o drwsiadus ei wisg, ac o ymddangosiad pur sych foneddigaidd; ysgydwai gadach llogell camrig, wedi ei drwytho mewn perarogìau, fel arwydd llawen-groesawiad i'w feistr a Miss Efa ar eu dychweliad. Gorchymynai i'r lleill oll sefyll draw, yn awdurdodol iawn. Pan ddaeth ei feistr heibio iddo, ac ysgwyd llaw âg ef, dechreuodd dywallt allan ffrwd o hyawdledd croesawgar iddo, mewn araeth a barotoisid ganddo drwy bythefnos o fyfyrio caled, i'w chael yn barod erbyn yr adeg.

"Wel, wel," ebe ei feistr, gan basio heibio yn ysmala, "dyna ei gwneyd hi yn bur dda. Adolph, edrych di fod y pethau yn cael eu dwyn i mewn oll; mi a ddeuaf atoch i'ch gweled oll yn union deg." Ac ymaith âg ef, gan arwain Miss Ophelia i mewn i'r parlwr.

Tra yr oedd hyn yn myned ymlaen, yr oedd Efa bach mor gyflym ag aderyn, wedi rhedeg trwy y neuadd a'r parlwr i'r ystafell lle yr oedd ei mam duchanllyd yn gorwedd ar lwth.

"Mama!" ebe y fach, gan daflu ei dwylaw am ei gwddf, a'i chusanu drachefn a thrachefn.

"Dyna ddigon,—cymerwch ofal, blentyn—peidiwch—yr ydych yn codi cur yn fy mhen!" ebe y fam.

Ar hyn deuai St. Clare i fewn, a chofleidiai ei wraig yn foesgar a boneddigaidd, ac yna cyflwynai ei gyfnither iddi. Codai Marie ei golygon arni gyda gradd o sylw cywreingar, a derbyniai hi gyda hyfoesedd. Ymgasglasai y lliaws gweinidogion at y drws, ac yn eu mysg wraig ganol oed felynddu, o ymddangosiad pur barchus; safai ar flaen y rhes, wrth y drws, mewn cryndod o ddysgwyliad a llawenydd.

"O! dyna Mami," ebe Efa, a rhedai ar draws yr ystafell, a thaflai ei hun i'w breichiau, a chusanai hi drachefn a thrachefn.

Ni soniodd y wraig hon ei bod yn codi cur yn ei phen, ond i'r gwrthwyneb,—cofleidiai hi, a chwarddai, a wylai, hyd nes y gellid meddwl ei bod wedi colli arni ei hun. Wedi i Efa gael ei hun yn rhydd, hi a redai o'r naill at y llall, gan ysgwyd dwylaw a chusanu, nes oedd Miss Ophelia wedi ei tharo â syndod.

"Wel, ebe hi, "mi fedr plant yn y deheu yma wneyd rhywbeth na allwn i mo'i wneyd o."

"Beth ydyw hyny?" gofynai St. Clare.

"Wel, mi ewyllysiwn ninnau fod yn dirion wrth bawb, ac ni fynwn ddolurio neb; ond am gusanu ——."

"*Niggers?*" ebe St. Clare, "nid ydych i fyny a hyny,—ïe?"

"Ië, dyna ydyw 'r peth. Pa fodd y gall Efa wneyd!"

Chwarddai St. Clare, fel y rhodiai i'r trydded (*passage*). "Holo! Beth sydd i'w dalu am fyned ffordd yma—dyma chwi oll—Mami, Jemi, Palli, Süki—yn llawen wrth weled eich meistr gartref, ydych chwi?" ebe fe, gan ysgwyd llaw â phob un o honynt. "Edrychwch ar ol y plant bach," meddai, wedi iddo dripio ar draws un bychan, oedd yn cropian gerllaw.

Mawr oedd eu trwst yn chwerthin ac yn bendithio eu meistr; a rhoddai yntau ddernyn bychan o arian yn llaw pob un o honynt.

"Wel, yn awr, ewch bob un i'w fan, fel plant da," ebe fe: ac ymaith â hwy, ac Efa ar eu holau, yr hon a gariai fasgedan ar ei braich, o'r hon y cyfranai anrhegion bychain o bob amrywiaethau i'r naill a'r llall.

Fel y troai St. Clare i fyned yn ei ol, pwy a welai ond F'Ewythr Tomos, yn sefyll yn anesmwyth yr olwg arno, ac Adolph yn sefyll, yn goegfalch ei agwedd, a'i bwys ar y canllawiau, yn edrych ar Tomos trwy wydryn chwedalaw (*opera glass*).

"Pw! y coegyn gen ti," ebe ei feistr, "gan daro y gwydryn o'i law, "ai dyna fel yr wyt ti yn ymddwyn tuag at dy gydwas? a chan roddi ei fys ar y wasgod *satin* brydferth oedd am Adolph, efe a ychwanegai, "Ymddengys i mi, Adolph, mai fy ngwasgod i yw hòna."

"O! meistr," ebe Adolph, "mae y wasgod yna wedi ei staenio trosti â gwin; gŵr boneddig yn sefyllfa meistr dim byth yn gwisgo gwasgod fel hon: mi ddyallis i mai fi oedd i'w chael hi—mi neith yn wych i negro tlawd fel fi."

"Felly, ai dyna fel y mae hi, ïe?" ebe St. Clare, yn ddifater. "Wel, yr wyf yn myned yn awr i ddangos Tomos yma i'w feistres, ac yna cymer dithau ef i lawr i'r gegin, a chymer ofal na bo i ti chwareu dim o dy branciau ffol âg ef. Y mae o yn werth dau goegyn o dy fath di."

"Rhaid i meistr gael cellwer â ni 'n wastad," ebe Adolph, dan chwerthin: "mae 'n dda gin i wel'd meistr mor siriol."

"Dowch yma, Tomos," ebe St. Clare, gan amneidio arno.

Aeth Tomos i mewn i'r parlwr; edrychai yn sŷn ar y carpedau, y drychau, a'r cerfluniau ysplenydd, a welai ger ei fron; ac megys brenines Sheba o flaen Solomon, "nid oedd mwyach ysbryd ynddo." Edrychai fel pe buasai arno ofn gosod ei draed ar lawr.

"Edrychwch yma, Marie," ebe St. Clare wrth ei wraig, "mi a gefais gerbydwr iawn i chwi o'r diwedd. Y mae yn ail i elorgerbyd mewn düwch a sobreiddrwydd, ac efe a'ch gyra chwi mor esmwyth ag y mynoch. Agorwch eich llygaid ac edrychwch arno yn awr, ac na ddywedwch nad wyf yn meddwl dim am danoch pan elwyf oddicartref."

Cododd Marie ei llygaid, a chraffodd ar Tom, heb godi o'i gorwedd.

"Efe a feddwa, mi a wn o'r goreu," ebe hi.

"Na; y mae wedi ei warantu yn declyn crefyddol a sobr."

"Wel, gobeithio y try allan yn dda," ebe hithau; "ond y mae hyny yn fwy nag allaf fi ddysgwyl, o ran hyny."

"Dolph," ebe St. Clare, "cymer Tomos i'r gegin, a chofia beth a ddywedais i wrthyt."

Arweiniodd Adolph y ffordd, a dilynodd Tomos ar ei ol.

"Dyna fehemoth perffaith!" ebe Marie.

"Dowch yn awr, Marie," ebe St. Clare, "dywedwch rywbeth yn siriol wrthyf."

"Yr ydych wedi aros bythefnos dros yr amser," ebe Marie yn rwgnachlyd.

"Wel, mi a ysgrifenais atoch i ddywedyd yr achos, chwi a wyddoch."

"Y fath lythyr byr oerllyd!" ebe hithau.

"Yr oedd y cerbyd ar gychwyn, ac yr oedd yn rhaid iddo fod yn fŷr neu ddim."

"Dyna fel y bydd yn wastad," ebe y grintach,—"rhywbeth bob amser i wneyd eich teithiau yn feithion, a'ch llythyrau yn fyrion.

"Edrychwch yma yn awr," ebe fe, gan dynu *case* melfed prydferth o'i logell, a'i agor, "dyma anrheg a bwrcasais i chwi yn New York."

Darluniad gorwych o Efa a'i thad yn eistedd, â'i llaw hi yn ei law ef, ydoedd. Edrychai Marie yn anfoddog arno.

"Beth a wnaeth i chwi eistedd yn yr agwedd anolygus yma!" ebe hi.

"Wel, o ran yr agwedd, nid yw ond mater o opiniwn; ond beth ydych yn ei feddwl am y tebygrwydd?"

"Os nad ydych yn meddwl fawr o'm hopiniwn i mewn un peth, mi a allwn feddwl na phrisiech fawr o hono mewn peth arall," ebe 'r foneddiges yn anfoddog.

"Yn nghrog y bo'r wraig!" ebe St. Clare yn ddystaw ynddo ei hun.

"Amen, yn uchel ynghlyw pawb, medda ine!" ebe F'Ewythr Robert, "waeth gin i befo Elin na neb arall."

Chwarddasant oll, a Modryb Elin ei hunan, ar ymdoriad disymwth teimlad yr hen ŵr, yn y fan hon o'r stori.

"Fe wnaethech chwi glochydd rhagorol ar ddarlleniad melldithion mynydd Ebal uwch ben rhai fel y wraig yna a Haley, F'Ewythr Robert," ebe Mrs. Harris.

"Mi roeddwn i yn cytuno â fo o nghalon hefyd," ebe Rhys Puw.

"Da iawn, Rhys," ebe F'Ewythr Robert, "mi ddo i a thithe 'n ffrindie eto bob yn dipin."

"Os peidith o a gwnio ——, medd Cati."

"Taw Cati, y mynyd yma!" ebe Modryb Elin. "Ewch chwithe ymlaen, James bach," ebe hi drachefn, "onide mi eith yn fwstwr yma eto."

"Troi i geisio llochi Marie a wnaeth St. Clare," ebe James.

"Dowch, dowch, Marie, peidiwch a myn'd yn groes yrŵan: beth ydych yn feddwl o'r arlun?" ebe fe.

"Yr ydych yn bur ddideimlad," ebe hithau, "pan geisiwch genyf siarad ac edrych ar bethau. Chwi a wyddoch fy mod yn gorwedd trwy y dydd gan waew yn fy mhen; ac y mae yma gymaint o drwst a helynt, er pan ddaethoch adref, nes ydwyf wedi hanner fy lladd."

"Yr ydych yn dueddol i gur yn y pen, madam?" ebe Miss Ophelia, gan godi a nesau ati.

"Ydwyf, yr wyf yn ferthyr glân iddo," ebe y foneddiges.

"Y mae *juniper berry* yn dda iawn rhag cur yn y pen: o leiaf felly y dywedai Auguste, gwraig y diacon Abraham Perry, ac yr oedd hi yn feddyges dda."

"Mi fynaf gael y *juniper berries* cyntaf a ddelo yn addfed yn ein gardd, i wneyd prawf o honynt," ebe St. Clare, gan dynu yn y gloch. "Ond y mae arnoch eisieu gorphwys bellach ar ol eich taith, fy nghares. 'Dolph," ebe fe, "perwch i Mami ddyfod yma." Daeth Mami i'r golwg yn fuan, ac arweiniodd Miss Ophelia i'w hystafell wely, ac yr oedd yn llawn bryd iddi fyned, canys yr oedd yn flin a lluddedig gan y daith.

"Yr wyf finnau hefyd wedi blino," ebe James, "ac felly mi a droaf y pen arni yn y fan yna."

"'Rwyt ti 'n dal ati hi 'n o dda, chware teg i ti," ebe F'Ewythr Robert; ond rhyw stori go sychlyd, ar y cyfan, gowson ni gin ti heno, ragor ambell un gowson ni o'r blaen."

"Mi cawsoch chwi hi fel y cefais innau hi," ebe James, "ac os oedd hi 'n sychlyd, nid oedd genyf fi mor help, nid arnaf fi yr oedd y bai."

"Mi wn i hyny, machgen i," ebe yr hen ŵr; "'roedd y stori yn dda iawn, ond bod y lleill rwsut yn 'i churo hi, wyddost."

"Mae llawer o rai tebyg i'r rhai hyny yn y 'Caban' eto, F'Ewythr Robert," ebe Mrs. Harris, "ac ambell un mwy hynod na'r un glywsoch chwi eto."

"Wel, yn wir, rhw 'Gaban' rhyfedd ydi o!" ebe yr hen ŵr.

"Y mae y stori heno yn llawn iawn o addysg i rieni plant," ebe Modryb Elin. "Gwraig oedd y foneddiges yna wedi ei spwylio pan oedd hi 'n blentyn. Mae miloedd o blant wedi eu dystrywio drwy anwes a moethau, yn gystal a thrwy ormod o sarugrwydd a gerwindeb y rhieni tuag atynt. Anaml iawn y gwelwch chwi blant gafodd eu ffordd eu hunen yn nhymmor plentynaidd eu bywyd, na fyddant yn tyfu i fyny rwbeth yn debyg i hòno glywson ni am dani hi heno. Creulondeb perffaith tuag atyn nhw, ydyw gadael iddynt gael eu penau ymlaen yn ormodol, fel y dywedwn ni."

"Yr ydych yn dweyd y gwir yn hollol, Modryb Elin," ebe Thomas Harris. "Mi allen enwi llawer, yn feibion ac yn ferched, gafodd eu handwyo felly. Yn gyffredin iawn, pan ddelo rhei'ny yn dade ac yn fame plant 'u hunen, y maent yn troi fel arall, yn rhai c'ledion, bryntion, dideimlad, wrth eu plant: a'r plant a gaffont eu pwyo, a'u pwnio, a'u cystwyo o hyd, o hyd, y maent yn tyfu i fyny yn benglogied o bethe 'styfnig a muledd, yn bur gyffredin; mi fydd rhwbeth yn od i bobol eraill ynddynt, yn wastad agos."

"Rhyw blanigyn tyner iawn ydyw dyn," ebe Modryb Elin; "os na fydd gofal a doethineb mawr wrth ei feithrin o yn ei ie'nctid, odid fawr na thry 'n bren cam, cnycieg, na fydd o da i ddim byd byth. 'Hyfforddia blentyn yn mhen ei ffordd, a phan heneiddio, nid ymedy â hi,' medd Solomon. Y peth mwyaf ei bwys, a'r peth sy fwyaf ar ol o bob peth, yn y byd yma eto, ydyw iawn fagu plant."

"Mae o 'n gorphwys lawer iawn arnon ni 'r mamau, mi fydda i 'n meddwl," ebe Mrs. Harris. "Y mae ambell fam, pe bai 'i phlentyn hi 'n tori *sowser* dê, mi fydd fel arthes wedi colli 'i chenawon; a mi chwardda am 'i ben o, pan fyddo 'n dweyd anwiredd, neu yn arfer geiriau bryntion, hwyrach: hi a'i cerydda 'n llym am beth nad oedd ond dygwyddiad dibwys, heb ddim drwg ynddo; ond ni ddywed air wrtho am bethau pechadurus a drygionus."

"Y mae y peth ydych yn ddweyd yn ddigon gwir," ebe Modryb Elin; "ond nid yn y mamau mae 'r coll i gyd, chwaith. Yr oedd Eli a Dafydd yn bur ddiffygiol yn y peth yma, fel llaweroedd o dadau eto, ac fe ddaeth dau fab Eli, a dau neu dri, neu ragor na hyny, o blant Dafydd, i ddiwedd truenus. Fe ddywed yr hanes am Adonia, un o feibion Dafydd, na ddarfu i'w dad ei anfoddloni yn ei holl ddyddiau, trwy ddywedyd, 'Paham y gwnaethost fel hyn?' wrtho ar un achlysur. A hwyrach mai yn y peth yma y collodd y rhan fwyaf o hen dduwiolion y Beibl hi, yn bena o ddim. Troi allan yn ddrygionus iawn ddaru plant y rhan fwyaf o freninoedd da a duwiol Juda: ac er na ddywedir fawr am blant Samuel, y prophwyd, fe ddywedir cymaint a hyny, na 'rodiodd ei feibion o ddim yn ei ffyrdd ef.' Mae o 'n hen air genym ni, na feder rhieni ddim rhoi gras i'w plant; ond mi allant, ac mi ddylent roi addysg dda iddynt, yn ol gair Duw, a gweddïo trostynt; ac ni allaf fi gredu y bydd Duw yn ol o roi 'r fendith, os bydd y rhieni 'n ffyddlon a chydwybodol yn eu dyledswyddau, yn ol ei air ef. Ydyw, y mae ei ras ef fel yn tori tros y llestri yn aml, ac yn achub plant rhieni hollol annuwiol a digrefydd. Mae llawer o 'siamplau o hyny yn y Beibl, ac mi welson beth felly 'n hunain hefyd; a dyna 'r Efa bach ene, yr ydwyf yn gobeithio mai 'n ferch dduwiol iawn y try hi allan, ond ni ddysgodd hi fawr o grefydd oddiwrth na thad na mam. Canlyniad naturiol ydyw, fod plant y rhieni crefyddol, a fuant esgeulus o'u dyledswyddau wrth 'u magu nhw, yn tyfu i fyny yn galetach, ac yn fwy annuwiol, na phlant pobl eraill yn gyffredin."

"Mi fydde 'n well i chi 'ch dwy osod rhw glwb ne gymdeithas i fyny, at fagu plant, dd\liwn i," ebe F'Ewythr Robert. "Mae gynthyn nhw glybie 'n rhoid gwobre am fagu 'r ffyle a'r catal, a'r moch gore; gnewch chithe glwb i roi gwobre am fagu 'r plant gore."

"Mae plant da yn ddigon o wobr eu hunain i'w rhieni am yr holl drafferth i'w dwyn i fyny ar lwybr crefydd a rhinwedd," ebe Modryb Elin. "Y mae cydwybod dawel, eu bod wedi gwneyd eu dyledswydd yn ol y Beibl tuag atynt, yn ddigon o wobr ynddi ei hun; ac y mae y plant yn fynych hefyd yn codi i fendithio 'r cyfryw rïeni, fel y dywed Solomon am blant y wraig rinweddol."

"O! tydi hi ddim wel ene bob amser, chwaith," ebe F'Ewythr Robert. "Dyma Rhys yma, 'rŵan, er 'siampal;—'doedd dim hen bobol mwy serten a geirwir na'i dad a'i fam o, yn yr hollt wlad yma; a dyma Rhys 'i hun, wed'yn, mi ddeydith anwiredde cin gynted a'r gwynt, yni neid di, Rhys?"

"Leicio 'mhlagio i 'rydach chi, dwi'n siwr; ddeydech chi mo hynene am dana i yn y nghefn i wth neb, F'Ewyrth Rhobet," ebe Rhys.

"'Does gin i ond 'run peth i'w ddeyd yn dy gefn di ag yn dy wyneb di," ebe yr hen ŵr. "Sawl gwaith daru i ti addo dwad yma, 'rŵan, cin c'wiro? A mi nei addo myn'd i hanner dwsin o dai 'run diwrnod. A dydi hyny ddim 'n anwiredd, ddyliet ti? Mi wyddost o'r gore, pan fyddi di 'n addo, na fydd dim posib i ti fyn'd ond i un man. Mi 'rydw i 'n dy leicio di 'n birion trost ben ymhob peth ynd hyny; a mi wyt ti 'n tynud llawer o ddrwg yn dy ben dy hun wth fod felly. Ond dene lle daru i ti rwstro 'n lân, deyd dy fod di chwedi darllen y llyfr ene es pymtheng mlynedd."

"O! am 'Daith Pererin' John Bunyan 'roeddwn i 'n meddwl," ebe Rhys; "'doeddwn i ddim wedi 'ch dyallt chi 'n iawn; ond mi fyddylis, pen glowis i chi 'n dechre deyd am dano fo, mai hwnw oedd raid fod y llyfr."

"Rhw byrerin digri wyt ti, beth bynag," ebe F'Ewythr Robert. "Oeddet ti 'n meddwl na wyddwn i ddim am hwnw tan 'rŵan? Hen lyfr mae Elin chwedi i ddarllen i mi ddeng-waith drosodd!"

"Hidiwch mono fo, Rhys bach," ebe Modryb Elin; "mi wyddoch am dano fo o'r gore."

"O! gwn, gwn, yn burion, cyn heno," ebe Rhys. "Mi fyddwn ni 'n well ffrindie 'r ol ni 'mdderu tipin."

"Wel, ar draws pob peth, onid oedd yr Efa bach hòno yn beth anwyl a hawddgar?" ebe Mrs. Harris. "Yr oedd fel pe buasai ei holl ddedwyddwch hi mewn ceisio gwneyd pawb arall yn ddedwydd. Mor groes a gwahanol i'w mam oedd hi! Ceisiai hòno 'i dedwyddwch mewn gwneyd pawb o'i chwmpas yn druenus."

"Oedd, yr oedd y ddwy mor wahanol i'w gilydd ag oedd bosibl i ddau greadur dynol fod," ebe Modryb Elin. "Y mae yn debyg ei bod yn ddeddf sefydlog, na all un creadur rhesymol geisio gwneyd ei gydgreaduriaid yn druenus, heb wneyd 'i hunan yn druenus; a'r ochr arall, geisio gwneyd eraill yn ddedwydd, heb fod yn ddedwydd 'i hunan. Yr oedd y fam yna y greadures fwyaf annedwydd oedd yn y lle, 'n ddiammhau, yn nghanol pob peth a allasai 'i chalon hi ddymuno o bethau 'r byd yma; tra yr oedd yr eneth bach mor llon a dedwydd ag angel bach. Ynom ni 'n hunain mae gwreiddin a ffynnonell ein trueni, neu 'n

dedwyddwch, ac nid mewn dim o'r tu allan i ni o bethau 'r byd hwn. Y mae y Bod Mawr ei hun, yr hwn sy'n anfeidrol ddedwydd, yn caru gwel'd, ac yn caru gwneyd ei greaduriaid yn ddedwydd hefyd. Ac y mae Satan, yntau, yn chwanegu ei drueni ei hunan, wrth geisio gwneyd pawb arall yn druenus i'w ganlyn; ac yn hyn mae 'n eglur plant Duw a phlant diafol. Pe bae ni ddim ond edrych ar ddelw y ddau yn y fam a'r ferch bach yna: mor anhawddgar ac erchyll ydyw delw y diafol yn un! ac mor brydferth a chariadlawn ydyw delw ein Tad nefol yn y llall! 'Fel y byddech blant i'ch Tad, yr hwn sydd yn y nefoedd,' meddai Iesu Grist. 'Canys daionus yw efe i bawb, ïe, i'r rhai anniolchgar a drwg.' 'Y mae yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da, ac yn gwlawio ar faes y cyfiawn a'r anghyfiawn.'"

"Mi fyddai hanes Efa 'n fuddiol iawn yn llyfryn bychan ar ei ben 'i hun, i'w roi yn nwylo plant bach," ebe Mrs. Harris, "ac i gael 'i arfer yn yr ysgölion, i dynu 'u sylw hwy at wir hawddgarwch a rhinwedd, a'u dysgu i'w hoffi, a chodi awydd ynddynt am fod yn debyg iddi; a'r fath le dedwydd fyddai y byd yma, pe byddai pawb o'r un ysbryd a hi."

"Mae 'n debig cin i bod yr Efa-bach ene rwbeth yn debig i'r hyn oedd yr hen Efa fawr, yn ngardd Eden, ys talwm, cin iddi fyta 'r pren hwnw," ebe F'Ewythr Robert.

"Ffrwyth y pren, deydwch, f'ewyrth," ebe Cati.

"A nid ffrwyth y pren ddeydis i? Wel, beth bynag, dene oeddwn i 'n feddwl."

"Rhaid i ninnau feddwl am fyn'd adre, bellach," ebe Thomas Harris. "Dowch, Marged; rhaid i ni naill ai peidio a dwad yma, neu ofalu am fyn'd adre 'n gynnarach."

"Peidiwch a chwyno am hyny, Tomos," ebe F'Ewythr Robert; "tyda ni ddim yn treilio 'r amser yn ofer; mi 'r ydan ni 'n cael llawer o wbodaeth ac addysgiade da. Mi fyddwn i a chithe 'n aros yn llawer hwyrach na hyn yn dafarn ymbell waith, ys talwm, i wario arian ac amser am beth gwaeth na 'feredd. Tae pobol yn dechre cael blas ar ddarllen ac ymgomio am bethe da a buddiol, tae nhw byth mor ffol a myn'd i dreilio 'u hamser ac i wario 'u harian ar 'nfydrwydd, fel y mae llawer, 'soweth."

"Mi fum i 'n meddwl lawer gwaith," ebe Mrs. Harris, gan roddi ei *bonnet* am ei phen, "bod arno ni eisieu cael mwy o lyfre fel '*Cuban F'Ewythr Tomos*' yn Gymraeg, i ddenu pobol i ddarllen llyfrau fyddo'n cymysgu difyrwch âg adeiladaeth, i loni a dysgu y meddwl ar yr un pryd. Y mae llyfrau o'r fath hòno yn bethau lled ddyeithr i ni, yn ein hiaith ein hunain. Gallent wneyd lles dirfawr i ddiddyfnu dynion ieuainc, a hen hefyd, oddiwrth yr hen arferion ffiaidd o fyn'd at eu gilydd i'r tafarnau i ymgyfedda a diota—pethau sy'n dinystrio iechyd, ac amgylchiadau, moesau, ac eneidiau dynion."

"Tae chi 'n cynnig llyfre o'r fath hòno," ebe Rhys, "mi gaech wel'd y code llawer dwlyn Phariseaidd o gyrfyddwr 'i wrychyn 'n ofnadwy arnoch chi—rhwun fel Abel Ifan Abram, a'i ffasiwn; mi fyddylie, a mi ddeyde rhai felly, fod o 'r peth mwya anniwiol ddoeth 'rioed i'r byd yma."

"Mae hyny 'n ddigon tebyg," ebe Mrs. Harris; "ond ni fyddai 'n werth sylwi ar rai o'r fath hòno, druain; mae nhw 'n meddwl mai tynu wynebau hirion, a gwneyd lleisiau trist a chwynfanus ydyw crefydd i gyd. Yr oedd dynion o'r fath yna 'n codi 'u dwylo mewn dychryn rhag 'Taith Pererin' John Bunyan, pan ddaeth o gynta allan—'Dychym'gion ydi o gyd,' meddent, 'a chelwydd mae o 'n ddeyd—fu dim o'r fath bethe 'rioed.'"

"Gallent ddweyd yr un peth am lawer o ranau o'r Beibl ei hun, os felly," ebe Modryb Elin. "Y dammegion, a'r gweledigaethau—pethe na buant 'rioed yn llyth'renol oedd llawer o honynt. Ni fu coed y maes 'rioed yn dewis brenin, fel y mae Jotham yn dweyd; a llaweroedd o bethau cyffelyb, a gawn yn y prophwydi, a dammegion ein Hiachawdwr. Ond fe ddewisodd doethineb Duw y ffordd hòno fel yr un fwyaf cymhwys ac effeithiol i ddysgu dyn. Y mae difyru y meddwl yn fantais fawr i roddi addysg iddo."

"Wel, beth feddyliech chwi, F'Ewythr Robert," ebe James Harris, "pe bawn i yn ysgrifenu eich sylwadau chwi a Modryb Elin, a Chati, a Jacki, a nhad a mam, ar 'Gaban F'Ewythr Tomos,' ac yn eu danfon i rywun i wneyd llyfr o'r fath yna o honynt? A ydych chwi ddim yn meddwl y gwnae o lyfr go dda?"

"Wel, gna dithe, 'nte, o'm rhan i," ebe yr hen ŵr; "ond i ti 'falu rhoid yr hanes yn *g'rect.*"

"Er eich gên, James!" ebe Cati. "Leiciwn i ddim i ff' enw i fod yntho fo, beth bynag."

"Na fine, chwaith," ebe Jacki, "ar un cyfri 'n y byd."

"Be wyt ti 'n ddeyd, Rhys?" ebe F'Ewythr Robert.

"O! waeth gin i iddo fo neyd na pheidio, o'm rhan i," ebe Rhys. "Os chwerthith pobol am y mhen i, mi chwertha ine i'w calyn nhw. Neith o ddim drwg yn y byd i mi efo 'r bobol sy'n nabod i; am y lleill, waeth i mi be ddeydan nhw—wyddan nhw 'n y byd pwy ydw i."

"Wel, a dweyd y gwir i chwi, mae pedair rhan neu bump o'r llyfr wedi dyfod allan eisoes," ebe James. "Mi fyddwn i yn ysgrifenu bob nos, o'r dechreu, ar ol myn'd adref, sylwedd yr ymddyddanion fyddai yma. Mi wyddwn i o'r goreu eich bod chwi a Modryb Elin yn rhy gall i ddigio."

"Taw, da'th dithe! wyt ti 'n deyd y gwir, o ddifri 'rŵan?" ebe F'Ewythr Robert.

"Ydwyf, yn wir, hefyd!" ebe James.

"Taswn i 'n gwbod be oedd y'ch pwrpas chi 'n holi, faswn i fawr ddeyd i chi be fydden ni 'n siarad yma, ar ol i chi fyn'd i ffwrdd bob nos," ebe Cati.

"Wel, mi gym'rwch well gofal, bob un o honoch, beth fyddwch chwi yn 'i siarad," ebe Modryb Elin. "Peth sobor iawn fyddai meddwl fod rhywun â'i bin a'i bapyr yn ei law 'n gwrando arnom ni 'n siarad yn wastad, ac yn mhob man, ac yn taro i lawr bob gair a ddeydem ni, a hwnw i gael ei brintio mewn llyfr, a'i ddarllen trwy 'r wlad. Ond beth fydde hyny wrth gofio fod yr Hollwybodol yn ein clywed ni o hyd—'Nad oes air ar ein tafod, na meddwl yn myn'd trwy'n calonau ni chwaith, nad yw efe yn eu clywed, ac yn eu gweled nhw, ac y dwg ef y cwbl i'r farn yn y diwedd."

"Tyr'd ti a chimin o'r llyfr ene ag sy chwedi dwad allan, yma i mi, nos yfory, Jemi," ebe F'Ewythr Robert. "Rhaid i mi gael y llyfr ene, beth bynag. Ddeydis i ddim byd, am wn i, bydde raid i mi g'wlyddio o'i achos o, ys gneist ti chware teg â fi—trin 'r hen Harli hwnw 'n o frwnt weithie, hwrach; ond un brwnt oedd o, mi ddwed pawb hyny."

Yr oedd Thomas Harris a'r wraig yn gwybod am "AELWYD F'EWYTHR ROBERT" yn eithaf da; ac yr oeddynt hwy a James wedi gwneyd ymdrech i gadw teulu yr Hafod mewn anwybodaeth am dano, hyd oni cheid adeg a chyfleusdra fanteisiol i wneyd y peth yn hysbys; a rhoddi yr adeg hòno o flaen James oedd yn un amcan gan ei fam wrth sylwi fod prinder llyfrau o'r fath yn yr iaith Gymraeg. Yr oedd Cati wedi clywed rhywbeth am ryw lyfr oedd yn dyfod allan, ond nid oedd erioed wedi dychymygu y fath lyfr ydoedd. Yr oedd Rhys, yntau, wedi clywed, er's diwrnod neu ddau, son am dano, ond heb ei weled; ond yr oedd James wedi dadguddio y cwbl iddo o'r neilldu yr hwyr hwnw.

Yr oedd ar James, a'i dad a'i fam, fawr ofn y buasai yr hen bobl yn tramgwyddo am yr hyfdra hwn; a llawen iawn oedd ganddynt eu gweled yn cymeryd y peth fel yr oeddynt: ac am Rhys, fel yr awgrymwyd, yr oedd ef wedi rhoddi cenad i James wneyd y defnydd a fynai o hono ef yn y stori; ac yr oedd ei drwstaneiddiwch y nos o'r blaen yn fwy o ffug, hwyrach, nag ydoedd yn wirioneddol; canys byddai Rhys yn cael mawr ddifyrwch yn sylwadau F'Ewythr Robert, er iddo fod ei hunan yn wrthddrych ei sènau.

Aeth y tri Harris adref yn siriol y noson hòno, wedi gweled nad oedd James, drwy yr hyn a wnaethai, wedi dolurio a thramgwyddo yr hen bobl.

## NOSON XIV.

"Mi aeth yn hwyrach nag arfer arnoch chi, heno," ebe F'Ewythr Robert, wrth y tri Harris, pan ddeuent i mewn y noson hon; "'roedden ni wedi ofni na ddoech chi ddim. Mae hi 'n nosweth braf iawn, ynd ydi hi?"

"Ydyw," ebe Thomas Harris. "Mi fuon ni 'n hir iawn yn dwad yma—mi 'r oedd James a'i fam yn ceisio cyfri 'r ser, a chowswn i yn y myw gynddyn nhw ddwad yn 'u blaene; mi 'roedden nhw 'n ceisio dangos y seren yma a'r seren arall i mi, ac yn rhoi rhw enwe arnyn nhw—ond 'doeddwn i 'n dyall dim llawer o'r pethe oedden nhw 'n geisio ddeyd wrtha i, os oedden nhw 'n dyall 'u hunen."

"Wel, yn wir, wn ine fawr iawn am y ser, na'u henwe," ebe F'Ewythr Robert. "Mi wn ragor rhwn yr haul a'r llyad—dene 'r cwbwl. Mi fydde Elin yma, ys talwm, yn ponsho llawer iawn ar 'i phen hefo nhw."

"Mi fyddwn i yn hoff iawn o edrych ar y ser pan oeddwn i 'n eneth ifanc," ebe Modryb Elin. "Llawer codwm gefais i wrth gerdded ar hyd y ffyrdd â mhen i fyny, yn syllu arnyn nhw. Yr ydwyf yn cofio un tro i mi syrthio felly, ac mi 'roedd Gruffydd Dafydd William, o Gae 'r Gaseg, yn dyfod ar f' ol i—hen ŵr duwiol iawn oedd Gruffydd. 'Wel, y ngeneth i,' ebe fo, 'ceisio cyfri 'r ser 'roeddet ti? Fyddi di byth yn ydrach i fyny tudraw i'r ser?—'dwyt ti ddim yn ydrach yn ddigon uchel i fyny, os na fyddi di. 'Rydw i 'n meddwl, wel' di, rhoid naid i fyny 'mhell tu'cha 'r ser acw, rw ddwrnod.'

'Mi leiciwn i eich gwel'd yn rhoi y naid hono, F'Ewythr Gruffydd,' ebe finnau, 'gadewch i mi gael gwybod pan fo chi 'n myn'd i neyd?'

''Delli di na neb arall y ngwel'd i, ngeneth bach i,' ebe Gruffydd, 'mi fydda i yn gadel 'rhen gorff yma ar ol yr amser hòno.'

'Wel, i b'le yr ydach chi 'n meddwl myn'd,' meddwn ine.

'Glowis ti monyn nhw yn canu 'r hen bennill hwnw yn y capel:—

'Gadawn y byd ar ol,
Y byd y cawsom wae;
Y byd ag sydd bob dydd
Yn ceisio'n llwfrhau;
Ni welwn wlad uwch ser y nef,
Sydd fil o weithiau 'n well nag ef.'

I'r wlad hòno 'rwyf fi yn meddwl myn'd—y nefoedd gelwir hi,—lle mae Iesu Grist, a'r angelion, a'r saint, yn byw, a lle nad oes na gofid, na phoen, na chystudd, nac ange, nac ofn, na galar; ond bywyd, a llawenydd, a chanu, a charu, a dedwyddwch, a digrifwch, yn oesoesoedd.'

"Mi gafodd geiriau Gruffydd y fath argraff ar fy meddwl i, fel na allais byth eu hanghofio. Er nad oeddwn yn gallu deall fawr ddim o ystyr a meddwl ymadroddion yr hen ŵr, yr oeddwn yn teimlo fod rhywbeth ynddynt, na wyddwn yn y byd pa beth, ond rhywbeth oedd yn siarad â nghalon a nheimlad i, er eu bod nhw 'n dywyll i fy neall i. 'Wel,' ebe fi, 'mi leiciwn ine ddwad atoch chwi i'r wlad hòno.'

'Wel, os ceisi di adnabod a charu Iesu Grist, a'i wasnaethu, a'i ddilyn o 'n ol 'i air, mi fyddi 'n sicir o gyredd ono. 'Does neb arall geith fyn'd i'r wlad wynfydedig hòno, fel y mae hen bennill arall yn deyd:—

'Agorodd ef pan rwygai 'r llen,
Holl auraidd byrth y nefoedd wen,
'Roi rhyddid i'w gariadau ef
I mewn i holl drigfanau 'r nef.'

Yr ymddyddan dygwyddiadol yna gyda Gruffydd, barodd i mi ddechreu meddwl gyntaf am grefydd. Y mae Gruffydd wedi rhoi naid uwchlaw 'r ser er's llawer dydd bellach. Yr wyf yn credu iddo fo 'i chyrhaedd hi. Fe ddyoddefodd yr hen greadur lawer o achos ei grefydd yn nechreu 'i yrfa, ond mi ddaliodd yn wrol a ffyddlawn hyd angeu. Yr oedd yn hoff ryfeddol o hen bennillion fel y rhai a grybwyllais i. Llawer gwaith yr adroddodd o y darn pennill hwnw ar ei wely angeu—

'Mae y nefoedd fawr yn agos
Rhwygwyd y cymylau i gyd.'"

"'Rwy'n coelio y neidi dithe ar ol Gruffydd, un o'r dyddiau yma," ebe F'Ewythr Robert, a'r dagrau yn llifo i lawr ei rudd-iau; "mi 'rwyt ti 'n son llawer am y wlad hòno, wel y bydd y bobol yma sydd yn myn'd i'r 'Merica yn son am fyn'd ono;— ond mi leiciwn i gael gafael yn dy gwt ti, pen fyddi di 'n cochwyn," ebe fe, drachefn, dan wenu.

"Cofiwch beth ddywedodd Haley—'bod yn rhaid i bawb sefyll ar ei wadnau ei hun.' 'Derbyn berl o enau llyffant,' medd yr hen air: ac nid yw y gwirionedd yna ddim gwaeth am ei fod wedi dyfod trwy enau rhyw lyffant o ddyn, fel Haley."

"Yn wir, mi fu 'n dda i ni ddygwydd edrych a dechreu son am y ser," ebe Mrs. Harris, "ni a gawsom hanesyn pur felus, a phur fuddiol, gan Modryb Elin, oddiwrth hyny. Rhyfedd fel y mae y naill beth yn arwain i'r llall! Fasech chwithau ddim yn meddwl am yr hen Gruffydd Dafydd William heno, ond fel y dygwyddodd i'r siarad eich arwain chwi i feddwl a chofio am dano fo."

"Ddoist ti a rhai o'r llyfr hwnw i mi, Jemi?" ebe F'Ewythr Robert.

"Do," ebe James; "y mae genyf ddwy ran o hono; a dyma nhw i chwi."

"O! *dear* anwyl! rhowch wel'd," ebe Cati. "Wel, O! 'n wirionedd i—welis i 'rioed siwn beth o'r blaen! Be ddyliech chi ydi 'i enw fo, f'ewyrth? '*Aelwyd F'Ewyrth Robert!*' Wel, James! James! Ydi 'n wir, mae f' enw inne yntho fo!·a Jacki hefyd! Wel, ni wn i ddim be na i! Wfft i'ch calon chi, James! A mi ddaruch ddafnon y'n hanes ni i ddyn Lerpwl ene, a hwnw 'i 'neyd o'n llyfyr i'w breintio, i fyn'd i bob man! Fynaswn i ddim ar un cyfri ar wyneb y ddyar yma! Mi ä i ffwrdd o'r wlad—mi ä hefyd!"

"'Aelwyd Ff'Ewyrth Rhobet' wyt ti 'n 'i alw fo, ai ê?" ebe yr hen ŵr;—"reiol henw trost ben hefyd! Wel, un garw wyt ti! Rhaid i ti ddarllen tipyn o hono fo i mi, 'rŵan, i ydrach sut y bydda i 'n i leicio fo."

Yna darllenai James ryw ddetholion o'r "Aelwyd," a dyfal iawn oedd y gwrandaw. Wedi myned dros ychydig o adraniadau,—

"Dyna ddigon heno, i gael i ni fyned at 'Gaban F'Ewythr Tomos,'" ebe James;—"ond beth ydych yn feddwl o hono?"

"Wel, yn wir, 'rydach chi 'n trwsio 'r stori yn dda trost ben;—a mi gofist am spectol y gath, a'r hen geffyl gwyn, a'r cwbwl, 'rwy'n gwel'd? Mi fydd pobol yn meddwl y mod i 'n wrionach nac ydw i, debig cin i; ond gâd iddyn nhw, o ran hyny. Be wyt ti 'n feddwl, Neli?"

"Nid ydwyf fi yn gofalu dim am dano fo," ebe Modryb Elin, "os gallant hwy ei wneyd o 'n llyfr i fod o ryw les yn y wlad."

Cipiodd Cati y llyfr drachefn, a gwaeddai—

"O! na 'drychwch da chithe! dyma 'n llun ni yntho fo, bod yg un, a llun Tobit, a Judi, hefyd! Wel, welis i 'rioed fath beth—na welis i 'n wir! Y mae llun f'ewyrth yn bur dda; 'dydw i ddim yn ych licio chi cystal, modryb—'rydach chi 'n harddach o lawer na hon. Mi 'rydw i 'n ormod o *ledi* yma, o lawer iawn; a Jacki—ha! ha!—mae o 'r un fath a fo o bethe 'r byd—ydrach Jacki!"

"'Does arna i ddim isio gwel'd rhw *nonsens* fel ene," ebe Jacki—ac yn edrych arno er hyny, a thorodd i chwerthin heb yn waethaf iddo ei hun.

"Fydde well i ti roid benthyg fy spectol i i Judi, i gael iddi hithe wel'd 'i llun," ebe F'Ewythr Robert.

"Mi fydd yn gwilydd gin i ddangos y ngwyneb bellach, mewn na llan na chapel," ebe Cati; "mi fydd son am dano ni trw 'r hollt wlad!"

"Hidia ddim, y ngeneth i," ebe yr hen ŵr; "fydd gin neb ddim drwg i'w ddeyd am dano ni. 'Tase ti chwedi llydrata, ne 'neyd rhw ddrwg i fyn'd i afel y gyfreth, mi fase d'enw di yn y papyr newydd, a hanes dy dreial, a phethe felly—mi fase achos i ti ostwn dy ben tase hi felly. Mi ddwed pawb mai geneth bert

'i thafod wyt ti, os gnaeth James gyfiawnder â thi, a fydd gynthyn nhw ddim gwaeth na hyny i'w ddeydyd am danat ti, a mi ŵyr pawb sy 'n dy nabod di hyny eisys. Ac am Jacki, ni fydd i garitor o nag uwch nag îs nag oedd o'r blaen, ond y bydd o dipin yn fwy 'nabyddus; a chowse enwe 'r un o honon ni fyn'd byth i'r preint, oni base i James feddwl am 'neyd fel y gnaeth o. A 'does wbod ar ddyar, wel di, faint o les neith sylwade dy fodryb i'r rhai a'u darlleno nhw; a fase hi ddim yn hawdd i roid y rheini, heb roid y'n sgwrs ninne i fewn hefyd—mae 'r naill nglŷn wrth y llall, wyddost."

"Cewch chwi hamdden gyda'ch gilydd i edrych tros yr 'Aelwyd,'" ebe James. "Gwell i mi fyn'd at y 'Caban,' bellach. Yr ydych heb glywed dim o hanes Elisa er's tro bellach, ac yr oedd F'Ewythr Robert yn lled gwyno neithiwr, bod hanes Marie yn un lled sych; ni a'i gadawn hi, ynte, am dro, i fyned i ymweled â'n hen gyfeilles, Elisa."

Ni a'i gadawsom hi y tro o'r blaen yn nhŷ yr hen ŵr tàl, cryf, caredig, hwnw, yr hwn a ddywedai na buasai yn beth da ar les iechyd neb, i ddyfod i geisio neb na dim o'i dŷ ef, yn groes i'w ewyllys.

"O! ïa; 'rwy'n cofio am hwnw," ebe F'Ewythr Robert; "hen fachgen clên ryfeddol oedd o."

Ond noddfa am dro byr oedd yno i Elisa. Yr oedd yn nghyrhaedd y perygl; a danfonodd ei chymwynaswr hi i ofal a nodded cymwynaswyr tirion eraill.

Yr oedd pentref a chymydogaeth, heb fod yn ymhell iawn, a gyfanneddid gan Gwaceriaid. Bu y blaid hon, er ei mawr anrhydedd, yn gyfeillion diffuant i'r caeth a'r gorthrymedig bob amser. Cadwodd ei haelodau eu dwylaw yn lân oddiwrth aflendid a ffieidd-dra y gaethwasiaeth, a dygasant eu tystiolaeth onest yn ei herbyn. Nid oes odid un blaid grefyddol arall yn y taleithiau caethion, nad ydynt wedi eu halogi i raddau mwy neu lai, a'r rhan fwyaf o honynt yn ddwfn iawn.

Yn nhŷ un o'r cyfeillion caredig hyn yr ydym yn awr yn cael Elisa. Y mae yn gulach a llwytach ei gwedd nag ydoedd pan y diangodd o Kentucky. Y mae y gofalon a'r pryderion dwysion, yr ofnau a'r anhunedd a brofasai, wedi gadael eu hol arni. Y mae rhyw argraff o ddwysder ac ymroddiad meddwl yn eistedd ar ei gwedd hardd, nad oedd i'w weled yno o'r blaen. Yr oedd dysgyblaeth gofid trwm wedi rhoddi megys calon arall ynddi, a gwedd arall arni. Pan godai ei llygad du mawr i edrych ar ol Harri bach, yr hwn oedd yn campio ac yn prancio o'i chwmpas, gellid canfod fod ynddo ryw ddwfn ymroddiad, a phenderfynoldeb, nad oedd erioed i'w ganfod ynddo yn ei dyddiau boreuaf a hapusaf.

Wrth ei hochr, eisteddai gwraig â phadellig *din* ar ei glin, i'

hon y pigai eirin yn brysur. Gallai fod o bymtheg a deugain i driugain oed. Amwisgai yn y ffasiwn Gwaceraidd, yr hon oedd yn gweddu yn brydferth iddi. Yr oedd megys pe buasai "Ar y ddaear, tangnefedd, i ddynion ewyllys da," i'w ddarllen ar ei thalcen; o dan yr hwn y pelydrai pâr o lygaid mawrion, dysglaer, cariadlawn: ni buasai raid i chwi ond edrych arnynt, na welech ar unwaith i waelod calon mor bur a diffuant ag a gurodd erioed yn mynwes gwraig. Traethwyd a chanwyd llawer ar brydferthwch genethod ieuainc, paham na chyfodai rhywun i ganmawl prydferthwch hen wragedd? Os bydd ar rywun eisieu ysbrydoliaeth i'w gynhyrfu i wneyd hyn, nyni a'i cyfeiriem at ein cyfeilles garedig, Rachel Halliday, fel y mae hi i'w gweled yn eistedd acw yn ei sigl-gader fechan. Yr oedd gan y gader ryw wichiad a chryniad wrth roncian dani, fel pe buasai naill ai wedi cael yr anwyd neu ddiffyg anadl, neu anhwyl gewynawl. Wrth roncian yn ol ac ymlaen yr oedd ganddi rochiad trymaidd, a fuasai yn annyoddefol mewn unrhyw gader arall ond y hi. Ond sylwai yr hen Simeon Halliday yn aml ei fod cystal a dim miwsic i'w glust ef, a dywedai y plant oll na fynasent golli tôn cader eu mam, er dim yn y byd. Ond paham? Dros ugain mlynedd, neu fwy, ni ddaethai dim ond geiriau caruaidd, a moeswersi da, a charedigrwydd mamaidd, o'r gader hòno. Iachesid aneirif boenau a chalonau gofidus o honi; chwelid llawer dyryswch tymmorol ac ysbrydol ynddi—y cwbl gan un wraig rinweddol gariadlawn. Bendith arni!

"Dyna y desgrifiad a gawn o gymwynaswraig letygar Elisa," ebe James.

"Yn wir, mi ddaeth i le da iawn," ebe F'Ewythr Robert. "Mi rydw i 'n cofio ene Gwacers 'n agos i Ddolgelle es talwm. Mi 'roedd ono ddwy hen wraig yn byw hyd yn ddiweddar iawn yma. Mi 'roedd rhwbeth yn y rheini yn no debig i'r wraig dda ene. Mi fydde 'r hen Syr Robert Vaughan yn ffond iawn o honyn nhw; a felly 'roedd pawb, am wn i. Mae 'r Senters chwedi prynu 'u hen gapel nhw, dw i 'n meddwl. Mae nhw chwedi darfod yn lan 'rwan; piti oedd hyny hefyd. Ond mi rydw i 'n tori ar dy draws ti. Dos di ymlaen; mi rydw i 'n' dechre leicio dy stori di yn dda iawn."

"Ac felly, 'rwyt ti 'n dal i feddwl am fyned i Canada, Elisa," ebe Rachel, fel yr oedd yn trin ei heirin.

"Ydwyf, ma'am!" atebai Elisa yn benderfynol. "Rhaid i mi fyned yn fy mlaen—ni allaf feiddio aros!"

"Ond pa beth a wnei ar ol myned yno? Rhaid i ti feddwl am hyny, fy merch."

Crynai dwylaw Elisa, a threiglai y dagrau tros ei gruddiau; ond atebai yn benderfynol,—

"Mi a wnaf unrhyw beth a allaf ei gael i'w wneyd; ac yr wyf yn gobeithio y gallaf daro wrth rywbeth."

"Ti a wyddost y gelli aros yma cyhyd ag yr ewyllysi," ebe Rachel.

"O, diolch i chwi!" ebe Elisa; "ond," gan bwyntio at Harri—"ni allaf gysgu y nos—ni allaf orphwys. Neithiwr mi a freuddwydiais weled y dyn yn dyfod i'r buarth," ebe hi, dan grynu.

"Druan o honi!" ebe Rachel, gan sychu ei llygaid; "ond rhaid i ti beidio a theimlo fel yna. Fe drefnodd yr Arglwydd na chafodd un ffoadur ei gymeryd o'n pentref ni erioed. Yr wyf yn hyderu nad tydi fydd y cyntaf."

Ar hyn agorai y drws, a deuai gwraig fechan gron gryno, a gwyneb llawn gwridog, fel afal addfed, i mewn. Yr oedd yn gwisgo fel Rachel, yn yr arwedd-wisg Gwaceraidd.

"Ruth Stedman," ebe Rachel, gan fyned ati yn siriol, ac ymaflyd yn ei dwylaw. "Pa fodd yr ydwyt, Ruth?"

"Da iawn," atebai Ruth, gan dynu ei *bonnet*. Yr oedd y wraig fach gariadus hon tua phump ar hugain oed, ac yr oedd yn un mor lanwaith, bert, siriol, dymher fwyn, ag a lawenychasai galon gŵr erioed.

"Ruth, Elisa Harris ydyw ein cyfeilles hon; a dyma y bachgen bach y soniais wrthyt am dano," ebe Rachel.

"Y mae yn dda iawn genyf dy weled, Elisa," ebe Ruth, gan ysgwyd ei llaw, fel pe buasent yn hen gydnabyddion. "A dyma dy fachgen bach anwyl di? Mi a ddygais deisen iddo," ebe hi, gan ei thynu allan, a'i dal at y plentyn, yr hwn a ddeuai ymlaen yn araf wylaidd i'w derbyn o'i llaw.

"P'le mae dy faban, Ruth?" ebe Rachel.

"O, y mae yn dyfod; mae dy Fari di wedi ei gymeryd oddiarnaf, a myned âg ef i'r ysgubor i'w ddangos i'r plant." Ar hyn agorai y drws, a dyma Mary, geneth landeg, wridog, siriol, fel ei mam, yn dyfod i mewn, a'r plentyn ar ei braich.

Rhydd ein hawdures gryn gwrs o'r ymgomio a fu rhyngddynt ynghylch y naill beth a'r llall, na waeth i ni fyned heibio iddo. Ar ganol yr ymgomio yma, dyma Simeon Halliday, gŵr tal, syth, gewynog, yn dyfod i mewn. Ac wedi ymgyfarch â'i ferch, Ruth Stedman, ac ychydig o ymddyddan ar bethau cyffredin teuluaidd—

"Dim newyddion, tada?" gofynai Rachel (ei wraig).

"Dywedai Peter Stebbins, i mi y deuent heno gyda rhyw gyfeillion!" ebe Simeon, yn bwysleisiol, fel yr oedd yn golchi ei ddwylaw yn y porthgafn.

"Yn wir!" ebe Rachel, gan edrych yn feddylgar, a thaflu ei golwg ar Elisa.

"A ddywedaist ti mai Harris yw dy enw di?" gofynai Simeon i Elisa pan ddeuai yn ol i'r ystafell.

Edrychai Rachel yn graff ar ei gŵr, fel yr atebai Elisa, dan grynu, "Do!" Yr oedd ei hofnau wedi eu cyffroi. Dychymygasai fod hysbysiadau allan am dani.

"Mama?" galwai Simeon o'r porth, ar Rachel i ddyfod allan.

"Beth sydd arnat eisieu, tada?" ebe Rachel, gan rwbio ei dwylaw blodiog, canys yr oedd yn tylino ar y pryd, a rhedai allan ar ei ol.

"Y mae gŵr y ferch yma yn y gymydogaeth, ac fe fydd yma heno!" ebe Simeon.

"'Dwyt ti ddim yn dweyd y fath beth, tada," ebe Rachel, a'i gwyneb yn dysgleirio gan lawenydd.

"Y mae yn eithaf gwir! Yr oedd Peter i lawr ddoe gyda'r wagen, wrth y rhyd, a gwelodd hen wraig a dau ddyn; dywedai un o honynt mai ei enw ydyw George Harris: ac yr wyf yn sicr o hono, oddiwrth yr hyn a fynegodd o'i hanes. Dyn hardd hoew ydyw hefyd."

"A gawn ni ddweyd wrthi yn awr?" ebe Simeon.

"Gad i mi ddweyd i Ruth," ebe Rachel. "Hwda Ruth—tyr'd yma!"

Taflai Ruth ei gwnïadwaith o'i dwylaw, ac atynt â hi mewn moment.

"Beth dybyget ti, Ruth," ebe Rachel, "tada yn deyd bod gŵr Elisa wedi dyfod i'r gymydogaeth, ac y bydd yma heno. Neidiodd Ruth, gan guro ei dwylaw o orfoledd, pan glywodd hyn.

"Ust! ust! Ruth," ebe Rachel, "a gawn ni ddeyd i Elisa yn awr, feddyliet ti?"

"Yn awr! wel, ïe, yn sicr ddigon. Tybiwch 'n awr mai 'm John i fuasai, pa fodd y buaswn yn teimlo? Dywedwch wrthi rhag blaen."

"Nid wyt yn arfer dy hun i ddim ond i ddysgu pa fodd i garu dy gymydog, Ruth," ebe Simeon, gan edrych yn gariadlawn ar Ruth.

"Sicr iawn," ebe Ruth, "ai nid i hyny y gwnaethpwyd ni? Pe na buaswn i yn caru John a'r baban bach, ni buaswn yn gallu teimlo trosti hi. Dowch yn awr, mynegwch iddi—gwnewch," ebe hi, gan osod ei llaw ar ysgwydd Rachel. "Cymer hi i'th ystafell wely di, a dywed iddi yn awr."

Daeth Rachel i mewn i'r gegin, lle yr oedd Elisa yn gwnïo, ac wedi agor drws ystafell fechan o'r neilldu, "Tyred yma, fy merch," ebe hi; "y mae genyf newydd i'w fynegu i ti."

Rhedodd y gwaed i wyneb gwelw Elisa, a chyfododd yn gryndedig, gan daflu golwg bryderus ar ei bachgen bach.

"Na, na, paid di ag ofni," ebe Ruth, gan neidio ati. "Newyddion da ydynt—dos i fewn, dos i fewn!" ac arweiniai hi i ddrws yr ystafell, yr hwn a gauwyd ar ei hol; yna, gan droi at Harri bach, cofleidiai ef i'w mynwes, gan ei gusanu.

"Ti gei weled dy dad, yr un bychan; a wyddost ti hyny?" meddai drachefn a thrachefn, fel yr edrychai y bychan yn synllyd arni.

Galwodd Rachel Halliday Elisa i nesau ati, a dywedai, "Y mae yr Arglwydd wedi cymeryd trugaredd arnat ti, fy merch—y mae dy ŵr wedi dianc o dŷ y caethiwed."

Cododd y gwaed i wyneb Elisa yn ddisymwth, a rhedai yn ol i'w chalon drachefn gyda rhuthr. Eisteddai i lawr yn welw a llewygol.

"Cymer galon ferch," ebe Rachel, gan roddi ei llaw ar ei phen. "Y mae ef gyda chyfeillion, y rhai a'i dygant ef yma heno."

"Heno!" ebe Elisa, "heno!" ac ar hyn hi a syrthiodd yn ol mewn llewyg.

Pan ddadebrodd, cafodd ei hun wedi ei bwrw ar y gwely, a gwrthban trosti, a Ruth yn rhwbio ei dwylaw â *champhor*. Agorodd ei llygaid mewn math o freuddwyd melus, y fath a brofa un a fyddai wedi cael ymwared o faich trwm, a hir wasgesid arno. Yr oedd yr ymdyniad gewynol, yr hwn nad oedd wedi ymattal er awr gyntaf ei ffoedigaeth, yn awr wedi peidio; a theimlad o ddiogelwch ac esmwythder wedi ei meddiannu. Gorweddodd yno am ennyd i fwynhau teimladau a fuasent yn bur ddyeithr i'w mynwes er's hir amser; ac o'r diwedd syrthiodd i hun cwsg, y fath gwsg na phrofasai ei hamrantau o'r blaen, er cyn y noson rewllyd hòno y diangasai ymaith o dŷ ei chaethiwed.

Breuddwydiai am wlad brydferth,—gwlad o orphwysfa, fel yr ymddangosasai iddi hi, o ddolydd gwyrddion, ynysoedd hyfryd, a dyfroedd gloewon; ac yno mewn annedd dawel, yr hon y dywedid oedd ei chartref bellach, gwelai ei phlentyn yn campio ac yn chwareu yn blentyn rhydd. Clywai sŵn traed ei gŵr yn nesau, ac yn ei chofleidio, a'i ddagrau yn disgyn ar ei gwyneb; yna deffrodd! Ac nid breuddwyd ydoedd. Yr oedd y dydd wedi cilio; yr oedd ei phlentyn yn cysgu 'n dawel wrth ei hochr; a chanwyll yn oleu ar y bwrdd gerllaw, a'i gŵr yn wylo uwch ei phen.

Y boreu dranoeth cydeisteddodd y teulu dedwydd hwn o amgylch y bwrdd i gydgyfranogi o'u boreubryd—y pryd y gwneir mwyaf o ddarpariadau ar ei gyfer yn Indiana a pharthau eraill yn America. Hwn oedd y tro cyntaf erioed i George eistedd i lawr mewn sefyllfa gydraddiol â dyn gwyn wrth ei fwrdd; ac ar y cyntaf efe a deimlai rywbeth yn betrusgar a ffwdanus; ond diflanodd y cwbl fel tarth o flaen awelon y boreu, yn y sirioldeb a'r caredigrwydd diffuant oedd yno.

Yr oedd y lle hwn yn gartref yn wir. *Cartref!* gair na wyddai George erioed o'r blaen am un ystyr iddo; a dechreuodd cred-

iniaeth yn Nuw, a hyder yn ei ragluniaeth, amgylchu ei galon, megys gyda chwmwl euraidd, o amddiffyniad a diogelwch. Toddai ammheuon annuwiaidd, ac anobaith tywyll, ymaith o flaen goleuni efengyl fywiol, ag oedd megys yn anadlu o wefusau byw, ac yn cael ei phregethu fel yn ddiarwybod mewn mil o ymddygiadau bychain cariadlawn ewyllysgar—y rhai, mwy na'r gwpanaid o ddwfr oer a rodder yn enw dysgybl, nid änt yn anghof, ac ni chollant eu gwobr.

"Tada, beth pe baent yn dy gael di allan eto, dy fod yn noddi caethion ffoedig?" ebe Simeon yr ail.

"Mi a dalwn y ddirwy," ebe Simeon y cyntaf, yn dawel.

"Ond beth pe rhoddent di yn y carchar?"

"Ai ni allet ti a dy fam edrych ar ol y fferm?" ebe Simeon, dan wenu.

"Mi all mam wneyd pob peth ymron," ebe y bachgen.

"Ond ai nid yw yn gywilydd eu bod yn gwneuthur y fath gyfreithiau?"

"Rhaid i ti beidio dywedyd yn ddrwg am dy lywodraethwyr," ebe ei dad yn ddifrifol. "Y mae yr Arglwydd yn rhoddi da y byd hwn i ni fel y gwnelom gyfiawnder a thrugaredd; ac os bydd ein llywodraethwyr yn gofyn i ni dalu am wneyd hyny, rhaid i ni fod yn barod i'w dalu."

"Wel, y mae yn gas genyf fi y rhai sydd yn dal caethweision," ebe y bachgen.

"Y mae yn rhyfedd genyf atat, fy machgen," ebe Simeon. "Ni ddysgodd dy fam erioed beth fel yna i ti. Mi a wnawn yr un peth i'r caethfeistr ac i'r caethwas, os byddai i ragluniaeth ei arwain at fy nrws mewn dydd o drallod!"

Gwridodd y bachgen hyd y clustiau; ac ebe ei fam dan wenu, "Fy machgen da i yw Simeon; mi ddaw yn hynach o dipin i beth, ac yna fe fydd yn debyg i'w dad."

"Yr wyf yn gobeithio, fy anwyl syr, nad ydych yn rhoddi eich hun yn agored i un anghyfleusdra yn ein hachos ni," ebe George.

"Bydd di dawel am hyny, George—onid i hyn y danfonwyd ni i'r byd; os na allwn oddef anghyfleusdra dros achos da, ni fyddem yn deilwng o'r enw sydd arnom," atebai Simeon.

"Ond ni allaf feddwl i chwi ddyoddef yn fy achos i," ebe George.

"Nac ofna ddim ynte, gyfaill George, nid yn dy achos di, ond yn achos Duw a dynoliaeth yr ydym yn gwneyd," ebe Simeon. "Ac yn awr, rhaid i ti aros yma yn llonydd am heddyw, ac yna am ddeg o'r gloch y nos daw Phineas Fletcher i dy gyrchu, a'th arwain i'r orsaf nesaf, a'th gymdeithion gyda thi. Y mae yr erlynwyr yn dilyn yn galed ar dy ol; rhaid i ni beidio oedi.

"Os felly, pa'm yr oedwn hyd yr hwyr?" ebe George.



F'EWYTHR TOMOS YN ACHUB EFA BACH.

"Yr wyt yn ddiogel yma y dydd, oblegid y mae pob un sydd ar y sefydliad hwn yn gyfaill, ac ar wyliadwriaeth; y mae yn fwy diogel i deithio y nos."

"Y mae y ganwyll yn darfod, 'rwy'n gweled," ebe James, "ac y mae yn bryd i minnau ddarfod am heno."

"Aros! aros! mi gei ddigon o g'nwylle, mewn mynyd, bump ne chwech yn ole ar unweth, os leici di," ebe F'Ewythr Robert.

"Wel, na, ni a'i gadawn yn y fan yna am heno. Gwell i ni beidio dechreu hanes ymadawiad George ac Elisa oddiwrth y teulu caredig hwn, heno, canys ni allem fyned tros ei hanner hi; a pheth cas iawn, wyddoch, ydyw gadael stori ar ei chanol."

"'Rwyt ti 'n deyd y gwir 'n inion am hyny," ebe F'Ewythr Robert; "dda gin i 'rioed hanner stori, boed hi dda ne ddrwg, well gin i gael y cwbwl o honi hi, ne ddim. Stori dda oedd gin ti heno, dda iawn hefyd;—hanes pobol dda, c'redig, a grasol iawn, 'ddyliwn i. Choeliech chi ddim mor dda oedd gin i glowed bod Siors Harris a Lisa chwedi dwad o hyd i'w gilidd, a gybeithio 'rydw i na chowson nhw mo'u gwhanu 'r ol hyny."

"Y fath deulu dedwydd oedd teulu y *Cwacers* yna!" ebe Mrs. Harris. "Yr oeddynt yn union o'r un galon ac un ysbryd, yn rhieni ac yn blant—yn tynu yr un ffordd, heb neb yn anfoddloni ac yn croesi."

"Oedd; yr oedd eu tŷ fel nefoedd fechan ar y ddaear," ebe Modryb Elin. "'Nid oes dim yn well i ddyn na bod yn llawen a gwneuthur daioni yn ei fywyd,' medd y Pregethwr; felly yr oedd y teulu yna, yn gwledda ar wneuthur daioni, a hyny oddiar yr egwyddor o gariad at Dduw a dyn; a dyma yr unig ffordd i fwynhau gwir lawenydd; ac os bydd dyn yn byw i wneuthur daioni ar yr egwyddor yna, mi fydd y dyn hwnw yn ddedwydd yn ei weithred, fel y mae 'r apostol Iago yn son."

"Mi glowis dd'eyd lawer gwaith," ebe Thomas Harris, "fod gan y bobol ene—y *Cwacers*—rw ddaliade pur od, mewn rhai pethe—wn i fawr am danyn nhw; ond mi fyddyliwn 'u bod nhw 'n gwilidd garw i lawer sy'n cym'ryd arnyn 'u bod nhw yn fwy iachus 'u credo na nhw."

"Y mae gormod o lawer o daeru, a dadleu, a chondemnio eu gilydd, ynghylch y pwnc hwn ac arall, wedi bod rhwng Crist'nogion," ebe Modryb Elin—"gormod o sych daeru ynghylch athrawiaethau iach, a rhy fychan o ofalu am fywyd iach. Y mae mawr bwys, yn sicr, ar feddu golygiadau cywir ar bethau y Beibl; ond pe byddai dyn mor uniongred ag angel, pwy les fyddai hyny iddo fo, os na fyddai 'i fywyd o 'n ateb i'w broffes? Mae gwahanol bleidiau 'n gwlad ni yma chwedi bod yn taeru llawer trwy 'r blynyddoedd ynghylch bedydd, a phynciau felly, ac yn colli ysbryd a bywyd crefydd yn aml iawn; a dyna 'r bobol yna, sy'n gwadu 'r bedydd, yn byw ac yn gweithio allan egwyddorion

ac ysbryd yr efengyl, yn llawer gwell a mwy cyson na'r rhan fwyaf o'r dadleuwyr poethlyd yma."

"Yr ydych yn peri i mi feddwl am eiriau 'r apostol," ebe Mrs. Harris. "'Canys enwaediad yn wir a wna les, os cedwi y ddeddf; eithr os troseddwr y ddeddf ydwyt, aeth dy enwaediad yn ddienwaediad. Os y dienwaediad, gan hyny, a geidw gyfiawnderau y ddeddf, oni chyfrifir ei ddienwaediad ef yn enwaediad?' Yr wyf fi yn cael fy nhueddu i feddwl, pe buasai Paul yn byw yn ein hoes a'n gwlad ni, yn nghanol y dadleuon sy 'nghylch bedydd babanod, a bedydd y crediniol, bedydd yn ailenedigaeth, &c., y buasai yn dywedyd,—'Bedydd yn wir a wna les, os cedwi yr efengyl, eithr os byw yn groes i'r efengyl yr ydwyt, aeth dy fedydd yn ddifedydd; ac os y difedydd, yr ochr arall, a fydd byw yn ol yr efengyl, oni chyfrifir ef yn fedyddiedig?' Mi wyddoch o'r goreu mai Baptist ydw i; ond mae yn well gen i fil o weithiau am *Gwacer*, er ei fod o'n gwadu pob math o fedydd, os bydd o 'n byw yn grefyddol a duwiol, nag am y Baptist mwyaf selog, fo 'n byw yn beurhydd ac anghrefyddol. 'Nid yw Duw dderbyniwr wyneb, ond yn mhob cenedl (a *sect*) y rhai sy 'n ei ofni ef, ac yn gweithredu cyfiawnder, sydd yn gymeradwy ganddo ef.'"

"Diolch yn fawr i chwi am y sylw," ebe Modryb Elin; "dyna ydyw sylwedd ac ysbryd geiriau yr apostol, yn sicr hefyd; mae'r cymhwysiad wnaethoch chwi o'r egwyddor sydd ynddyn nhw yn deg a chyfiawn, yn ddiammhau. Mae rhywbeth i'w gael at bob pwrpas ac amcan yn yr hen lyfr, a thrueni na byddem ni 'n deall ei ysbryd a'i amcan o 'n well. Mi fydda i 'n meddwl mai peth mawr ydyw cael deall wedi ei oleuo yn dda am y gwirionedd, ond mai peth mwy na hyny ydyw fod y galon yn adnabod ac yn caru y gwirionedd. Mae yn bosibl, hwyrach, i ddyn ddeall llawer, heb garu dim, ar y gwirionedd; ac o'r ochr arall, fod y deall yn o brin, ond y galon yn caru ac yn parchu y gair."

"Y mae hyny yn bosibl yn sicr," ebe Mrs. Harris; "ond cael y ddau gyda 'u gilydd sydd yn werthfawr—deall da, a chalon hawddgar a da, i garu a chofleidio y gwirionedd. Cariad y gwirionedd yn y galon, ydyw gwreiddyn ufudd-dod i'r gwirionedd yn y bywyd; ond rhaid deall y gair i ryw raddau, cyn y gellir ei garu, na byw yn ei ol."

"Gwir iawn!" ebe Modryb Elin; "cariad yw gwreiddyn gwir ufudd-dod ysbrydol ac efengylaidd. Mae Satan yn deall y Beibl yn well na neb o honom ni, mae 'n debyg; 'mae 'n credu, ac yn crynu hefyd,' medd Iago; ond nid yw o byth yn caru ac yn ufuddhau. Gallai ef ddadleu â'r archangel ynghylch corff Moses gynt, a gallai siarad a dadleu am y goreu a'r un o'n dadleuwyr ninnau, y dyddiau yma, ar y pwnc fyd fynan nhw; ond gelyn y gwirionedd oedd o o'r dechreuad, ac a fydd o i'r diwedd

er hyny. Rhaid i ni gael gwell crefydd na 'i grefydd o, onite fydd hi ddim gwell arnom ni nag arno yntau, yn diwedd;— crefydd a'n dysgo ni i fyw yn ol y Beibl, ac nid i fedru siarad a dadleu am ei bethau a'i athrawiaethau yn unig."

"Wel, 'rhoswch chi, i b'le 'rydach chi chwedi myn'd y'ch dwy, 'rŵan?" ebe F'Ewythr Robert. "Mi 'rydach chi chwedi myn'd trost y cloddie 'n ddigon pell i rwle, 'ddyliwn i."

"Na, yn wir, 'r wyf yn meddwl ein bod ni yn canlyn ein testyn yn lled dda, chware teg i ni," ebe Mrs. Harris; "mi 'roedd hi yn ddigon naturiol i ni son am y pethau fu o dan ein sylw ni, oddiwrth hanes teulu y *Cwacers* rhei'ny."

"'Rydw ine 'n meddwl 'n dda iawn am grefydd y bobol ene," ebe F'Ewythr Robert. "Dene ydi crefydd iawn, mi 'ddyliwn i."

"Mae hi 'n wahanol iawn i'ch crefydd chwi, Robert," ebe Modryb Elin;—"Crefydd y tafod drwg, y dwrdio, a'r ffonio, ydyw'ch crefydd chwi; nid oedd Simeon, a Rachel, a'r rhei'ny, ddim yn dwrdio ac yn melldithio rhywrai fel Haley, fel y byddwch chwi."

"Mi 'roedd y Simeon bach hwnw rwbeth yn debig i minne," ebe F'Ewythr Robert; "a mi 'roeddwn i 'n leicio 'sgwrs hwnw 'n arw iawn."

"Nid oedd Simeon ei dad ddim yn leicio ei glywed o 'n myn'd ffordd hono," ebe Modryb Elin; "ac mi ddysgodd ffordd well iddo fo."

"Mi 'roeddwn i 'n gwel'd y bachgen yn gallach, ac yn nes i'w le na'i dad, yn y fan hono, o lawer iawn," ebe yr hen ŵr; "a 'taswn i ono, mi faswn yn taro hefo fo."

"Ffordd y tad ydyw ffordd y Beibl; 'roedd o 'n dweyd, pe buasai rhagluniaeth yn arwain rhai o orthrymwyr y caethion at ei ddrws o mewn trallod, y buasai ef yn gwneyd yr un peth â nhw ag oedd o 'n wneyd i George Harris ac Elisa."

"Wel, ni 'naethwn i ddim—yn wir hefyd," ebe F'Ewythr Robert. "Mi faswn yn rhanud y tamed dwaetha â Siors Harris a Lisa, o 'wllys y nghalon hefyd; ond mi gowse Harli lwgu 'n gelen cin rhoiswn i damed iddo fo."

"Son am y peth oddiyma draw yr ydych chwithau, F'Ewythr Robert, fel yr oedd Mr. Bird hwnw yn y senedd," ebe James Harris; "pe buasech chwithau yn gweled *Haley* ei hun mewn eisiau a chyfyngder o'ch blaen chwi, tosturio wnaethech, yr wyf yn coelio."

"Mae 'n anodd iawn gin i goelio hyny, a bwrw mod i 'n gwbod 'i hanes o," ebe yr hen ŵr.

"'Tydw i ddim yn meddwl bod y Beibl, chwaith, yn gofyn i ni fyn'd mor bell ag yr oedd Simeon hwnw 'n myn'd, ac y myne Modryb Elin hefyd i ni 'neyd," ebe Rhys, y teiliwr.

"Da iawn, Rhys!" ebe F'Ewythr Robert; "os oes gin ti adnod, tyr'd â hi 'rŵan, mi liciwn i ti fedru profi dy bwnc, a'u curo nhw."

"Mae rhyw adnod yn deydyd fel hyn," ebe Rhys. "'Dyn a wnelo drawsedd i waed neb, a ffy i'r pwll; nac arbeded neb ef."

"Dyna hi, Rhys! iechyd i dy galon di, Rhys; mi roist bwyth iawn arw 'rŵan, Rhys bach!" ebe F'Ewythr Robert. "Pwy sy 'n gneyd mwy o drawsedd i waed dynion na mistred y caethion, tybed, a rhei'ni sy 'n 'u prynu ac yn 'u gwerthud nhw wel 'nifelied? I'r pwll yr elon nhw bod yg un, medda i."

"Nid ydyw yr adnod yna, nac un adnod arall, yn peri i chwi *ddymuno* iddyn' nhw fyn'd i'r pwll," ebe Modryb Elin; "ond y mae llaweroedd o adnodau yn peri i ni wneyd da i'r sawl a wnelo ddrwg i ni—caru ein gelynion; ac os gwelwn ni elyn i ni mewn newyn neu syched, am i ni roi bwyd a diod iddo fo, ac felly bentyru marwor tanllyd ar ei ben, a gorchfygu drygioni trwy ddaioni. Mae adnod arall yn dweyd, pe gwelem ni ych neu asyn gelyn i ni wedi syrthio mewn pwll, am i ni ei godi oddiyno."

"O, mi fedrwn i neyd hyny o drigaredd ar y c'radur diniwed," ebe F'Ewythr Robert; "a mae rhagor hefyd rhwn rhw elyn pyrsonol i mi, 'ddiar rwbeth alle fod rhynthon ni y'n dau, a rhai wel y 'snachwrs mewn dynion; mi 'rydw i yn ydrach ar y rhei'ny wel g'lynion dynolieth; a mae nhw 'n dwad tan adnod Rhys—mae hi 'n 'u ffitio nhw i'r dim."

"*Wel done*, F'Ewythr Robert!" ebe James; "ni chlywais mo honoch yn dadleu eich pwnc cystal a heno, erioed."

"Wel, i Rhys y mae i mi ddiolch y tro yma—Rhys anwyl!" ebe yr hen ŵr. "'Doedd fater i mi allud curo Elin yma am unweth."

"O, mae pwnc Modryb Elin yn dal eto," ebe Mrs. Harris; "peidiwch chwi a gwaeddi buddugoliaeth yn rhy fuan, F'Ewythr Robert."

"Yn wir, mam, ni wn i ddim yn iawn," ebe James, "yn y peth yna; prin y gallaf fi feddwl fod y Beibl yn gofyn i ni ddangos yr un tiriondeb a charedigrwydd tuag at orthrymwyr creulawn, pan eu darostynger i drallod, a thuag at drueiniaid gorthrymedig fel y caethion. Prin yr wyf yn meddwl y rhoisech chwi lety ac ymgeledd i rywun fel Haley, pe daethai heibio acw mewn cyfyngder, fel y gwnaethech, ac y gwn y buasai yn dda genych wneyd, i rai fel George Harris ac Elisa."

"Nid y peth a *wnaethwn* i ydyw y pwnc; ond y peth a *ddylaswn* ei wneyd," ebe ei fam.

"Ië, ond meddwl yr wyf fi," ebe James, "mai rhyw lwybr canol rhwng Modryb Elin â chwithau a Simeon o un tu, a F'Ewythr Rhobert a Rhys o'r tu arall, ydyw y llwybr iawn. Gwneyd yn debyg fel y gwnaeth y wlad yma dro yn ol, pan ddaeth Louis Phillippe a gorthrymwyr eraill o'r cyfandir yma,

i ymofyn noddfa rhag dialedd y bobl a orthryment gartref; cawsant le a lloches yma, fel y llofrudd yn y ddinas noddfa; ni ddywedodd neb ddim wrthynt, ond gadael llonydd iddynt. Ond pan ddaeth Kossuth, gŵr oedd yn cynnrychioli gwlad a chenedl orthrymedig, trosodd yma, cyfododd yr holl wlad, gan redeg megys i'w gyfarfod, i'w dderbyn a'i groesawu. Yr wyf fi yn credu fod dynoliaeth a chrefydd yn galw am i ni ddangos gwahaniaeth rhwng y naill a'r llall, yn ein hymddygiadau tuag atynt, os daw amgylchiadau â hwy i'n cyrhaedd ni."

"Da machgen i," ebe F'Ewythr Robert, "mi rwyt ti am ranud yr ymrafel rhyngthon ni, mi wela. Ond mae arna i isio cael trin rhw rai wel Harli, wel y trinodd y dyrllaws rheini y cebyst hwnw, (be oedd 'i enw fo hefyd, ond waeth be fo 'i enw fo ran hyny, mi wyddost pwy ydw i'n feddwl) yn Llunden dro 'nol. Mi 'roedd hwnw a Harli 'n waeth gin i na Lewis Phylips o'r hanner; a mae isio i nine drin rhai felly 'n waeth, os cawn ni afel ynthyn nhw."

"Mae hwnw, rwy 'n deall, wedi cael ei drin yn gyfiawn cyn hyn," ebe Thomas Harris—"y mae o wedi marw 'n ddiweddar yma."

"Y mae o wedi marw, ydi o!" ebe F'Ewythr Robert,—"wel, wel, dene 'r diwedd 'nte, druan o hono fo—mae 'n ddrwg cin i glowed i farw fo hefyd. Mae 'n debyg 'i bod hi yn fyd sobor arno fo heno,"

Amneidiai y naill ar y llall wrth glywed hyn, ond ni ddywedodd neb ddim.

"Sut yn y byd y buost ti mor ddistaw heno, Cati?" ebe F'Ewythr Robert, "oes dim byd ar dy feddwl di i'w ddeydyd?"

"Mi gymra i ddigon o ofol i gadw fy meddwl i mi fy hun, o hyn allan," ebe Cati, "safio i James yma gael y pleser o neyd *sport* o hono i; mae o wedi 'sgrifenu i lawr bob peth ddeydodd pob un o honoch chi heno. Mi gwelis o'n llechian gneyd yn 'i het, pen 'roeddech chi 'n siarad; a mi fydd y'ch hollt 'sgwrsys chi ar goedd yr hollt wlad yn fuan."

"Wel, gâd iddo fo, neno dyn," ebe yr hen ŵr; "fydde raid i tithe ddim tewi am hyny; mi gei run siawns a nine; am Jacki yma, mae o chwedi tynud i gorn ato wel malwen—wyt ti chwedi digio 'nanfyddeuol, Jacki, dywed?"

"Pwy na ddigie," ebe hwnw, "tydach chi 'n troi yn y mhen i bod yg un ond modryb: mi fydd pawb yn ystyn 'i bysedd ar f'ol i bellach, ble bynag yr ä i."

"Na hidiwch am danyn nhw Jacki Jones," ebe Mrs. Harris, "peidiwch a chymeryd arnoch ych bod chwi yn teimlo dim byd tuag ato fo; os sonia rhywrai rywbeth wrthoch chwi, gwnewch fel yr oedd Rhys Puw yn dweyd—chwarddwch gyda nhw, a mi

dyr hyny fin y 'stori yn fuan; ond os gwela nhw chwi yn digio ac yn moni, mi ä'n yn waeth o'r hanner."

"Fase un o honoch chi 'n medru peidio digio, tase chi 'n fy lle i?" ebe Jacki.

Ar hyn cododd y tri Harris i fyned adref.

Anfonodd yr hen ŵr a'r hen wraig hwy i'r drws—

"Peidiwch chi a James a myn'd i geisio cyfri y ser eto, wrth fyn'd adref, Marged," ebe F'Ewythr Robert, "a nos dda i chi."

---

## NOSON XV.

WEDI i'r hen bobl fyned i'w gwelyau, y nos o'r blaen, cymerodd Cati afael mewn un rhifyn o'r "Aelwyd," a Jacki yn y llall, a darllenasant hwy drosodd gyda chymysg deimladau. Ni ddywedai y naill yr un gair wrth y llall, ond taflent eu golygon ar eu gilydd, yn awr ac eilwaith; weithiau yn ddigofus, ac weithiau gan led wenu. Chwarddai y ddau allan ambell waith, heb yn waethaf iddynt, a digient a brochent drachefn.

"Y 'mhell y bo 'r llanc ene!" ebe Cati, o'r diwedd, gan daflu yr "Aelwyd" o'i llaw.

"Mi dala i iddo fo, ac i tithe hefyd, rw dro!" ebe Jacki, gan daflu yr un oedd yn ei law yntau ymaith.

Cafodd Modryb Elin gymaint a hyn yna o'r hanes gan Cati y boreu dranoeth.

Gyda bod James Harris, a'i dad a'i fam, dros drothwy tŷ yr Hafod, yr hwyr nesaf, cipiodd Jacki ei het, ac aeth heibio iddynt allan, fel ergyd o wn.

"Beth 'naethoch chi i'r llanc yma heno?" ebe Thomas Harris.

"O, chwedi bod yn darllen ei hanes yn ''Raelwyd' mae o a Chati, neithiwr," ebe F'Ewythr Robert—"mae yma helynt o honi hi, rhwn y ddau; rhaid i ti ydrach ati hi James, mi dro'n yn dy ben di ill dau."

"Mi änt yn waeth eto—Jacki beth bynag—yr wyf yn ofni, pan ddelo ystori cyfrwyo y fuwch, a pheth felly, allan," ebe James.

"Mi ddaw 'r plant yn burion, yn mhen tipyn," ebe Modryb Elin, "wedi iddynt gynnefino â'r peth; rhaid i chwithau beidio rhoi pob tro trwstan a glywoch chwi ar Jacki, i mewn, James. Mae Cati yn arfer dweyd gormod ar y llanc; nid ydwyf fi ddim yn meddwl nad ydyw hi yn leicio yn ei chalon bod y llyfr yn dyfod allan; ond ei bod hi yn ceisio cymeryd arni fel arall—mae hi â'i thrwyn ynddo bob tro y caiff hi adeg."

"Mi fyddwn ninnau ein dwy o dani hi, Modryb Elin," ebe Mrs. Harris, "pan ddelo 'n hymddyddan ni neithiwr allan.

Mi fydd y pregethwyr ac eraill yn ein gweled ni 'n hyfion iawn i siarad yn eu cylch hwy a'u dadleuon, 'rwy 'n siwr."

"Gadewch iddynt," ebe Modryb Elin, "mae yn iawn i ninnau gael meddwl, a chael dweyd ein meddwl hefyd. Ac mae yn iawn iddynt hwythau gael gwybod beth mae rhai fel ni yn feddwl am danynt hwy. Ddywedodd yr un o honom ni ddim yn anmharchus am danynt hwy; a fynem ni ddweyd dim felly ar un cyfrif; ond fedrwn ni ddim cymeradwyo pob peth fyddant hwythau yn ddweyd, rai gweithiau. Mi fu'm yn brifo lawer gwaith, wrth glywed ambell un yn lluchio at bleidiau eraill o'r pulpud, ac yn gosod pawb arall, ond eu plaid eu hunain, yn gyfeiliornwyr—rhai y gwn eu bod hwy yn dal yr un gwirioneddau am drefn y cadw a hwy eu hunain. Curant faint a fynont ar y *Puseys* yma, a phethau felly, y rhai sydd yn ceisio gosod sylfaen arall heblaw yr un a osodwyd yn yr Ysgrythyr, i bechadur bwyso arni; mi fyddaf yn meddwl fod mwy o ysbryd y *sect* nag o ysbryd yr efengyl mewn peth felly."

"Mae llawer llai o hyny nag a fu," ebe Mrs. Harris;" mae y gwahanol bleidiau yn ein gwlad ni yn dyfod i ddeall eu gilydd yn well, ac yn dyfod yn llawer nes at eu gilydd yn awr, nag oeddynt amser yn ol yma."

"Y mae nhw felly," ebe Modryb Elin; "ac y mae yn dda iawn genyf eu gweled—mae hyn yn arwydd dda iawn. Yr ydym yn cofio amser, na ddoe rhai pregethwyr, a adwaenem ni, byth trwy y wlad yma heb ei gyru hi'n goelcerth: dynion yn dadleu, yn tanio, ac yn digio—pob un tros ei bwnc a'i sect, na fyddai na thaw na therfyn ar eu hymrysonau nhw. Mi fu'm yn dymuno lawer gwaith y buasa nhw yn darllen, ac yn cymeryd addysg oddiwrth y pethau mae yr hen Williams yn ei ddweyd yn 'Theomemphus'—dyma"

"Rhaid i ti 'u gadel nhw ene, rwan, Neli," ebe F'Ewythr Robert; "mae hi 'namser i Jemi ddechre ar 'i waith."

"Fe gaiff ddechreu yn union, wedi i mi ddarllen dau neu dri o'r pennillion yma. Darlunio rhyw fath o bregethwyr, ac effeithiau eu pregethau, y mae—mae o yn dweyd am un o honynt hwy fel hyn:—

**'Efe 'sgrifenodd lyfrau, rai meithion iawn i gyd,**
**'Run pwnc oedd ei athrawiaeth trwy 'r rhei'ny oll i gyd;**
**Pwy bynag ŵr na chredai, anrasol oedd y dyn,**
**Fel credai ef heb ammheu, Schematicus ei hun.**

**A'r athrawiaethau haerllug o'r diwedd 'nynodd dan,**
**Am farn ac opiniynau, dyeithr o'ent o'r blaen;**
**Daeth enw 'n erbyn enw, fe ga'i un enw mawr,**
**Ei godi cuwch a'r cwmwl, a'r llall ei dynu' lawr.**

**Terfysgwyd penau 'r bobl, fe ranwyd yma a thraw—**
**Dau 'biniwn mewn un eglwys, ac weithiau wyth neu naw;**

Sêl at y pethau lleiaf yn gweithio yn y dall,
Un pulput yn fflangellu 'r athrawiaeth yn y llall.

Didolwyd, gwnawd partïau, o'r bobl oedd gytun,
Tri 'n erbyn pump rai prydiau, neu ddeg yn erbyn un;
Cyhoeddwyd cymanfaoedd o'r de i'r dwyrain dir,
I chwilio gwraidd opiniwn, a gwneyd y pwnc yn glir.

Fe lidiwyd anfoddlonrwydd, fe dduwyd ar bob llaw,
Fe chwiliwyd am athrawon, rai newydd yma a thraw;
Pregethwyd, ysgrifenwyd—pawb am ei bwnc 'i hun,
Yn gant o ddarnau rhanwyd y Beibl oedd yn un.

'Mofynwyd Groeg a Hebrew gopïau o'r 'Sgrythyr lân,
Un copi fe 'i goreurid, fe roi'd y llall ar dân;
Darllenwyd hen 'sgrifenwyr, rhai 'u galw 'n gywir cas,
Rhai 'n hereticiaid deillion, ga'dd eu cyhoeddi 'ma's.

Nes myn'd â llu o bobl fu 'n ochr Sinai fryn,
Yn gwrando Boanerges yn brysur iawn cyn hyn;
Ar ol rhyw byncìau gweigion, nes colli 'r ysbryd trist,
Drylliedig, oedd yn gwaeddi am 'nabod Iesu Grist.

I 'mofyn dwr a bedydd, 'nol gwneuthur proffes lân,
Anghofio bedydd ysbryd, a bedydd nefol dân,
I bleidio 'n erbyn gwenwisg, a darllen gweddi mas—
Anghofio taerni calon a dirgel ruddfan gras.

Gwallt llaes yn bwnc arbenig, rhaid cael y pen yn grwn,
Gwell rhwygo mil o eglwysi na cholli 'r pwncyn hwn;
Mae rhaid i hwn gael esgob, ond presbyter i'r llall,
Wel, Cwacer, Independiad, ddim gwell na mab y fall.'"

"Y mae yr hen ganiedydd yn rhoi lliw go gryf ar y mater hefyd," ebe Mrs. Harris—"welson ni moni fel yna yn gymhwys chwaith."

"Naddo, fe allai," ebe Modryb Elin; "ond gwelsom ryw beth yn debyg—myned fel yna ydyw tuedd cychwyniad pethau yn y llwybr 'roeddem ni yn son am dano fo. Mi 'rydw i yn meddwl fod mwy o bregethu athrawiaeth iachus, pan mae llai o drystio yn ei chylch hi yn y pulpudau—hyny ydyw, mwy o bregethu at gydwybodau a chalonau y gwrandawyr. Nid iach iawn oedd y ffrwythau fyddai yn tarddu oddiwrth bregethu yn erbyn hwn a'r llall, y sect yma neu y sect arall. Nid oedd gan yr un o honynt gareg i'w thaflu at y llall; yr oeddent hwy yn euog i gyd."

"Wel, 'rydw i chwedi blino 'n disgwil i chi dewi," ebe F'Ewythr Robert. "Neli, arnat ti mae 'r bai—fydde well i ti fyn'd i byrgethu dy hun, i ddysgu ac i ddanos iddyn nhw sut y mae gneyd. Tyr'd ti 'rwan, James, at dy bregeth. Mi fydda i'n g'deirydd i gadw Neli yma a dy fam wrth gwrs; am dy dad, 'does dim trafferth hefo fo byth."

Wel, mi adroddaf i chwi, heno, hanes ymdrech fawr olaf George Harris ac Elisa am eu rhyddid," ebe James. Yr oedd George, fel y dywedais ryw dro o'r blaen, wedi penderfynu bod yn ddyn rhydd byw, neu yn ddyn rhydd marw. Teimlasai ei hun fel dyn rhydd y cam cyntaf a roddai wrth gefnu ar, a dianc o dŷ ei gaethiwed. *Rhyddid!* byw neu farw, oedd ei arwyddair o'r fynyd hono allan; ond nid oeddynt eto ar dir diogelwch. Yr oedd Marks a Thom Loker fel dau fytheuad ar eu holau; ac nid oeddynt yn nepell oddiwrthynt, fel y cewch glywed.

Yr oedd Rachel Halliday yn brysur ar waith caredigrwydd y prydnawn hwnw, cyn iddynt ymadael, yn casglu rhyw ddillad angheurheidiol i'r ffoaduriaid i'w cymeryd gyda hwy i'r daith. Yr oedd cysgodau y prydnawn yn ymestyn tua 'r dwyrain, a'r haul rhuddgoch fel yn edrych yn syn feddylgar yn y gorwel, a'i belydrau melynion yn tywynu yn dawel i'r ystafell wely fechan, lle yr oedd George a'i wraig yn eistedd. Eisteddai ef â'r plentyn ar ei lin, a llaw ei wraig yn ei law yntau. Edrychai y ddau yn feddylgar a phruddion; ac yr oedd ol dagrau ar eu gruddiau.

"Ië, Elisa," ebe George, "mi a wn fod y cwbl a ddywedwch yn wir—yr ydych chwi yn eneth dda, yn llawer iawn gwell nag wyf fi; ac mi a ymdrechaf wneyd fel yr ydych yn ceisio genyf. Mi a ymdrechaf ymddwyn yn deilwng o ddyn rhydd, a theimlo fel Cristion. Y mae yr Hollalluog yn gwybod fy mod yn amcanu yn dda yn wastad; ymdrechais yn galed i ymddwyn yn dda, pan oedd pob peth yn myned yn fy erbyn i; ac yn awr, mi a geisiaf ollwng yn anghof bob peth sydd wedi myned heibio, a bwrw ymaith bob teimlad chwerw a digofus, a darllen fy Meibl, a dysgu dyfod yn ddyn da."

"A phan elom i Canada," ebe Elisa, "mi a allaf eich helpio. Mi a allaf wneyd gwaith gwnïo yn bur dda; ac yr wyf yn deall golchi ac ysmwddio hefyd; a rhyngom ein dau, ni a allwn gael moddion i fyw."

"Ië, Elisa, cyhyd ag y caffom fod gyda 'n gilydd, a'n bachgen. O Elisa! beth pe gwybyddai y bobl hyn y fath fendith ydyw i ddyn deimlo mai efe biau ei wraig a'i blant! Mi fu'm yn synu lawer gwaith, glywed pobl allent alw eu gwragedd a'u plant yn eiddo iddynt hwy eu hunain, yn cwyno ac yn achwyn ar un achlysur. Yr wyf fi yn awr yn teimlo yn gryf a dedwydd, er nad oes genym ddim yn y byd ond ein dwylaw moelion. Yr wyf yn teimlo fel na allwn ofyn dim yn rhagor na hyn gan yr Arglwydd. Ië, er i mi weithio yn galed bob dydd nes wyf yn bump ar hugain oed, ac heb genyf ffyrling o arian, na chaban i'm cysgodi, na lled troed o dir a allaf alw yn eiddo i mi; eto, os gadawant lonydd i mi yn awr, yr wyf yn foddlawn a diolchgar. Mi a weithiaf, a chewch chwithau fy nghyflog. Am fy hen feistr,

cafodd ef ei dâl bum waith drosodd am yr oll a dreuliodd arnaf —nid wyf yn ei ddyled ef o ddim."

"Ond nid ydym yn hollol allan o berygl eto," ebe Elisa— "nid ydym yn Canada."

"Gwir," ebe George; "ond yr wyf yn teimlo fel pe byddwn yn arogli awyr rhyddid, ac y mae yn fy ngwneyd yn gryf."

Gyda hyn clywid amryw leisiau yn yr ystafell nesaf, mewn dwys ymddyddan; a dyma guriad ar y drws. Neidiodd Elisa i fyny ac agorodd ef.

Simeon Halliday oedd yno, a brawd o *Gwaçer* gydag ef, yr hwn a gyflwynai dan yr enw Phineas Fletcher. Yr oedd Phineas yn ddyn tal corfforol, gwallt coch, a dynodiant ei wynebpryd yn arwyddo dyn o feddwl craffus a chall. Nid oedd ganddo ddelweddiad tawel, siriol, anfydol Simeon Halliday; ond i'r gwrthwyneb, ymddangosiad effro, llygadog, cyffelyb i ddyn a ymdeimla ei fod yn gwybod yn dda beth a fyddo yn ei gylch, ac yn edrych o'i amgylch—hynodion ag oeddynt yn cymharu braidd yn od gyda 'i ddull llerw o siarad.

"Mae ein cyfaill Phineas wedi cael allan bob peth o bwys er dy ddiogelwch di a'th gymdeithion, George," ebe Simeon—"mi fyddai 'n burion i ti gael clywed."

"Felly yr ydwyf," ebe Phineas; "ac y mae yn dangos y pwys i ddyn gysgu âg un glust yn agored, mewn rhyw fath o leoedd, fel y byddaf fi yn dweyd yn wastad. Mi arosais neithiwr mewn tafarndŷ bychan, draw ar y ffordd yna. Yr wyt *ti* yn cofio y lle, Simeon—y fan y darfu i mi werthu ychydig afalau y flwyddyn ddiweddaf i'r wraig dew hòno oedd â modrwyau yn ei chlustiau. Wel, yr oeddwn yn bur flin, ar ol gyru yn galed; ac ar ol swper mi orweddais i lawr ar grug o fwrneli oedd yn y gongl, ac a dynais groen trosof, i aros i'm gwely fod yn barod; a be neis i ond syrthio i drymgwsg."

"Ag un glust yn agored," ebe Simeon, yn dawel.

"Na, mi gysgais—glustiau a chwbl am awr neu ddwy; canys yr oeddwn yn bur flin; ond pan ddaethum ychydig ataf fy hun, mi welais fod yno ryw ddynion yn yr ystafell yn eistedd o amgylch y bwrdd, yn yfed ac yn siarad; ac mi feddyliais, cyn y codwn i fyny, yr aroswn i gael clywed beth yr oeddynt yn ei gylch, yn enwedig gan i mi eu clywed yn dweyd rhywbeth am y *Cwacers*. 'Felly,' ebe un o honynt, 'y maent i fyny yn mysg y *Cwacers* yn ddiammhau.' Yna mi wrandewais â'r ddwy glust, ac mi ddeallais eu bod yn siarad am y cymdeithion hyn. Felly mi a orweddais yn llonydd, a chlywais hwy yn trefnu eu holl gynlluniau. Yr oedd y gŵr ieuanc hwn (George Harris) meddent, i gael ei anfon yn ol i Kentucky, i'w feistr, yr hwn oedd ar fedr gwneyd esiampl o hono, i gadw yr holl *niggers* rhag ceiso dianc ymaith. Yr oedd dau o honynt i gymeryd ei wraig (Elisa) i

New Orelans, i'w gwerthu er elw iddynt eu hunain; ac yr oeddynt yn bwrw y caent un cant ar bymtheg, neu ddeunaw can' dolar am dani hi, a'r bachgen (Harri bach), meddent, oedd i fyned i'r masnachwr (Haley) ag oedd wedi ei brynu. Ac yna yr oedd y bachgen Jim, a'i fam, i gael eu dychwelyd yn ol i'w meistriaid yn Kentucky. Dywedent fod dau geisbwl mewn tref gyfagos, y rhai a äent gyda hwy i'w cymeryd i fyny; ac yr oedd y wraig, Elisa, i gael ei chymeryd o flaen yr ynad; ac yna yr oedd un o honynt, ag sydd yn gryn siaradwr, i ddyfod ymlaen a thyngu mai ei eiddo ef ydoedd hi, ac felly cael hawl ynddi i'w chymeryd ymaith i'r dehau. Yr oeddynt wedi cael gwybodaeth gywir am y ffordd a fwriadem gymeryd heno, felly byddant arnom—chwech neu wyth o honynt. Felly yn awr, beth sydd i'w wneyd."

"Dyna hi! mae 'r cymyle 'n codi eto, 'rwy 'n gwel'd," ebe F'Ewythr Robert—"y Twm Loker a'r Marks rheini oedd y cigfranod ene, mi feddyliwn."

"Ië, hwynthwy oedd y dynion," ebe James.

"Mi 'rydw i yn rhw ddirgel gredu, bod y Phinias ene 'n ddigon o fats iddyn nhw," ebe F'Ewythr Robert. "Mi 'rydw i 'n gwel'd rhwbeth tebyg i 'fferyn rhyglunieth, chwedl Sam hwnw, yn yr hen *Gwacer* ene."

"Wel, mi gewch glywed yn awr, a oedd ef ai peidio," ebe James.

Gwrandawai yr holl dylwyth y newyddion pwysig hyn gyda phryder dwys. Edrychai Rachel Halliday yn hynod o bryderus—ac ymddangosai Simeon fel ar goll mewn dwys fyfyrdod. Taflasai Elisa ei breichiau am ei gŵr, gan edrych yn ddychrynedig yn ei wyneb. Safai George â dyrnau cauedig, a'i lygaid yn tanio, gan edrych yn gyffelyb y gwnaethai unrhyw ddyn arall, ag y buasai ei wraig i gael ei gwerthu ar *auction*, a'i blentyn i gael ei anfon i fasnachwr, a'r cwbl dan sêl a nawdd cyfreithiau cenedl Gristionogol.

"Pa beth a wnawn, George?" ebe Elisa, ar lewygu.

"Mi a wn beth a wnaf fi," ebe George, gan fyned yn ol i'w ystafell, ac edrych dros ei lawddrylliau.

"Ië, ïe," ebe Phineas, gan amneidio ar Simeon—"ti weli, Simeon, pa fodd y mae pethau yn debyg o weithio."

"Gwelaf," ebe Simeon, dan ocheneidio: "gobeithio na ddaw hi ddim i hyn yma."

"Ni fynwn i neb redeg perygl gyda mi nac yn fy achos," ebe George. "Os rhoddwch i mi fenthyg eich mèn, a'm cyfarwyddo yn y ffordd, mi a yraf i'r orsaf nesaf. Y mae Jim yn gawr o nerth, ac yn wrol fel angeu, ac felly yr wyf finnau."

"Ho, wel, gyfaill, ond bydd arnat eisieu gyrwr er hyny," ebe Phineas. "Mae i ti groeso i wneyd yr holl ymladd dy

hun, ond mi a wn rywbeth neu ddau am y ffordd na wyddost ti."

"Ond ni fynwn eich tynu i anghyfleusdra," ebe George.

"Anghyfleusdra!" ebe Phineas, gydag edrychiad craffus. "Pan wneloch di hyny â fi, gad i mi gael gwybod, os gweli fod yn dda."

"Y mae Phineas yn ŵr doeth ac ysgilgar," ebe Simeon; "cymer di dy arwain ganddo fo, George; ac," ebe fe, gan ddodi ei law ar ysgwydd George yn dirion, a chyfeirio at y llawddrylliau, "paid a bod yn rhy brysur gyda 'r rhai yna; y mae gwaed gŵr ieuanc yn hawdd ganddo boethi."

"Ni ymosodaf fi ar un dyn," ebe George. "Y cwbl a geisiaf gan y wlad hon ydyw, cael fy ngadael yn llonydd, a mi äf allan o honi yn heddychol; ond —," ac efe a ymattaliai; gwgai ei ael, a gwridai ei wyneb; "gwerthwyd chwaer i mi yn marchnad New Orleans. Mi a wn i ba bwrpas eu gwerthir; ac a ydwyf fi i sefyll gerllaw, ac edrych arnynt yn cymeryd ymaith fy ngwraig, a'i gwerthu hi, pan y mae Duw wedi rhoddi i mi bâr o freichiau cryfion i'w hamddiffyn hi? Na! yn help y nefoedd, mi a ymladdaf hyd yr anadl olaf, cyn y cânt gymeryd fy ngwraig a'm plentyn. A ellwch chwi fy meio?"

"Ni all marwol ddyn dy feio di, George; ni allai cig a gwaed wneyd yn amgen," ebe Simeon. "'Gwae 'r byd oblegid rhwystrau, ond gwae y dyn hwnw, trwy yr hwn y deuant.'"

"Ai ni wnaech chwi eich hun yr un peth, syr, pe byddech yn fy lle i?"

"Yr wyf yn gweddïo na bo i mi gael fy mhrofi felly," ebe Simeon; 'mae 'r cnawd yn wan.'"

"Mi 'rydw i 'n coelio y byddai fy nghawd i yn o gry' mewn achos o'r fath yna," ebe Phineas, gan estyn allan bâr o freichiau fel esgyll melin wynt. "'Dydw i ddim yn siwr iawn na ddaliwn afael ar ryw gydymaith, er dy fwyn di, gyfaill George, os byddai gen ti ryw *gounts* i'w setlo âg efo."

"Dene 'r dyn at y *busness*, 'rydw i 'n gwel'd," ebe F'Ewythr Robert. "Un sal naethe Simon, druan, i fyn'd i'r taro, mi 'roedd o 'n rhy ddyniwed a gwangalon o ddim rheswm—'rhen Phin y gneith hi, gewch chi glowed, ne mi siomith i 'n arw iawn."

"Os byth y dylai dyn wrthwynebu drwg," ebe Simeon, "yna 'n sicr gallai George deimlo ei hun yn rhydd i wneyd hyny yn awr; ond y mae dysgawdwyr ein pobl ni yn dysgu ffordd well; 'canys digofaint gŵr nid yw yn cyflawni cyfiawnder Duw.' Ond y mae hyny yn beth croes iawn i ewyllys lygredig dyn, ac ni all neb ei dderbyn ond i'r rhai y rhoddwyd. Gadewch i ni weddïo na byddo i ni syrthio mewn profedigaeth."

"Ac felly yr wyf fi 'n gwneyd," ebe Phineas; "ond os temtir ni 'n ormodol, edrychan nhw ati hi—dyna 'r cwbl!"

"Y mae 'n ddigon amlwg na anwyd mo'not ti 'n *Gwacer*," ebe Simeon. "Y mae yr hen natur yn mynu ei ffordd ymhell iawn gyda thi hyd yn hyn."

A dweyd y gwir, "gŵr yn medru hela, a gŵr o'r maes," fel Esau, a fuasai Phineas. Ond syrthiasai mewn cariad â *Chwaceres* brydferth, a phriodasai hi, ac ennillasid ef drwy rym ei dylanwad hi, i ymuno â'r gymdeithas oedd yn y lle; ac er ei fod yn aelod gonest, sobr, a defnyddiol, ac na ellid dwyn dim yn neillduol yn ei erbyn, eto, ni allai y rhai mwyaf ysbrydol yn eu plith lai na chanfod rhywbeth ar ol, ac yn eisieu ynddo.

"Rhaid i'n cyfaill Phineas gael ei ffordd ei hun bob amser," ebe Rachel, dan wenu; "ond yr ydym oll yn meddwl bod ei galon yn ei lle, wedi 'r cwbl."

"Yn 'i lle—wel debig iawn!" ebe F'Ewythr Robert, "yn *right down* yn 'i lle hefyd: mae calon 'rhen Phin wel y nghalon inne 'n inion!"

"Mae hòno ymhell o'i lle, beth bynag," ebe Modryb Elin; "mae 'r geiriau yn profi, 'canys o helaethrwydd y galon y llefara y genau.'"

"O! mi 'roeddwn i 'n disgwil y base ti 'n saethu ata i 'rŵan," ebe F'Ewythr Robert.

"Ni saethwn i yn fy myw mo honoch chwi yn ddigon dwfn," ebe Modryb Elin. "Mi ddymunwn eich gweled chwi wedi eich saethu nes eich lladd hefyd i chwi eich hunan."

"Gwarchod pawb! wyt ti ddim yn 'styried be wyt ti 'n ddeyd, dywed! y nwrdio i 'roeddet ti pen oeddwn i 'n son am saethu Harli a'i fath!"

"Nid saethu felly ydwyf yn feddwl, ond saethu fel y saethwyd y rhai hyny ar ddydd y Pentecost—saethu argyhoeddiad y gwirionedd i'r galon, nes iddyn nhw weled drwg eu calonau, a gwaeddi allan, 'Beth a wnawn ni?' Rhaid i bob pechadur gael ei saethu a'i ladd felly iddo ei hun, cyn y gall gael ei gadw i fywyd tragwyddol."

"Mi fyddaf finnau yn son am saethu yn union," ebe James, "wrth i mi fyned ymlaen â'r hanes yma."

Wedi yr ychydig ymddyddan rhwng Simeon a Phineas;—

"Ai ni fyddai gwell i ni brysuro i fyned ymaith yn awr yn ddioed?" ebe George.

"Mi godais i fyny am bedwar gloch," ebe Phineas, "a marchogais ymaith ar frys yma, ddwy neu dair awr cyn yr amser yr oeddynt hwy yn son am gychwyn. Nid yw yn ddiogel cychwyn cyn yr elo yn dywyll, ar un cyfrif; oblegid y mae dynion peryglus yn y pentrefi draw yna, a geisient ein hattal hwyrach; ni a allem gychwyn yn mhen tua dwy awr, fe allai. Mi äf fi trosodd at Michael Cross, a mi gaf ganddo ef ddyfod i'n canlyn ar ei farch, a chadw gwyliadwriaeth fanwl, a rhoddi rhybudd i ni os daw yr

erlynwyr ar ein hol. Y mae gan Michael farch cyflymach na nemawr i un, a gallai yru ymlaen, a gadael i ni wybod os gwelai berygl. Yr wyf yn myned yn awr i rybuddio Jim a'i fam i ymbarotoi, ac i edrych ynghylch y meirch. Yr ydym gryn amser ar y blaen iddynt, ac yn sefyll siawns dda i allu cyrhaedd yr orsaf cyn y gallant ein goddiweddyd. Felly, cymer galon, gyfaill George. Nid hon ydyw 'r drafferth hell gyntaf y bum i ynddi gyda dy bobl di," ebe fe, wrth gau y drws ar ei ol.

"Y mae Phineas yn lled gyfrwys," ebe Simeon. "Efe a wna y peth goreu a ellid ei wneyd trosot, George."

"Y cwbl sydd yn fy mlino i ydyw, y perygl yr ydych chwi ynddo yn ein hachos," ebe George.

"Byddwn yn ddiolchgar iawn i ti, gyfaill George, am beidio son gair yn ychwaneg am hyny," ebe Simeon. "Yr ydym ni yn rhwym o gydwybod i wneyd yr hyn yr ydym yn ei wneyd; ni allem wneyd fel arall. Ac yn awr, mam," ebe fe, gan droi at Rachel; "prysura dy ddarpariadau i'r cyfeillion hyn, ni wiw i ni eu gollwng ymaith ar eu cythlwng."

Tra y gwneid y darpariadau hyn, eisteddai George a'i wraig yn eu hystafell fechan, â'u breichiau yn blethedig y naill am y llall, gan gydymddyddan mewn teimladau a fyddai gan ŵr a gwraig dan amgylchiadau y gwyddent y gallai, yn mhen ychydig oriau, y gwahenid hwy oddiwrth eu gilydd am byth.

"Elisa," ebe George, "ni all y bobl sydd ganddynt gyfeillion, a thai, a thiroedd, ac arian, a phob peth felly, garu fel yr ydym ni, y rhai nad oes genym ddim ond y naill y llall. Hyd oni adnabum chwi, Elisa, ni charodd yr un creadur erioed mo honof fi, ond fy mam a'm chwaer, druain. Mi a welais Emily, druan, y boreu y daeth y masnachwr i'w chario ymaith. Daeth i'r gongl lle yr oeddwn yn gorwedd ac yn cysgu, a dywedai, 'George bach, y mae dy gyfaill olaf yn cael ei gymeryd oddiarnat. Beth a ddaw o honot, blentyn druan?' Cyfodais i fyny, a theflais fy mreichiau am dani, wylais a llefais, wylodd hithau hefyd; a dyna oedd y geiriau caredig olaf a glywais am ddeg o flyneddau hirion. Gwywodd fy nghalon yn llwyr, a theimlwn mor sych a lludw llosgedig, hyd oni chyfarfyddais â chwi. A meddwl eich bod chwi yn fy ngharu—O! yr oedd fel adgyfodiad o feirw! Yr wyf yn ddyn newydd byth er hyny! Ac yn awr, Elisa, *mi* a roddaf y dyferyn olaf o'm gwaed cyn y cânt eich cymeryd oddiarnaf. Pwy bynag a'ch caffo chwi, rhaid iddo fyned tros fy nghorff marw i!"

"O! Arglwydd, trugarha wrthym," ebe Elisa, dan lefain. "Os caniatâ efe i ni fyned allan o'r wlad hon gyda 'n gilydd, dyna 'r cwbl yr ydwyf yn ofyn."

"A ydyw Duw o'u plaid hwy?" ebe George, yn fwy wrtho ei hun nag wrth ei wraig. "A ydyw efe yn gweled yr oll y maent

yn ei wneyd? Paham y mae efe yn gadael i bethau fel hyn ddygwydd? A dywedant wrthym bod y Beibl o'u tu; yn sicr y mae yr holl awdurdodau felly. Y maent yn gyfoethog, yn iach, ac yn ddedwydd; y maent yn aelodau yn yr eglwysi, yn dysgwyl cael myned i'r nefoedd; ac y maent yn myned ymlaen mor esmwyth yn y byd, ac yn cael eu ffordd eu hunain yn mhob peth; tra y mae Cristionogion gonest, truain, tlodion—cystal Cristionogion a hwythau, neu well—yn gorwedd yn y llwch o dan eu traed. Y maent yn eu prynu ac yn eu gwerthu hwy, ac yn gwneyd marsiandïaeth o waed eu calonau, a'u hocheneidiau a'u dagrau—a Duw yn gadael iddynt!"

"Gyfaill George," ebe Simeon, o'r gegin, "gwrando 'r Salm hon; gall wneyd lles i ti."

Tynodd George ei gader at y drws, a daeth Elisa hefyd ymlaen dan sychu ei llygaid, i wrandaw; a darllenai Simeon fel y canlyn:—

"'Minnau, braidd na lithrodd fy nhraed; prin na thripiodd fy ngherddediad. Canys cenfigenais wrth y rhai ynfyd, pan welais lwyddiant y rhai annuwiol. Nid ydynt mewn blinder fel dynion eraill, ac ni ddialeddir arnynt hwy gyda dynion eraill. Am hyny y cadwynodd balchder hwynt, ac y gwisg trawsder am danynt fel dilledyn. Eu llygaid a saif allan gan frasder; aethant tros feddwl calon o gyfoeth. Y maent wedi llygru, yn chwedleua yn ddrygionus am drawsder; yn dywedyd yn uchel. Am hyny y dychwel ei bobl ef yma, ac y gwesgir iddynt ddwfr phiol lawn. Dywedant hefyd, Pa fodd y gŵyr Duw? A oes gwybodaeth gan y Goruchaf?' Ai nid fel yna yr wyt tithau 'n teimlo, George?"

"Ië, yn hollol; yr un fath yn union a phe buaswn yn siarad neu yn ysgrifenu fy hun."

"Wel, gwrando ynte, 'Pan amcenais wybod hyn, blin oedd hyny yn fy ngolwg i, hyd onid aethum i gysegr Duw, yna y deallais eu diwedd hwynt. Diau osod o honot hwynt mewn llithrigfa, a chwympo o honot hwynt i ddinystr. Fel breuddwyd wrth ddihuno un, felly, O! Arglwydd, pan ddeffroech, y dirmygi eu gwedd hwynt. Eto yr ydwyf yn wastad gyda thi; ymaflaist yn fy llaw ddeheu. A'th gynghor y'm harweini, wedi hyny y'm cymeri i ogoniant. Minnau, nesâu at Dduw sydd dda i mi. Yn yr Arglwydd Dduw y gosodais fy ngobaith."

Y geiriau sanctaidd hyn o ffydd a hyder, y rhai a ddylifent o enau yr hen ŵr cariadlawn, a anadlent fel peroriaeth gysegredig ar ysbryd trallodus George; ac ar y diwedd, eisteddodd i lawr â golwg ymostyngar, dawel, a llariaidd, ar ei wynebpryd harddeg.

"Pe y byd yma fuasai y cwbl, a phob peth i ddarfod gyda'r bywyd hwn, George," ebe Simeon, "da y gallesid gofyn, Pa le

mae yr Arglwydd? Ond yn aml iawn, y rhai sydd ganddynt leiaf o'r byd hwn a'i bethau, ydyw ei rai dewisedig ef i etifeddu y deyrnas. Dyro dy hyder ynddo, ac ni bydd o fawr bwys beth a ddaw i'th gyfarfod yma, efe a uniona y cwbl yn y diwedd."

Pe traethesid y geiriau yna gan ryw gynghorwr oerllyd a dideimlad, o enau yr hwn y daethent yn unig fel rhyw druth briodol i rai mewn amgylchiadau trallodedig, hwyrach na chawsent fawr o effaith; ond fel y deuent o enau un a osodai ei hun bob dydd yn wirfoddol yn agored i ddirwy a charchar yn achos Duw a dyn, yr oedd pwys a dylanwad ynddynt na allesid lai na'u teimlo; a theimlai y ddau ffoadur druain amddifaid dawelwch a nerth yn anadlu ynddynt oddiwrthynt.

"Mi goelia 'n wir," ebe F'Ewythr Robert; "mi rydw i 'n teimlo rhwbeth felly ff' hun yn y fan yma wrth dy glowed di yn 'u hadrodd nhw, pa faint mwy oedd raid fod George a Lisa yn ei deimlo yn y cyflwr 'roedden nhw, wrth 'u clywed nhw o ene rhen Sim 'i hunan?"

"Dyna 'r wialen a'r ffon!" Rhobet, ebe Modryb Elin. "Son wnewch chi am eich ffon—yn nghoedwig yr ysgrythyr mae 'r ffyn yn tyfu, i gynnal, cysuro, ac amddiffyn pererinion trallodus!"

"Mae ff'en ffon ine 'n un dda at 'i phwrpas," ebe yr hen ŵr, "pawb at y peth y bo fo; mi wneuthwn i siou o bartner i'r hen Phinias hwnw; a mi gawset tithe a Marged yma ddal pen y 'sgwrs hefo Simon a Rachel, a'r rheini. Mae isio rhwrai wel fi a Phinias yn y byd i drin rhw fath o bobol. Mae rhwrai wel 'th di a Simon yn rhy gyrfyddol i neyd ymbell fraswaith fydd isio."

"Os ydych wedi setlo 'r pwnc ynghylch y ffyn," ebe James, "mi af finnau yn y blaen a'r stori."

Gosodwyd swper ar y bwrdd, ac arweiniodd Rachel Elisa i eistedd wrtho; ar hyn dyna Ruth i mewn atynt. "Mi a redais yma gyda'r hosanau bychain hyn i'r bachgen," ebe hi; "dyma dri phâr cynhes o rai gwlan, mi fydd mor oer yn Canada, wyddost. "Wyt ti yn cadw dy galon i fyny?" ebe hi drachefn wrth Elisa, gan fyned ati, ac ysgwyd llaw yn gynhes-garedig, a dodi teisen yn llaw Harri bach; "mi a ddaethum a'r ychydig deisenau hyn gyda mi," meddai, gan dynu bwrnel o'i llogell. "Y mae ar blant eisieu rhywbeth i'w fwyta o hyd wyddost."

"O! diolch yn fawr i chwi, yr ydych yn rhy garedig," ebe Elisa.

"Tyred Ruth, eistedd i lawr i gymeryd swper," ebe Rachel.

"'Dalla i ddim fodd yn y byd. Mi a adewais John gyda'r baban, a'r teisenau yn y ffwrn, a rhaid i mi fyned yn y mynyd, neu fe fydd John wedi gadael iddynt grasu yn llwch, ac wedi rhoi cymaint o siwgr sy'n tŷ i'r plentyn. Ac felly, ffarwel

Elisa! ffarwel George! Caniataed yr Arglwydd i chwi daith lwyddiannus," ac ymaith a hi fel iyrches.

Ychydig wedi swper, deuai pedrolfen fawr, â gorchudd uwch ei phen, i fyny at y drws. Yr oedd yn noson glir serenog. Neidiai Phineas i lawr oddiar ei eisteddle yn y fen, i drefnu ei ymdeithwyr. Rhodiai George allan, â'r plentyn ar un fraich, a'r wraig yn pwyso ar y llall; edrychai yn dawel, cadarn, a phenderfynol. Aeth Simeon a Rachel allan i'r drws ar eu hol.

"Dowch chwi allan am fynyd," ebe Phineas wrth y rhai oedd yn y fen, "a gadewch i mi drefnu lle i'r gwragedd a'r bachgen."

"Dyma ddau groen *buffalo*," ebe Rachel; "gwnewch yr eisteddleoedd mor gysurus ag y bo modd—gwaith caled fydd bod yna drwy y nos."

"Yna daeth Jim a'i fam o'r fen; edrychai yr hen wraig yn hynod o bryderus, fel pe buasai yn dysgwyl yr erlynwyr i'r golwg bob moment.

"Jim, a ydyw eich *pistols* yn barod?" ebe George, mewn llais dystaw, ond diysgog.

"Ydynt yn wir!" ebe Jim.

"Ac yr ydych yn benderfynol beth i wneyd â hwy, os daw taro?"

"Yr wyf braidd yn meddwl fy mod," ebe Jim, gan agor ei fynwes lydan gadarn, wrth gyrchu anadliad ddofn.

"Yn yspaid y cyd-ymddyddan byr hwn, yr oedd Elisa yn cymeryd ei chenad ymadawol â'i chyfeilles garedig, Rachel; a chynnorthwywyd hi i fyny i'r bedrolfen gan Simeon, a chymerodd ei heisteddle ar groen *buffalo*, ar y tu cefn, gyda'r bachgen bach. Yna cymerodd yr hen wraig ei lle; eisteddai George a Jim ar eu cyfer yr ochr arall, a chymerai Phineas ei le ar y tu blaen i yru y fen.

"Ffarwel, fy nghyfeillion!" ebe Simeon.

"Bendith y nefoedd arnoch!" atebent hwythau oll.

Yna olwynai y bedrolfen ymaith.

"Yr wyf yn meddwl mai gadael y gweddill o'r stori, hanes yr helyntion a fu arnynt ar y ffordd, hyd y tro nesaf, fyddai oreu," ebe James, "bydd yn ddigon o waith am noswaith eto i fyned i'r pen."

"Toeddet ti a fi yn son neithiwr mai peth cas iawn ydi gadel stori ar 'i hanner, wyddost," ebe F'Ewythr Robert; "a dyma ti 'n myn'd i dori 'r stori ar 'i chanol heno!"

"Yr ydym wedi myned â hi i'r pen mewn rhyw ystyr," ebe James, "mae y rhan sy'n ol yn ddarn ar ei ben ei hun, ac yn un pwysig a difyr; mi fyddai well i mi gael digon o amser gyda hi."

"O'r gore, machgen i! mi alla i waitio tan nos yfory; mi rydw i rwsut yn bur hyderus y try hi allan yn dda yn diwedd."

"Y mae hi wedi bod yn dda iawn hyd yna, beth bynag," ebe

Thomas Harris, "a gobeithio yr ydwyf finnau y deil hi allan felly nes i'r trueiniaid fyned o gyrhaedd crafangau y rhai oedd yn erlid ar eu hole nhw."

"Mi fu yn bur gyfyng a thywyll arnynt hwy unwaith ar y ffordd, fel y cewch chwi glywed eto," ebe Mrs. Harris, "ond dianc a wnaethant."

"Y mae mwy o grefydd mewn caredigrwydd, lletygarwch, a rhoddi nodded ac ymgeledd i drueiniaid gorthrymedig yn eu trallodau, nag y mae llawer o honom erioed wedi ei feddwl. Gymaint sydd yn cael ei gymhell a'i ganmawl ar hyn yn y Beibl," ebe Modryb Elin.

"Ac mor hawddgar yr oedd yr ysbryd yna yn ymddangos yn y teulu Cwaceraidd hyny," ebe Mrs. Harris. "'Gŵr da sydd yn gymwynasgar, trugarog, a thosturiol, a chyfiawn yw efe.' Y mae y darlun a dyna y Beibl o'r gŵr da, neu grefydd dda, yn brydferth iawn; ond y mae gweled y gŵr ei hun, neu weled y grefydd dda yn cael ei byw allan, yn fwy effeithiol. Gweithiad allan yr egwyddorion mewn buchedd ac ymarferiad sydd yn hardd a chariadlawn. Pwy a allai wrandaw ar ddarllen hanes y teulu yna heb deimlo ei galon yn twymno tuag atynt."

"Meddwl bach iawn fydd gen i yn wastad am grefydd y bobl gul, galed, ddigymwynas yma," ebe Thomas Harris.

"Felly fine, Tomos," ebe F'Ewythr Robert; "ond mae llawer o'r siort hono i'w cael 'syweth. Mi weddïan, ac mi frefan, ac mi nadan faint fyd a fynoch chi yn y cwarfodydd—mi ymddangosan' mor santedd a diniwed a dyfysionol ar y Sulie, ac yn 'r odfeuon; mi doddan wel 'menyn, ddyliech chi, wrth wrando. Ond treiwch chwi nhw wed'yn i fargeinio hefo nhw, mi a'n trostach chi, a mi twyllan chi, ys na therdiwch chi wel am ych bowyd."

"Nid gwneyd ystumiau a ffurfiau, nid tuchan a thrystio, a swnio, yw crefydd: yr oedd hyd yn nod Haley yn deall cymaint a hyny," ebe Mrs. Harris.

"Mi ddeyda i chi beth," ebe F'Ewythr Robert, "mae llawer yn cym'ryd enw o grefydd yn glog i 'mguddio tani i neyd drwg. Mi rydw i 'n cofio am felinydd, unweth, mi 'roedd pawb yn meddwl i fod o 'n arfer tolli 'n ddwbwl; a mi droes agos i bawb oddiwrtho fo i falu o'r diwedd, a mi aeth yn no gul arno fo; a be naeth y gwalch ond myn'd i'r seiat, a throi yn gyrfyddol ammhosib,—'toedd un pyrffeswr mwy selog na fo yn 'rhollt wlad; a mi fyddyliodd y bobol i fod o chwedi cael tro iawn, a mi aethon i'w felin o 'n fwy nag erioed, a mi 'roedd gynthyn nhw fwy o ymddiried ynddo na fase gynthyn nhw 'rioed. A mi gafodd fyn'd ymlaen am flynyddoedd i lydrata wrth dolli yn nghysgod i grefydd, ydach chi 'n gwel'd. Mi ddyge 'r dyn trw'r wsnos, a mi 'wddïe 'r Sul chwedyn, nes na choelie neb y base yn bosib i'r fath ddyn fod yn anonest, nes y bu raid iddyn nhw

goelio o'r diwedd. Mae o chwedi marw, druan, es talwm bellach; ni wn i be ddaeth o hono fo ar ol hyny.

"Mae llawer o frodyr i'r hen felinydd yn fyw eto, F'Ewythr Rhobet," ebe Tomos Harris, "mi fydda i yn cyfarfod âg ambell un o honyn nhw. Mi fydda i yn dysgwyl yn wastad gael y gwir gonest gan broffeswr wrth brynu buwch neu geffyl ganddo fo; fedra i ddim dadlu wrth fargeinio â fo fel y medra i efo dyn arall, a mi ges fy nghym'ryd i mewn lawer gwaith—twyll trwy ymddiried, fel y deydwn ni; fase pobol erill ddim yn medru nhwyllo i felly. Mae pethe o'r fath wedi bod yn rhwystr i mi fyn'd at grefydd lawer iawn; mi fydda i 'n meddwl mod i cystal a nhwthe, ac yn well na llawer iawn o honyn nhw."

"Cofiwch chwi roi y pethau yna i lawr, James," ebe Modryb Elin, "i gael i grefyddwyr y wlad eu gweled nhw, a gwybod beth mae rhai fel eich tad a Rhobet yma yn feddwl ac yn siarad am danyn hwy."

"Ië, doro fo i lawr bob gair," ebe F'Ewythr Robert, "mi safa i a dy dad at y peth ydan ni 'n ddeyd, yn 'nawn ni Tomos?"

"Gwnawn bob dydd," ebe Thomas.

"Rhaid diwygio yr eglwys cyn byth y diwygir y byd," ebe Mrs. Harris. "'Os diflasodd yr halen, a pha beth yr helltir ef?' Pa fodd y purir y wlad oddiwrth ddrwg arferion, a thwyll mewn prynu a gwerthu, os bydd ei chrefyddwyr hi â thafodau twyllodrus yn eu geneuau? Mae masnach ein gwlad ni yn troi mewn twyll ac anwiredd, i raddau helaeth iawn. Y mae cyfiawnder yn cwympo ar heolydd ein trefi, yn ein ffeiriau a'n marchnadoedd; a gwirionedd yn pallu ac yn methu dyfod i mewn. Mi glywch lawer yn dweyd, ïe o grefyddwyr, nad oes dim posibl prynu a gwerthu, a bargeinio, a chario masnach ymlaen, heb ddweyd anwiredd."

"Mae y Cwacers yn esiamplau teilwng iawn yn y peth yna hefyd," ebe Modryb Elin. "Ni wnan nhw ddim siarad wrth brynu na gwerthu—dim ond un pris bob amser. Os na leicith dyn ei gymeryd o ar y pris hwnw, rhaid iddo fo droi ei gefn; ac os na chant beth am y pris fyddant hwy yn ei gynnyg, mi droant hwythau eu cefnau ar y gair cyntaf."

"Wel, yn Gwacers 'reloch chi bod yg un, ynte," ebe F'Ewythr Robert.

"Ond aroswch! yr ydach chwithau eich dau yn myn'd yn rhy bell hefyd," ebe Modryb Elin. "Mi wyddoch o'r gore nad fel 'roeddech chi 'n dweyd y mae y crefyddwyr i gyd chwaith,—mae llawer o rai gonest, cywir, cydwybodol, i'w cael—dynion na thwyllant neb ar un cyfrif—dynion a dyngent i'w niwed eu hunain, ac ni newidient, fel y mae y Salmydd yn dweyd."

"Oes, oes! 'rydw i 'n adde' hyny," ebe Thomas Harris.

"Wel, Tomos bach, ddylech chwi ddim gadael i'r lleill eich

cadw chwi oddiwrth grefydd; nid ydyw crefydd, ynddi ei 'hun, ddim gwaeth, am fod rhai dynion drwg yn ei phroffesu hi. Nid yw 'r arian da ddim gwaeth, am fod arian drwg yn cael eu cynnyg yn eu lle nhw weithiau. Yr un un oedd Iesu Grist, er i Pedr ei wadu o, a Judas ei fradychu o; ac ni wna 'r esgus eu bod nhw wedi gwadu a bradychu, mo'r tro i neb i fyn'd i'r farn; ac ni wnaiff beiau crefyddwyr mo'r tro 'n gyfiawnder i chwithau."

"'Roeddwn i 'n dysgwyl y baset ti 'n troi yn y'n pene ni," ebe F'Ewythr Robert.

"Mae 'n dda iawn gen i ei chlywed hi 'n gwneyd," ebe Mrs. Harris. "Mi fum i 'n dweyd yr un peth wrth Tomos lawer gwaith, pe buasai yn gwrando arnaf."

"Gnewch chi le glân i ni, mi ddo i a Tomos atoch chi wed'yn; well gin i fyn'd i bob lle budur na myn'd i seiat fudur," ebe F'Ewythr Robert. "'Drychwch chi mor fydol a ch'byddlyd ydi llawer o honoch chi. 'Fase dim rhaid fod ffyrlin o ddyled ar un capel yn y wlad yma, es bylnydde lawer, oni bae cybydddod pyrffeswrs. A 'drychwch chi 'rŵan, ni fu hi ddim cystal amser ar ffarmwrs y wlad yma yn oes neb sy 'n cofio, ag ydi hi 'rŵan, a mae graen a golwg newydd ar bob peth, a phob achos, ond achos crefydd; 'tydyn nhw 'n gneyd fawr ddim gwell at hono 'rŵan, nag oedden nhw 'r amser gwaetha allan. 'Rydach chi 'n pyrffesu bod crefydd yn fwy 'i phwys a'i gwerth na phob peth, ac 'n ymddwyn tuag ati wel y peth sala feddwch chi. Mi warith llawer un o honoch chi fwy mewn dwy awr mewn ffair ne farchnad, am gwrw a thybaco, nag ro'n nhw at achos crefydd mewn hanner blwyddyn. A mi wyddon am lawer un sy'n byrffeswrs selog, ac yn werth 'u cannodd o bune, nad ydyn nhw 'n rhoid dim mwy, os cimin, at 'chosion cyrfyddol, nag y mae ymbell weithiwr fesul dydd yn roid; yni welis i amal un felly â'm llygid yn rhoid ceniog ar y plât, pen fydd casgliad at yr achos mwya pwysig fu 'rioed, lawer tro; a be dâl crefydd rhai felly? Ni rown i 'r un geniog goch am dani hi, beth bynag, o'm rhan i."

"Y mae peth felly, yn wir, yn annyoddefol," ebe Mrs. Harris, "mewn dynion sy'n proffesu eu bod yn caru Crist a'i achos uwchlaw pob peth arall, ac na roddent ddim ond y geiniog weddill tuag ato. Cewch weled rhai proffeswyr, nad oes ganddynt blant yn esgus i ofalu am danynt, yn casglu arian yn dyrau, na wyddant yn y byd i bwy, ac mor grintach a llawgauad at bob achos crefyddol a dyngarol, fel mai chwe' cheiniog neu swllt ydyw yr eithaf a fedrant ollwng o'u crafangau ar un achlysur; ac yn gyffredin iawn, fe ddaw y rhai a gânt eu cyfoeth ar eu holau ac a'u chwalant ymaith mewn ychydig amser. A welsoch chwi fawr o hap a llewyrch erioed ar blant proffeswyr cybyddlyd? Y maent yn aml iawn yn troi allan yn afradlon a gwastraffus, ac yn dyfetha mewn ychydig amser y cwbl a gasglodd eu rhieni trwy ynnilo a chrintachu am lawer o flynyddoedd."

"Mi glywis son am hen byrgethwr efo 'r Methodistiaid yn sir Gyrnarfon," ebe Rhys Puw. "'Rydach chi 'n peri i mi gofio am dano fo, wrth son am y cybyddion yma. Robet Dafydd oedd gelwir o—mae gin i beth co am dano. Mi fydde 'rhen ŵr yn trin y cybyddion yn yrwinol, bob amser. Yr oedd o wedi myn'd yn bur hen cin marw, ac wedi d'rysu gan henaint a gwendid; a phyrgethu bydde fo yn y gornel o hyd. Mi gode i fyny, ac mi gymre arno ddarllen pennod, a rhoi gair i ganu, ac ono gweddïo a phyrgethu. Mi fydde 'r hen ŵr yn meddwl 'i fod o yn y capel. Weithie y cymre fo 'r Beibil, ac weithie hebddo fo. Mi 'naeth lawer iawn o 'sgythyre 'i hun, ac mi fydde rhwbeth am y cybyddion yn y rhan fwya o'r rhai fydde fo 'n 'neyd. Mi 'roedd o 'n darllen un tro, a mi ddoeth ar draws 'i hen 'lynion, a mi 'naeth 'sgythyr iddyn nhw. Fel hyn 'roedd hi,—'Ac efe a gasglodd yr holl gybyddion, ac a'u hanfonodd hwynt at Pharo-Neco, brenin yr Aipht, ac efe a'u gorthrymodd hwynt.'"

Chwarddasant oll am ben yr adnod hon.

"Dene adnod dda dros ben iddyn nhw," ebe F'Ewythr Robert. "Iä, at Pharo-Neco 'roedden nhw i gael myn'd bod yg un;—wel, reiol lle i'w bathe nhw! Mi fydde 'n birion i chi, Marged ag Elin, ddysgu adnod Rhys, a'i deydyd hi yn y seiat—mi 'nae ymbell i hen gybydd sy gynthoch chi bâr o lygid garw arnoch chi, mi 'ddyliwn. Hwrach y dychyrnen nhw rhag ofn Pharo-Neco;—un tost iawn oedd hwnw—reiol un i orthrymu c'bydd-ion. Ond mi ddyle Pharo-Neco gael gwbod p'rei fydd c'bydd-ion y seiat, i gael iddo fo roi rhw gosb'digeth waeth ar y rheini."

"Mi fyddyliwn i na fydde waeth i chi adel rhwn Pharo-Neco a nhw, gin mai fo sy i'w cael nhw," ebe Cati; "'newch chi les yn y byd iddyn nhw wrth 'u trin nhw yn y fan yma; welsoch chi fawr 'rioed 'r un cybydd, nad cybydd fydde fo hyd ange."

"Mae rhywbeth yn y peth mae Cati yn 'i ddweyd," ebe Modryb Elin. "Gurnal, yr wyf yn meddwl, sy 'n sylwi, nad oes yr un o saint y Beibl yn cael ei gyhuddo o gybydd-dod."

"Ni fyddwch chithe byth yn troid neb o'r seiat am g'bydd-dod," ebe F'Ewythr Robert; "mi ellid meddwl wrth hyny nad oes un cybydd o honoch chi: ac y mae ymbell un o'ch bylnoried, ne ddiconied—beth ydi gelwir nhw?—yn od stits o g'byddlyd! Hàcs arnyn nhw!

"Mae rhy fach o sylw yn cael ei wneyd o hono fo yn yr eglwysi, yn sicr," ebe Mrs. Harris: "ac y mae gormod o wir yn yr hyn a dd'wedodd F'Ewyrth Robert. Y mae llawer swyddog yn ein heglwysi yn dysgu cybydd-dod i'r aelodau, ac yn sefyll ar eu ffordd. Mae hyn yn ddigon eglur. Ond mae y cybydd yn bryf cyfrwys iawn, ac yn anhawdd iawn cael gafael ynddo—mae ganddo gynnifer o lochesau, ac esgusion i'w rhoi drosto ei hun."

"Tawn i 'n dwad atoch chi, mi *sentiwn* i o allan toc," ebe F'Ewythr Robert; "mae 'n o hawdd i 'nabod o wrth 'i dôn;—

un cyrfyddol ryfeddol ydi o, a mae o 'n lladd mwy ar 'rhen fyd yma 'n wastad na neb arall; 'tydi o 'n gyfalu dim byd am bethe 'r ddyar yma, medde fo, os ceith o ddigon i dalu 'i ffordd, a gneyd cyfiawnder. Mae o 'n debig i rw wraig welis i ystalwm, pan oedd cwb o fachgen iddi chwedi gneyd y mawrddrwg. Mi 'roedd hi 'n 'sgyrnygu ac yn chwrnu arno fo, ac yn 'i alw fo yn hen Iuddew, ac yn hen bobpeth gwaeth na'u gilydd, ac ar ganol y cwbwl, dene hi 'n rhedeg ato fo, ac yn rhoid 'i dwylo am 'i wddw fo, ac yn 'i g'sanu o; felly y bydd y cybydd cyrfyddol efo 'r hen fyd yma, mi dwrdith o, a mi galwith o 'n hen Iuddew, ac yn hen bobpeth drwg, a mi rydd 'i ddwylo am 'i wddw fo i'w g'sanu o, ar yr un pryd."

"Wel, druain o'r cybyddion," ebe James; "mae nhw yn ei chael hi yn arw heno, rhyngoch chwi bod ag un. Sut y mae yr adnod, Rhys?—rhaid i mi gael hòno, beth bynag."

Adroddodd Rhys yr adnod drachefn; ac felly terfynodd goruchwyliaeth y nos hon.

---

## NOSON XVI.

MAE yma lai o deulu o honoch chi heno, 'rwy 'n gwel'd, sylwai Thomas Harris, pan ddaeth i mewn i dŷ 'r Háfod yr hwyr hwn. "P'le mae Rhys wedi myn'd?"

"Mi dynodd i bwyth i'r pen o'r diwedd," ebe F'Ewythr Robert. "Mi fu'n yn anniben ryfeddol wrthi hi—mi 'roedd Rhys yn leicio i le, ac yn leicio 'r sgwrs yn rhy dda i 'neyd fawr o frys i orphen."

"Mi fyddech chi 'n gosod yn o galed arno fo, weithie," ebe Tomos.

"Mae Rhys wedi c'ledu—mae o'n ddigon cnefin âg ithi hi," ebe F'Ewythr Robert—"mae o wel Pharo Neco, chwedel ynte."

Yr oedd Modryb Elin a Mrs. Harris eill dwy mewn cydymddyddan dwys ar ryw fater neu gilydd."

"Silens, wragedd," ebe F'Ewythr Robert, "fi ydi 'r c'deirydd yma, mae arna i frys clowed diwedd y stori neithiwr; ac felly 'rydw i'n galw ar James i ddechre ar 'i waith."

Yr ydych yn cofio i ni adael y cwmni neithiwr yn y wagen, yn cychwyn i'w taith, a Phineas yn gerbydwr iddynt.

Yr oedd y ffordd yn ddrwg a chlonciog, a phoenus i'w theithio—i lawr ac i fyny, dros fryniau a thrwy bantiau ymdynent ymlaen. Er cymaint oedd eu pryder a gerwindeb y ffordd, ymollyngai y naill a'r llall i gwsg. Phineas oedd y mwyaf effro o'r cwmni; difyrai ef ei hun ar brydiau drwy hymnio rhyw ganiadau go anghwaceraidd.

Tua thri o'r gloch yn y boreu, clywai George sŵn traed ceffyl

o'r tu ol iddynt encyd o ffordd. Tarawodd benelin Phineas, a thynai yntau yn yr awenau, a safai i ymwrandaw.

"Rhaid mai Michael ydyw," ebe fe. "Yr wy 'n meddwl fy mod yn adnabod ei garlamiad," a chodai ar ei draed gan edrych yn bryderus yn ei ol ar y ffordd.

"Efe ydyw, yr wyf yn credu," ebe Phineas. Neidiai George a Jim allan o'r fèn ar unwaith; safent oll yn ddystaw bryderus, i ddysgwyl dyfodiad y genad. Nesäi tuag atynt, clywent sŵn carnau ei farch yn dyfod agosach agosach; o'r diwedd, daeth i'r golwg, o fewn cyrhaedd galw.

"Ië, Michael ydyw," ebe Phineas: a chan godi ei lais, galwai, "Holo, Michael!"

"Phineas, ai ti sydd yna?"

"Ië—pa newydd?—ydyn nhw yn dyfod?"

"Ydynt—ar y gwarthaf—wyth neu ddeg o honynt—yn boethion gan frandi."

"Tase nhw 'n myn'd yn boethion, fase dda iawn," ebe F'Ewythr Robert. "Os denga George a Lisa 'rwan, mi fydd yn beth rhyfedd iawn."

Gyda i Michael ddweyd hyn, clywid swn gyriad yr erlynwyr yn dynesu.

"I fewn â chwi, yn y foment, fechgyn, i fewn â chwi!" ebe Phineas. "Os rhaid i chwi ymladd, aroswch hyd nes yr elwyf â chwi dipyn ymlaen draw." Neidiodd y ddau i fewn ar y gair, a gyrai Phineas ar y ceffylau yn drwm, a chadwai Michael yn agos atynt o'r tu ol. Dynesu yn nesnes yr oedd yr erlynwyr. O'r diwedd, daethant i'r golwg, yn o bell yn ol. Yn mhen ychydig, clywid eu crochwaedd orfoleddus, wedi iddynt gael golwg ar y ffoaduriaid, gan y tybient eu bod yn sicr yn eu gafael bellach. Llesgäai calon Elisa, a gwasgai ei phlentyn i'w mynwes. Gruddfanai a gweddïai yr hen wraig, ac ymaflai George a Jim yn eu llawddrylliau, gyda meddwl a theimlad rhai ar fin anobaith. Yr oedd yr erlynwyr yn ennill arnynt yn brysur; rhoddodd Phineas dro disymwth o'r ffordd, a daethant i hollt craigres fawr serth, yr hon a ymgyfodai ar ei phen ei hun yn nghanol tir gwastad. Yr oedd Phineas yn eithaf adnabyddus o'r lle er pan fuasai yn dilyn buchedd heliwr, ac i'r fan hon yr oedd yn prysuro dyfod.

"Yn awr, am dani hi," ebe fe, gan neidio i lawr o'i eisteddle —"allan â chwi mewn amrantiad, ac i fyny gyda mi i'r graig yma. Michael, rhwyma di dy farch wrth y *waggon*, a gyr ymlaen at Amaria, a dywed wrtho fo a'i fechgyn am ddyfod yma i siarad â'r cymdeithion sy'n d'od ar ein hol ni."

Yr oeddynt oll o'r fèn ar y tarawiad.

"'Rwan," ebe Phineas, gan gipio Harri bach yn ei freichiau, "edrychwch ar ol y gwragedd, a rhedwch yr wan, os daru chi redeg erioed."

Ond nid oedd anghen eu hannog—yr oeddynt yn fuan wedi croesi yr argae, ac yn gwneyd brys am y graig; a Michael, yntau yn gyru ymlaen tua thŷ Amaria, yn ol gorchymyn Phineas.

"Dowch ymlaen!" ebe Phineas—fel y cyrhaeddent y graig, ac y gwelent yn llwyd-oleu y ser, y llwybr troed oedd yn arwain i fyny—dyma un o'n hen ffauau hela ni gynt."

Neidiai Phineas ymlaen fel gafr, a Harri bach ar ei fraich; a Jim yn nesaf ato yn dwyn ei hen fam grynedig a methiant ar ei ysgwyddau; a George ac Elisa yn olaf.

Daeth eu herlynwyr rhag eu blaenau at yr argae, ac ymbarotoent i'w dilyn, gan grochlefain a thyngu nerth eu penau. Erbyn hyn yr oeddynt wedi cyrhaeddyd uchaf y graig. Yr oedd y llwybr yn awr yn arwain trwy gilfach gyfyng, lle na allai ond un fyned ar unwaith, hyd oni ddeuent yn ddisymwth at agendor tua llathen o led, tudraw i'r hon yr oedd pentwr o greigiau ar wahan oddiwrth y lleill, ac yn llawn ddeg troedfedd ar hugain o uchder, a'u hochrau mor serthion a mur castell. Neidiodd Phineas tros yr agendor, a dodai y bachgen ar lawr gwastad mwsoglyd, oedd yn gorchuddio pen y graig.

"Drosodd â chwi. Neidiwch yn awr am eich bywydau!" ebe fe, fel y llamai y naill ar ol y llall drosodd. Yr oedd amryw grugiau o geryg yn eu cysgodi o olwg eu herlynwyr.

"Wel, dyma ni yma oll," ebe Phineas, gan edrych dros y gaer geryg i wylio yr erlynwyr, y rhai oeddynt yn prysur ddringo i fyny atynt. "Gadewch iddynt ein cael ni, os gallant! Pwy bynag a ddelo yma, rhaid iddo ddyfod ar ei ben ei hun, rhwng y ddwy graig acw, yn nod teg i'ch llawddrylliau chwi, fechgyn, 'rydych yn gweled."

"Yr wyf yn gweled," ebe George. "Ac yn awr, gan mai ein hachos ni yw hwn, gadewch i ni redeg pob antur, ac ymladd y cwbl ein hunain."

"Y mae i ti lawn groesaw i ymladd y cwbl dy hun," ebe Phineas, "ond mi gaf finnau y pleser o edrych ar y gwaith, 'rwy'n coelio. Ond edrych, y mae y cymdeithion acw yn ymgynghori ac yn cynllunio, yn debyg fel bydd ieir pan bo nhw yn myn'd i ehedeg i'w clwydi. Fydde ddim yn well i ti roi gair o gynghor iddyn nhw, cyn iddyn nhw ddwad i fyny yma—dim ond i ddeyd wrthyn nhw 'n g'redig y ca nhw 'u saethu os deuant yma."

Yr oedd mintai yr erlynwyr yn gynnwysedig o Marks a Tom Loker, dau swyddog, a rhyw nifer o hoglanciau a'u dilynasent o'r dafarn olaf y buasent ynddi ar y ffordd, y rhai a allasent hudo drwy roddi dognau o frandi iddynt.

"Wel, Tom, ebe un o honynt, y mae dy gywion yn y fan acw wedi clwydo."

"Ydynt; mi a'i gwelais yn myned i fyny ffordd hon," ebe

Tom. "A dyma lwybr; mi äf finnau i fyny atynt. Ni allant neidio i lawr ar frys, ac ni chymer fawr o amser i'w hela allan."

"Ond, Tom, mi allant danio arnom o gysgod y creigiau," ebe Marks.

"Pw!" ebe Tom, "bob amser am gadw dy groen, Marks!—dim peryg'! 'dall *niggers* neyd fawr o honi hi ffor hono."

"Fedra i ddim gwel'd pa'm na ddylwn i gadw nghroen," ebe Marks, "y fo ydi 'r gore fedda i; a mi ymladdith y *niggers* fel y diawl weithie."

Ar hyn ymddangosai George ar ben craig uwch eu penau, a chan lefaru mewn llais pwyllog ac eglur, efe a ddywedai,—"Foneddigion, pwy ydych chwi sydd i lawr yma, a beth ydych yn ei geisio?"

"Y mae arnom eisieu mintai o *niggers* ffoedig," ebe Tom Loker, "un o'r enw George Harris, ac Elisa Harris, a'u mab; a Jim Selden, a hen wraig. Y mae y swyddogion gyda ni yma â gwarant i'w dal hwy; a rhaid i ni eu cael hefyd, ydych chwi 'n clywed? Ai nid y chwi yw George Harris, sy'n eiddo i Mr. Harris, swydd Shelby, yn Kentucky?"

"Myfi yw George Harris. Yr oedd un Mr. Harris, yn Kentucky, yn fy hawlio fel ei eiddo. Ond yn awr, yr wyf yn ddyn rhydd, ac yn sefyll ar ddaear rydd Duw, ac yr wyf yn hawlio fy ngwraig a'm plentyn fel fy eiddo fy hun. Y mae Jim a'i fam yma hefyd. Y mae genym arfau i'n hamddiffyn ein hunain, ac yr ydym yn benderfynol i'wneyd. Chwi ellwch ddyfod i fyny, os mynwch; ond y cyntaf o honoch a ddelo i gyrhaedd ergyd a fydd yn ddyn marw, a'r nesaf, a'r nesaf, ac felly ymlaen, hyd yr olaf o honoch."

"Amen, amen, amen! amen byth ac yn dragowydd!" ebe F'Ewythr Robert.

"Felly y byddo!" medda inne hefyd," ebe Thomas Harris, "os na ddarfu iddynt gym'ryd rhybudd, a throi yn 'u hole!"

Edrychai Modryb Elin yn bur bryderus; ond yr oedd golwg Mrs. Harris yn ei thawelu, canys yr oedd hi yn gwybod y cwbl.

"O dowch! dowch!" gwaeddai swrcwd o ddyn byr, gan wasgu ymlaen, a chwythu ei drwyn. "Wr ifanc, tydi o ddyben yn y byd i chi siarad fel ene; chi welwch mai swyddogion cyfiawnder ydym ni. Mae y gyfraith o'n tu ni, a'r awdurdod, ac felly ymlaen; felly mi fydde well i chi roi i fyny yn heddychol; mi 'rydach yn gwel'd y rhaid i chwi roi fyny yn diwedd, yn sicir ddigon."

"Mi wn yn dda bod y gyfraith a'r awdurdod o'ch tu chwi," ebe George, yn chwerwedd. "Yr ydych yn meddwl cym'ryd fy ngwraig i'w gwerthu yn New Orleans, a rhoddi fy machgen fel llo yn meddiant masnachwr, ac anfon mam Jim i'r anghenfil a'i fflangellai ac a'i camdriniai o'r blaen. Y mae arnoch eisieu

fy anfon i a Jim i'n fflangellu a'n poenydio, a'n malu dan draed y rhai a elwch yn feistriaid; ac y mae y cyfreithiau yn eich cefnogi i wneyd hyn oll—mwya cywilydd i chwi ac iddynt hwythau. Ond yr ydych heb ein cael eto. Nid ydym ni yn cydnabod eich cyfreithiau, na'ch gwlad. Yr ydym yn sefyll yma dan awyr Duw, mor ryddion ag ydych chwithau; ac yn enw y Duw mawr a'n gwnaeth, ni a ymladdwn am ein rhyddid hyd farw."

"Safai George yn eu llawn olwg ar uchaf y graig, fel y llefarai y geiriau hyn. Yr oedd ei wedd yn gwrido, a'i lygaid yn melltenu gan nerth angerddol ei deimladau, ac fel pe buasai yn appelio oddiwrth ddyn at farn gyfiawn Duw. Dyrchafai ei law tua'r nefoedd tra yr oedd yn traethu ei ddadganiad hwn o'i ryddid a'i annibyniaeth.

Pe buasai ond Hungariad ieuanc yn amddiffyn enciliad ffoaduriaid yn dianc o Awstria i America fel hyn, buasai yn wrolwaith ysplenydd; ond gan mai Affricaniad ieuanc ydoedd, yn amddiffyn enciliad fföedigion trwy America i Canada, wrth gwrs yr ydym wedi ein haddysgu yn rhy dda, ac yn rhy wladgarol i allu canfod dim yn rhagorol ynddo! ac os gwel rhai o'n darllenwyr beth felly, rhaid iddynt wneyd hyny ar eu cyfrifoldeb personol eu hunain. Pan y mae ffoaduriaid Hungaraidd yn gweithio eu ffordd er gwaethaf yr awdurdodau, a gwarantau eu llywodraeth gyfreithlawn, i America, bydd y wasg a'r cynghor gwladwriaethol yn darstain o ganmoliaeth a chroesaw iddynt. ond pan wna ffoaduriaid Affricanaidd, truain, yr un peth—y mae—ond yn ba beth?"

Ond boed fel y bo—tarawodd agwedd, llygaid, a llais y llefarwr y fintai erlynol â mudandod am beth amser. Y mae rhyw beth mewn eondra a phenderfynoldeb ag sydd yn dystewi y tymherau cethinaf am yspaid. Marks oedd yr unig un a safai yn holloll ddideimlad. Yr oedd ef yn bwyllog barotoi ei lawddryll; ac yn yr yspaid o ddystawrwydd a ganlynai araeth George, efe a daniodd ato.

"'Rydach chi 'n gwel'd y cawn gymin am dano yn farw ag yn fyw yn Kentucky," ebe fe, yn ddigyffro, gan sychu ei lawddryll yn llawes ei hugan.

Neidiodd George yn ei ol—gwaeddodd Elisa. Yr oedd y belen wedi pasio heibio ei ben, ac ysgryffinio gwyneb ei wraig, ac ymgladdu mewn coeden uwchlaw.

"Dim niwed! Elisa," ebe George.

"Gwell i ti ymgadw o'r golwg i areithio," ebe Phineas; "adynod bawlyd ydyn nhw."

"Yn awr, Jim," ebe George, "edrych fod dy lawddryll mewn cywair, a chadw wyliadwriaeth ar y ddyfodfa acw gyda mi. Mi a saethaf y cyntaf o honynt a ddelo i'r golwg; cymer dithau

yr ail, ac felly ymlaen. Ni wiw i ni wastraffu dwy ergyd ar un, wyddost."

"Ond beth pe methech chwi eich nod?"

"Ni fethaf fi ddim," ebe George, yn hyderus.

"Da iawn 'rŵan! Y mae stwff yn y bachgen yna," ebe Phineas, yn ddystaw rhwng ei ddannedd.

Safai y gelynion am enyd, wedi i Marks danio, fel mewn petrusder.

"Yr wyf yn meddwl eich bod wedi *hitio* rhywun o honynt," ebe un, "mi glywais rhyw gyffro yn eu plith."

"Mi ä i i fyny rhag ymlaen am danynt," ebe Tom. "Ni fu arna i erioed ofn *niggers;* ac nid wyf yn myn'd i ddechre 'u hofni nhw 'rŵan. Pwy ddaw ar f'ol i?" ebe fe, gan grafangu i fyny 'r graig.

Clywodd George ei eiriau. Tynodd ei lawddryll, ac edrychai ef, yna gosododd ef â'i ffroen ar y ddyfodfa lle y byddai i'r dyn cyntaf ymddangos.

Dilynid Tom gan un o'r rhai mwyaf gwrol o'r fintai; ac o un i un yr oedd yr holl gwmni ar ysgogiad yn dringo i fyny i'r graig. Ymlaen y daethant, ac o dipin i beth dyma ffurf gorffolog Tom yn y golwg, gerllaw yr agendor oedd yn arwain i orsafle y ffoedigion.

Taniodd George ei lawddryll—aeth y belen i mewn i ochr Tom; ond, er wedi ei archolli, nid oedd am encilio; ond gyda rhuad fel yr eiddo tarw gwyllt, cymerai ei naid tros yr agendor i fyned atynt.

"Gyfaill," ebe Phineas, gan neidio i'w gyfarfod, a rhoddi hergwd iddo â'i freichiau hirgryfion—"'does dim o d'eisieu di yma."

Syrthiodd i lawr yr agendor, gan rwygo 'i ffordd yn mysg y coed a'r brysglwyni, a'r ceryg rhyddion, hyd nes y gorweddai ar y gwaelod, ddeg troedfedd ar hugain islaw, yn archolledig, ac yn gruddfan yn dost. Buasai y codwm yn ddigon i'w ladd, ond fel y lleddfid ei nerth gan afaelion ei ddillad yn nghanghenau pren mawr; ond cafodd godwm pur drwm, fodd bynag, mwy o lawer nag oedd yn gysurus iddo, druan.

"Wel, bendith ar ben yr hen Phineas," ebe F'Ewythr Robert. "Ond oeddwn i yn meddwl o'r dechre y base fo 'n troi allan yn ddigon o fats iddyn nhw. Ië, mi roes hergwd i'r hen ffrind, mi fyddyliwn—wel, dene be oedd arno fo isio; ond tase 'r Marks hwnw yn lle Twm, fase ddim gwaeth gin i. Wel, mi gafodd y lleill ddigon ar y job, 'rwy'n coelio, 'rol i'w cawr nhw fyn'd lawr."

"Do!"

"Dyn anwyl a'n helpo! y maent yn gythreuliaid perffaith!" ebe Marks, gan redeg yn flaenaf gŵr i lawr y graig, a'r holl

gymdeithion yn ei ddilyn ystrim ystram ystrellach,—a'r hen gwnstabl tew, yn neillduol, yn chwythu ac yn tagu yn erwindost iawn.

"Piti garw na fase un o honyn nhw yn rhoi pilsen yn mhen ol y Marks ene, pen oedd o'n rhedeg i ffwrdd," ebe F'Ewythr Robert.

"Gwrandewch, ffrindie," ebe Marks, "ewch i lawr a dowch a Tom i fyny, tra byddw' ine 'n rhedeg i geisio 'r ceffyl, i fyn'd i 'mofyn help;" ac heb gymeryd arno glywed hwtiadau ei gymdeithion, bu Marks cystal a'i air, a charlamodd ymaith nerth carnau ei farch.

"Fu 'rioed y fath bryfyn llechgiedd!" ebe un o honynt. "Y ni 'n dwad ar i fusnes o, ac yntau yn rhedeg i ffwrdd, ac yn ein gadel ni fel hyn!"

"'Llasech chithe adel rhyntho fo a'i fusnes ynte," ebe F'Ewythr Robert.

"Wel, rhaid i ni fyn'd i 'mgleddu 'r hen ffrind," ebe un arall; "ond ni waeth gin i, o'm rhan i, p'run ai byw ai marw ydi o."

Arweinid y dynion i'r fan gan sŵn gruddfanau Tom; ac erbyn iddynt fyned ato, dyna lle yr oedd y gwron yn gruddfan ac yn rhegi bob yn ail, yn ddifrifol iawn.

"Yr wyt yn cadw cryn lawer o drwst, Tom; wyt ti wedi brifo 'narw?" ebe un o honynt.

"'Dwn i ddim. Codwch fi i fyny, 'newch chi," ebe fe. "Melldith ar yr hen Gwacer 'ffernol ene; oni base fo, faswn i chwedi taflud rhai o honyn nhw i lawr i'r fan yma, i edrych sut y base nhw yn 'i leicio hi."

Codasant y gwron cwympiedig ar ei draed trwy gryn drafferth, a medrasant ei gael rhwng dau i'r fan lle yr oedd y ceffylau.

"Pe medrech fy nghael i filltir yn ol—i'r dafarn hòno," ebe fe. "Rhowch fenthyg cadach neu rywbeth i'w stwffio i'r fan yma, i attal y gwaedu 'ffernol yma."

Edrychai George dros ymyl y graig, a gwelai hwy yn ceisio codi Tom i'r cyfrwy. Wedi dau neu dri o ymdrechion aneffeithiol, cwympodd ar lawr rhwng eu dwylaw.

"O! gobeithio nad ydyw wedi ei ladd," ebe Elisa.

"Pa'm hyny?" ebe Phineas; "'roedd o 'n 'i haeddu hi 'n eitha'."

"Pa'm hyny? ebe fine hefyd," gwaeddai F'Ewythr Robert. "Yn 'i haeddud hi? wel oedd, cystal 'r haeddodd neb 'rioed hi."

"Oblegid wedi hyny bod barn!" ebe Elisa.

"Da iawn, Elisa," ebe Modryb Elin, "rhaid i minnau gael rhoi gair i mewn 'rŵan."

"Ië," ebe yr hen wraig, yr hon a fuasai yn barhaus yn gruddfan ac yn gweddio yn ei dull Methodistaidd, drwy holl ystod yr ymladdfa. "Y mae yn beth ofnadwy i enaid y creadur tlawd."

"Ar y ngair gwir i, y maent yn ei adael, ac yn myn'd ymaith, yr wyf yn meddwl," ebe Phineas.

Ac felly yr oeddynt; canys wedi sefyll ychydig mewn cydymgynghoriad uwch ei ben, cymerasant eu ceffylau a marchogasant oll ymaith. Wedi iddynt fyned o'r golwg, dechreuodd Phineas ymysgwyd.

"Wel, rhaid i ni fyned i lawr, a cherdded am dipin," ebe fe. "Mi a erchais i Michael fyned ymlaen i ymofyn am help, a dyfod yn ol yma gyda'r wagen; ond rhaid i ni gerdded encyd i lawr y ffordd yna, cyn y daw o i'n cyfarfod ni, mi dybiwn. Pared yr Arglwydd iddo allu dyfod yn fuan! Y mae yn foreu ar y dydd, ac ni fydd llawer o deithio ar y ffordd am beth eto. Nid ydym fawr dros ddwy filltir o'r lle yr ydym yn myned iddo. Oni buasai bod y ffordd mor ddrwg, buasem wedi cadw y blaen arnynt o ddigon."

Fel yr oeddynt ar eu disgynfa yn nesu at yr argae, gwelent y wagen yn dyfod ar y ffordd—yn dyfod yn ol, a rhai dynion ar geffylau yn ei dilyn.

"Wel, yn awr, dacw Michael, a Stephan, ac Amaria," ebe Phineas yn llawen. "Yr ydym bellach mor ddiogel a phe buasem yn mhen y daith."

"Wel, gwnewch aros ynte, a gwnewch rywbeth i'r dyn truan yna," ebe Elisa, "mae o'n gruddfan yn arswydus."

"Ni fyddai hyny yn fwy na Christionogol," ebe George. "Gadewch i ni ei godi i fyny, a'i gario ymlaen."

"Ai ddoctorio fo 'mhlith y *Cwacers*," ebe Phineas. "Clen arw fydde hyny. Wel, nid wyf fi yn prisio llawer pe baem yn gwneyd. Wel, gadewch i ni gael golwg arno fo."

Ymgrymai Phineas ar ei liniau yn ymyl yr archolledig, a dechreuai edrych ei glwyfau. Yr oedd wedi dysgu trin archollion yn lled weddol, pan yn dilyn ei fywyd helwrol.

"Marks," ebe Tom, "ai ti sydd yna, Marks?"

"Nage, mi dybiwn, gyfaill," ebe Phineas. "Llawer mae Marks yn i ofalu am danat ti, os caiff o 'i groen i hun yn iach —mae o wedi rhedeg ymaith er's meityn."

"Y mae hi wedi myn'd i'r pen arnaf, 'rwy 'n credu," ebe Tom. "Y ci brwnt hwnw yn llechian i ffwrdd, a nghadel i farw yn y fan yma. Mi ddeydodd fy hen fam, druan, lawer gwaith, mai dyma fel fydde."

"O'r anwyl! clowch ar y cr'adur tlawd," ebe 'r hen wraig (mam Jim)—"mae gantho fo fami 'rwan. Fi gallu dim llai na theimlo trosto fo."

"Yn araf, cymer bwyll—paid ti a chicio a brathu, gyfaill," ebe Phineas, fel yr oedd Tom yn ymnyddu ac yn taflu ei law oddiwrtho. "'Does i ti ddim gobaith, os na alla i attal y gwaedu yma; a rhwymodd yr archoll i fyny goreu gallai."

"Y chwi a'm taflodd i lawr yna," ebe Tom, mewn llais gwanaidd.

"Wel, taswn i heb neyd, mi fase ti 'n gwthio rhai o honom ni lawr," ebe Phinias, gan rwymo i fyny yr archoll. "Dyna," ebe fe, "gad i mi osod y rhwymyn yma am dano. Nid oes gan neb o honom falais tuag atat. Mi gei dy gym'ryd i dŷ lle y cei di bob ymgeledd, cystal a phe buase dy fam dy hun yn edrych ar d'ol di."

Cauai Tom ei lygaid, a gruddfanai. Mewn dynion o'i fath ef, nid yw eondra a gwroldeb ond mater anianyddol yn unig; ac yr oedd y cawrddyn yn hynod o druanaidd a salw yn ei anffawd.

"Mi naeth gollwn tipin o waed les garw i walch o'i fath o," ebe F'Ewythr Robert; "ond mi 'roedd Marks hwnw 'n waeth nag ynte o'r hanner."

Yr oedd Michael a'i gwmni yn y fan erbyn hyn; a chodwyd Tom i fyny i'r wagen, a dodwyd ef i orwedd ar grwyn *buffaloes;* ond gyda 'i bod yn cychwyn, syrthiodd mewn llewyg. Eisteddai yr hen wraig ar y gwaelod, a daliai ei ben ar ei glin, a rhoddodd y lleill hefyd bob ymgeledd a allent iddo."

"Beth ydych yn feddwl o hono?" gofynai George i Phineas?

"Wel, nid yw ond archoll go ddwfn yn y cnawd; ond ni wnaeth y codwm i lawr y ceunant lawer o help iddo. Y mae o wedi gwaedu yn lled drwm, ac y mae o wedi 'i 'spyddu o'i ysbryd a'i wroldeb, a chwbl, yn o lwyr; ond mi ddaw trwyddi hi, ac fe allai y dysgith o wers neu ddwy yn y tro."

"Mae yn dda genyf eich clywed yn dweyd hyn yna," ebe George. "Buasai yn boen i mi pe buaswn wedi bod yn achos o'i farwolaeth—ïe, mewn achos cyfiawn."

"Ië," ebe Phineas, "gwaith hyll ydyw lladd, dyn neu anifel. Mi fu'm i yn heliwr mawr yn fy nydd, ac yr wyf yn dweyd i ti, mi a welais garw wedi 'i saethu i lawr, ac wrth farw yn troi y fath olwg ar ei leiddiad, fel mewn gwirionedd, yr oedd yn anhawdd ei ddal heb deimlo 'i hunan yn euog a drygionus am i ladd o. Ond y mae bywyd dynol yn ystyriaeth fwy pwysig fyth, am fod barn i ddyn wedi hyny, fel y dywedai dy wraig. Felly, wn i ddim yn iawn a ydyw credo ein pobl ni yn rhy gaeth ar y pen yma neu beidio; ac ystyried fel y cefais i fy nwyn i fyny, yr wyf yn cytuno yn lled rhyfedd â nhw, i raddau helaeth."

"Beth a wnawn i i'r creadur truan hwn?" ebe George.

"O, myn'd ag e' ymlaen i dŷ Amaria. Y mae 'r hen Nain Stephens ono—Dorcas maent yn 'i galw hi—y mae yn famaeth heb ei bath—mae o yn beth naturiol iddi hi—a ni fydd byth cystal wrth 'i bodd, a phan fydd ganddih i rw glaf i ofalu am dano. Mi gadawn o ono am bythefnos, fe allai.

Wedi ymdaith o tuag awr, daeth y fintai i dŷ fferm taclus, lle yr oedd boreubryd llawn wedi ei arlwyo yn barod ar eu

cyfer. Gosodwyd Tom Loker, ar wely esmwyth, ac edrychid ar ol ei glwyfau yn ofalus.

"Ac felly rhaid i ni eu gadael ar hyn o dro—Tom yn ei wely a'r lleill wrth eu brecwast, gael i ninnau fyned adref at ein swper, ac i'n gwelyau," ebe James.

"Wel, mae 'n dda gin ine, erbyn 'rwan, na laddwyd mo 'r hen gyradur," ebe F'Ewythr Robert.

"Mi glowis ddeyd," ebe fe drachefn, "y bydde 'r hen Gymry, ystalwm, yn deydyd pethe feswyl y tri—tri chas beth, a thri hoff beth, ac felly 'mlaen; a mae arna ine flys gneyd triodd 'run fath a nhw. A dyma wel y mae rhai o honyn nhw; 'sgyrfena di nhw er addysg i'r oese a ddel.

"Tri chas-ddyn F'Ewyth Rhobet, Hafod y Cliagwydd:—

"Harli, y mnachwr dynion; Harris, pyrchnogwr dynion; a Marks y llechgi—heliwr dynion.

"Tri hoffddyn F'Ewyth Rhobet:—

"Sion y porthmon tybaco—y dadleuwr trost y caethion: Sion Trwmp, y ffarmwr, noddwr y caethion; a Phinias y *Cwacer*, cynnorthwywr y caethion.

"Tri pheth dwisol:—

"Pen Sion y porthmon; calon Sion Trwmp y ffarmwr; a breichie Phinias y *Cwacer*.

"Tri pheth ffiedd:—

"Calon ddideimlad Harli; cywrwysdra budur Marks; a chyrlondeb Twm Loker.

"Tri pheth na allwy' mo 'i dyoddef:—

"Clowed cybydd yn 'mffrostio yn 'i haelioni; clowed pyrgethwr yn 'mddiffyn caethiwed; a chlowed 'Mericanwr yn brolio rhydid 'i wlad.

"Dyna i ti driodd cystal 'naeth neb 'rioed."

"Go dda yn wir," ebe James.

"Dowch chithe, Modryb Elin," ebe Tomos Harris.

"Mi fuaswn i'n dweyd rhywbeth tebyg i hyn," ebe Modryb Elin:—

"Tri pherl gwerthfawr i'w meddu—duwioldeb F'Ewythr Tomos; tynerwch cydwybod Mr. Wilson; a theimlad tosturiol Mrs. Bird.

"Tri pheth a wna Gristion cyflawn a dedwydd:—

"Gwybod ei ddyledswydd tuag at Dduw a dyn; parodrwydd meddwl i wneyd ei ddyledswydd beth bynag fyddo 'r canlyniadau; ac ymddiried y meddwl ar y Gwaredwr am gym'radwyaeth y dyn a'i weithred gyda Duw, fel yr ymddengys fod y *Cwacer* a'i deulu.

"Tri pheth a wna deulu dedwydd:—

"Gŵr pwyllog, synwyrol, a chrefyddol, fel Simeon Halliday; gwraig ddoeth, siriol, a duwiol, fel Rachel Halliday; a phlant ufudd, a chariadlawn, fel Ruth Halliday.

"Tri pheth rhyfedd iawn yn hanes y byd yma :—

"Mawredd llygredigaeth, calongaledwch, a rhyfyg plant dynion; mawredd amynedd Duw yn eu goddef; a mawredd nerth gras yn eneidiau y rhai sydd yn ei feddu.

"Tri math o gyfeiliornwyr mawrion :—

"Dynion sydd yn ceisio tawelu eu cydwybodau mewn drwg, trwy ddadleu eu bod yn well na phobol eraill, fel yr oedd Mr. Shelby; a'r rhai sydd yn meddwl gwneyd math o iawn am y drwg trwy geisio ei droi i ddaioni, fel yr oedd Mrs. Shelby; a dynion sydd yn penderfynu byw mewn drwg am ryw gymaint o amser, ac edifarhau, a diwygio, rywbryd, cyn marw, fel Haley."

"Y mae Modryb Elin wedi eich curo chwi yn lan," ebe James Harris.

"Aros di!" ebe F'Ewythr Robert—"chewch chi ddim barnu! Rhaid i chithe, bob un o honoch chi 'i threio hi; a mi gawn farnu pr'un fydd y gore yn diwedd. Tyr'd di 'rwan, Jemi."

"Yr ydych chwi a Modryb Elin wedi dweyd y cwbl o'n blaen ni," ebe James; "ond mi allwn roi un neu ddau hwyrach—

"Y tri pheth gwrthunaf dan haul y nefoedd, ac yn ninas Washington, ac America eu gwelir :—

"Teml gysegredig i ryddid ac annibyniaeth America; marchnadle, lle y gwerthir gwŷr, gwragedd, a phlant, i gaethiwed am eu hoes; a phroffeswyr ac athrawon Cristionogaeth yn cefnogi, yn amddiffyn, ac yn gyfranogion o'r drwg.

"Tair golygfa aruthr ac erchyll y gaethwasiaeth :—

"Gwerthu gwŷr, gwragedd, a phlant, oddiwrth eu gilydd; fflangellu benywod; a hela y ffoaduriaid â chwn fel bwystfilod.

"Y tri drwg mawr sydd yn y gaethwasiaeth :—

"Y dianrhydedd mwyaf i Dduw; y sarhad mwyaf ar ddynoliaeth; a gwneyd y rhai sydd yn gyfranogion ynddi yn debycach i fwystfilod nag i ddynion.

"Mi dawaf fi ar hyn yna," ebe James.

"Gollist di dy wynt yn barod?" ebe F'Ewythr Robert. "Wel, dyn a dy helpo. Dowch chithe, Tomos."

"Na, 'n siwr," 'does gin i amcan yn y byd at beth fel ene," ebe Tomos Harris."

"Dowch, dowch, rhaid i chi ddeyd rhwbeth, 'does neb i gael i 'sgusodi."

"Wel, yn wir, rhyw gyfraith go galed ydyw honyna hefyd," ebe Tomos, gan grafu ei lechwedd. "Wel, rhaid i chwi beidio chwerthin am y 'mhen i 'rwan.

"Tri offeryn gwaredigaeth Elisa :—

"Triciau Sam ddu i attal Haley ar ei hol hi; y darnau rhew ar yr afon; a'r dyn a'i helpiodd hi i'r lân.

"Tri thŷ y dylai pawb eu bendithio :—

"Tŷ Mr. Bird, tŷ Van Trompe, a thŷ Simeon Halliday.

"Tri y dymunwn i gael y pleser o'u cicio nhw :—

"Haley, Marks, a Marie St. Clare."

"Go lew, Tomos," ebe F'Ewythr Robert—"un dda iawn oedd y dwaetha ene. Mi fydde 'n bleser gin ine roid cic bob yn ail a chi i'r rheini. Dowch chithe 'rwan, Marged."

"Mae yn anhawdd iawn i mi ddweyd dim ar eich holau chwi i gyd. Bu'm yn ceisio gwneyd rhywbeth er's meityn: ond wnawn i yn y myw ddim wrth fy modd; ond dyma rywbeth, gan fod yn *rhaid*.

"Y tri ffieiddbwll mwyaf drewedig ar y ddaear :—

"Y senedd-dŷ lle y gwneir cyfreithiau i ddal a gorthrymu caethion; y farchnadle lle y prynir ac y gwerthir caethion; a'r pulpud lle yr esgusodir ac yr amddiffynir y lleill: ac o'r tri hyn yr olaf yw y dyfnaf a'r aflanaf.

"Tri thrawsder mawr y gaethwasiaeth :—

"Trawsder yn erbyn anrhydedd y wlad, sydd yn dal caethion; trawsder yn erbyn dynoliaeth yn gyffredinol; a thrawsder yn erbyn gair Duw, trwy ei lusgo i gefnogi y peth. Yn y cyntaf, y mae y wlad yn ei halogi ei hunan; yn yr ail, yn halogi y natur ddynol; ac yn y trydydd, yn halogi yr Ysgrythyrau.

"Tri anghysondeb mawr yr Undeb Taleithiol :—

"Ymffrostio yn rhyddid a chydraddoldeb ei deiliaid, a dal mwy na thair miliwn o honynt yn gaethion; dangos dygasedd mawr yn erbyn gorthrymwyr a gorthrymder mewn gwledydd eraill, a cheisio amddiffyn ei orthrymwyr a'i orthrymder ei hunan; derbyn a chroesawu ffoaduriaid gorthrymedig o wledydd eraill, a gwneyd cyfraith i gosbi a charcharu pwy bynag o'i deiliaid a dderbynia ac a gynnorthwya ei ffoaduriaid gorthrymedig ef, pan geisiont ddianc o'u caethiwed.

"Tair prif elfen y gaethwasiaeth a drygau eraill y byd :—

"Cariad at arian; cariad at awdurdod; ac ymlyniad wrth ddefodau ac arferion y tadau.

"Tri pheth nad oes dim diwygio arnynt, ond rhaid eu dileu :—

"Caethwasiaeth; llywodraeth unbenaethol; ac Eglwys Sefydledig.

"Tri pheth hynod yr oes hon yn eu heffeithiau ar y byd :—

"Yr agergerbyd, y gwefrhysbysydd, a 'Chaban F'Ewythr Tomos.'

"Dyna finnau wedi myned i'r pen," ebe Mrs. Harris.

"Wel, tyr'd dithe, Cati," ebe F'Ewythr Robert.

"O'r gore," ebe Cati.

"Tri pheth y baswn i'n licio i gwel'd nhw 'narw iawn :—

"Gwel'd ebol Harli yn 'i daflud o i'r awyr, a Sam a'r rheini yn rhedeg ar i ol o; gwel'd gwepa Harli chwedi i Lisa dd'engyd oddiarno fo tros yr afon; a gwel'd y *Cwacer* yn taflud Twm Loker i lawr i'r nant.

"Y tri pheth digrifa welis i 'rioed :—

"Spectol f'ewyrth am drwyn y gath; Rhys yn gwnïo tu blaen gwasgod wrth gorff y siwmp; a Jacki yn rhoid y cyfrwy ar gefn y fuwch yn lle ar gefn y gaseg."

"Fedri di yn dy fyw adael llonydd i'r llanc un amser" ebe Modryb Elin. "Dig wyt ti na wnai o dy briodi di."

"Wel, 'rwan Jacki, yth di ydi 'r nesa, a'r dwaetha—doro di goron ar ben y cwbwl," ebe F'Ewythr Robert.

"Wel—wel—wel," ebe Jacki.

"Ia, wel, wel," ebe F'Ewythr Robert; "be sy wedyn?"

"Wel, ynt ydach chi 'nydrach arna 'i bod yg un, fel pe bae gyrn ar y 'mhen i—'toes dim possib, 'rydach chi 'n y nrysu i yn lân."

"Disgwil am dy ddoethineb di 'rydan ni," ebe 'r hen ŵr.

"Wel—ha—ha," ebe 'r cwmni.

"Be ydach chi 'n chwerthin?" ebe Jacki.

"Tri pheth sy 'n gas gin y nghalon i gwel'd, na'u clowed, na chlowed son am danyn nhw:—

"'Rhen arad limog ene; 'Aulwyd F'Ewyrth Rhobet'; a thafod Cati."

"Gwrda Jacki," ebe F'Ewythr Robert. "Mi gei di arad newydd am 'nene. Mi 'rwyt ti chwedi cadw llawer o swn efo'r hen arad es bylnyddodd bellach. Mae ene goed yn barod, mi elli geisio Dafydd y saer yma i'w gneyd hi, pan fynoch ti."

"Wel, Jacki curodd ni i gyd wedi y cwbl," ebe James Harris. Mi ennillodd o *brize*—aradr newydd."

Yr oedd Jacki yn llawen ar ei *brize*, ac aeth pawb i'w ffordd.

---

## NOSON XVII.

"P'LE mae Marged gynthoch chi, heno?" gofynai F'Ewythr Robert, pan ddaeth Thomas a James Harris i mewn i'r tŷ.

"Alle hi ddim dŵad heno," ebe Thomas Harris; "yr oedd gwraig y Tŷ draw wedi dwad acw gyda 'r nos yma; 'roedd raid iddi aros i ddal pen stori i hòno."

"Mi geith ddigon o waith dal pen y stori i Siân, mi sieryd hi lon'd sache," ebe yr hen ŵr; 'does dim diwedd ar 'i stori hi. Colled arw ydi colli Marged—mae gynthi hi reswm mor dda ar bob mater; rhaid i ti, Dafydd (y saer), gym'ryd 'i lle hi, heno; mi ddeydi dithe reswm go dda weithie. Mwyn dyn, welis di mo 'Eulwyd F'Ewyrth Rhobet' yn lle 'n y byd, Dafydd?"

"Do; y mae gen i bedair rhan ne bump o hono fo yn tŷ gartre' acw," ebe Dafydd.

"Ddaru ti 'u darllen nhw?"

"Do, bob gair."

"Wel, be wyt ti 'n 'i feddwl o hono fo?"

"'Rydw i 'n 'i leicio fo 'n dda iawn. Mae llawer iawn o siarad yn 'i gylch o 'n mhob man."

"Ië, mae? Be mae pobol yn ddeyd am dano fo, Dafydd?"

"O! rhai 'n 'i gamol o, a rhai 'n lladd arno fo, fel y byddan nhw efo phob peth arall."

"Wel, p'run ai f' siarad, i 'nte Neli, mae nhw leicio ore, 'ddyliet ti?"

"Rhai bob sut. 'Rydach chi 'n rhy arw gin rai, a Modryb Elin yn rhy gyrfyddol gin y lleill; ac erill, wed'yn, yn y'ch leicio chi 'ch dau yn dda iawn; a rhai am sgwrs Cati; a'r lleill am Mrs. Harris, ac felly 'mlaen."

"Iä, ïa, pawb at 'i *dast*," ebe F'Ewythr Robert.

"Welist ti mo Rhys, y teiliwr? 'Sgwn i be mae o' n ddeyd?"

"Mae Rhys yn taenu 'r hanes hyd y wlad, ymhob man. Mi gowsoch rw dro trwstan arno fo rw nosweth, mi fyddyliwn."

"Ddeydodd o'r hanes?"

"Na; 'tydi o ddim yn deyd be fu, ond y cawn ni wel'd i hanes o yn yr 'Aelwyd' yn no fuan."

"Mae Rhys yn ddigon cyfrwys; 'n achub y blaen, i gael taclu 'r stori cin iddi hi ddwad allan. Be mae hen fleunor y'ch capel chi acw 'n feddwl o'r llyfr?"

"Ysgwyd 'i ben arno fo a thuchan 'n arw iawn y mae o; y mae o 'n synu at Mr. Gee, fod o 'n printio 'r fath lyfr."

"'Roeddwn i agos a disgwil mai felly y gnae o; mi 'sgydwith 'i glustie 'n waeth eto, os dyrllenith o 'n sgwrs ni un o'r nysweithie dwaetha yma, pen ddelo hi allan."

Wedi gosod pob peth mewn trefn—

"Tyr'd, James bach," ebe F'Ewythr Robert; "mi awn ni yn y'n blaene wel 'rferol, deyded pobol y peth fynon nhw am danon ni. Mi ddeyda i 'r pethe ddaw i fy meddwl i, wel o'r blaen."

"Gwnewch, mi wrantaf," ebe Modryb Elin. "Wyddoch chwi beth dd'wedodd Solomon?"

"Wel, deyd 'i feddwl ddaru Solomon, debic cin i, wel finne."

"Dyna dd'wedodd o unwaith," ebe Modryb Elin, "'Y ffol a dywallt ei holl feddwl; ond gŵr doeth a'i hattal hyd yn ol.' Y mae llaweroedd o feddyliau, y byddai 'n well eu hattal a'u cadw, a'u diffodd, na'u traethu; a hwyrach mai yn hyny y mae y rhagoriaeth yn fwyaf rhwng y ffol a'r doeth, bod y doeth yn deall ac yn gofalu beth i'w ddweyd, a phryd i ddweyd, a beth i'w attal, a'r pryd i attal. Y mae llawer o feddyliau ffol yn myn'd trwy galon y doetha, hwyrach, ond bod ei dafod o dan lywodraeth ei reswm, tra y mae genau y ffol fel rhidill, yn gollwng y cwbl trwyddo."

"O! fydda inne ddim yn deyd pob peth fydd yn 'mgynig i 'm meddwl i chwaith," ebe F'Ewythr Robert, "a felly, 'rydw ine 'n ŵr doeth, 'n ol barn Solomon."

"Tae chwi 'n tewi dweyd llawer o bethau fyddwch chwi 'n ddweyd, mi fyddech yn ddoethach, 'r wyf yn meddwl. Mi dd'wedodd Solomon air fel hyn hefyd, 'Y ffol, tra tawo, a gyfrifir yn ddoeth."

"'Rwyt ti am droi Solomon yn y mhen i 'n wastad."

"Rhyw lyfr rhyfedd ydi llyfr y Diarhebion," ebe Dafydd, "mae addysg i bawb ac i bob peth ynddo fo, ac addysg oddiwrth bob peth hefyd; mae pethe pawb, a phethe pob dydd i'w cael ono. Mae llawer iawn o son am addysg y blynyddoedd yma; 'tae ni 'n medru gwrando ac 'styried llyfr y Diarhebion, yn blant ac yn bobol, mi ddoen yn genhedlaeth o ddynion go ddysgedig yn mhethe mwya pwysig y bywyd yma. Mae o 'n dysgu i ni drin y byd; ac yn dysgu moese da, yn gystal a chrefydd dda; ac yn dysgu gwersi mawr oddiwrth bethe bychin a chyffredin."

"Ydyw, felly y mae o," ebe Modryb Elin. "'Y doeth sydd â'i lygad yn ei ben,' fel y d'wedodd o 'n un man. Yr oedd ei lygad o 'n craffu ar bethau nad ydyw y cyffredin o ddynion ddim yn 'u gwel'd nhw—y morgrug, a'r pryf copyn, a'r gwningod. Mae eisio dynion o feddyliau mawr i wel'd pethau bychain; ac y mae diffyg sylwi ar bethau bychain, yn arwain i ganlyniadau mawr."

"Mi 'roeddem ni 'n ymryson gneyd triodd yma neithiwr," ebe Thomas Harris; "py tase Solomon yn gneyd triodd o'i hoff a'i gas bethe, mi f'ase 'n deyd mai 'i dri chas-beth o oedd—y diog, y ffol, a gwraig anynad: a'i dri hoff-beth f'ase—dyn diwyd ffyddlon, a gŵr call darbodus, a gwraig lanwaith drefnus."

"Yn wir, peth cas iawn ydi 'r tri cynta' ene," ebe F'Ewythr Robert. "Mae pobol yn cael 'u blino gynthyn nhw mhob oes a gwlad, mi dybygwn."

"Mi gernodiodd Solomon lawer ar y tri, yn enwedig y diog," ebe James.

"Waeth i chi be gyrnodioch chi arno fo, 'rowch chi byth ddim cwchyn yntho fo," ebe yr hen ŵr. "Dene Ned y Foty, 'rŵan, f'ase Solomon 'i hun yn gallud gneyd dim byd ond diogyn byth o hono fo. Mae 'i blant o 'r un fath ag ynte 'n inion—yn balffie o bethe mawr afrosgo, na ddaru nhw 'stwytho mo'u cymale 'rioed, a na nhw byth chwaith—cyrdota, a byta, a chysgu, ydi'r cwbwl fedran nhw neyd. Gwell gin i bob ffasiwn o bobol na phobol ddiog; a cawn i 'n ffordd, mi rown gyfreth y 'postol arnyn nhw, bod yg un—'u llwgu nhw, ys na na'n nhw weithio. Ond dyma chi chwedi 'n hudo a'n harwen ni i blas Solomon oddwrth 'Gaban F'Ewyrth Tomos."

"Wel, ni a ddechreuwn ar y 'Caban,' ynte," ebe James; "a hwyrach y byddai cystal i ni orphen stori George ac Elisa, er na byddwn yn dilyn trefn y llyfr; ond yr wyf wedi tori ar draws hono lawer tro, o ran hyny."

Hwyrach y byddai yn burion i ni fyned i ymweled â Tom Loker am fynyd. Rhoisom ef yn ei wely neithiwr, yn nhŷ Amaria, a Modryb Dorcas, y famaeth dda hòno y soniai Phineas am dani, a gymerai ei ofal, ac a fanwl wyliai trosto. Yr oedd yn hynod o'r drwg ei nwydau, fel tarw gwyllt mewn magl, o dan ei drychineb. Yr oedd Modryb Dorcas yn wraig mewn gwth o oedran, yn un hynod o lanwaith a threfnus ei gwisgiad; a'i hwynebpryd a'i hedrychiad yn arwyddo meddwl craffus a thymher wastad, dirion.

"D—l!" ebe Tom Loker, gan daflu dillad y gwely oddiwrtho yn ddrygnwydog.

"Rhaid i mi ofyn i ti beidio arfer y fath iaith, Tomos;" ebe Modryb Dorcas, gan ail drefnu y gwely.

"Wel, na i ddim, nain, os galla i wrtho fo," ebe Tom; "ond y mae yn ddigon a gneyd i ddyn regi—mor felldigedig boeth ydi hi."

Elai Dorcas ymlaen yn dawel i drefnu pethau ynghylch y gwely a'r ystafell, gan sylwi—

"Mi fyddai yn dda genyf, gyfaill, pe baet ti 'n gadael heibio dyngu a rhegi, ac yn meddwl am dy ffyrdd."

"I be ———," ebe Tom, "y gnawn i feddwl am y rhei'ny? Y peth dwaetha i gid y leiciwn i feddwl am danyn nhw—'nghrog y bo 'r cwbwl!" a thaflai bob peth o'i amgylch i annhrefn eilwaith.

"Mae 'r dyn ifanc a'r lodes hòno yma eto, debic cin i?" ebe fe 'n surllyd, yn mhen enyd.

"Ydynt, y maent!" ebe Dorcas.

"Gwell iddyn nhw 'neyd y gore o'u ffordd i fyn'd tros y llyn," ebe Tom; "gore po mwya o frys na'n nhw."

"Felly y gwnant, mae 'n debygol," ebe Dorcas.

"Gwrandewch chi," ebe Tom. "Y mae gynthon ni bobol yn Sandusky, yn gwylio pob llestr a hwylio oddyno. Waeth gin i ddeyd 'rŵan na pheidio. Gobeithio y medran dd'engyd, tae ddim ond ran *spite* i Marks—cwb y felldith gyntho fo."

"Tomos!" ebe Dorcas, yn o gyffrous.

"'Rwy 'n deyd i chi, nain, os corciwch chi fi 'n rhy dyn, mi 'mdora," ebe Tom. "Ond am y lodes, deydwch wrthyn nhw am 'i gwisgo hi rwsut yn w'hanol; rhag iddyn nhw 'i nhabod hi. Y mae desgrifiad o honi hi allan yn Sandusky."

"Ni a edrychwn at hyny," ebe Dorcas.

"Gan y byddwn yn gadael Tom Loker yn y fan yma," medd yr hanes, "byddai cystal i ni ddweyd ddarfod iddo, ar ol gorwedd yn nhŷ y *Cwacer* am dair wythnos, wellhau, a chyfodi rywfaint yn sobrach a doethach dyn; ac yn lle hela caethion, efe a ymgymerodd â bywyd yn un o'r sefydliadau newyddion, lle y defnyddiodd ei dalentau i well pwrpas—yn trapio eirth, a

bleiddiaid, a phreswylyddion bwystfilaidd y coedwigoedd, yn yr hyn y daeth yn enwog iawn yn y wlad. Soniai Tom am y *Cwacers* yn barchus iawn, byth ar ol y tro hwn. 'Pobol wych ydynt,' meddai. 'Ceisient wneyd dysgybl o hona i,' meddai, 'ond prin y gallen nhw ddwad i fyny â hyny, rwsut; ond mi ddeyda i chi beth, 'does mo 'u bathe nhw i drin dyn sal,'" &c.

"Os oes genych air i'w ddweyd wrth Tom, yrŵan y mae i chwi," ebe James; "ni welwch mo hono, ac ni chlywch air am dano fo eto."

"Mi 'rwyt ti chwedi myn'd ag o i'r coedydd, at yr arthod a'r bleiddied, yn ddigon pell," ebe F'Ewythr Robert. "Wel, dene 'r lle gore i'w fath o; a gwell gwaith iddo fo hela a thrapio 'stwilod felly, na hela a thrapio 'i gydgyrduried. Mi 'naeth gollwn tipin o waed gryn les iddo fo."

"Do; fe ddysgodd wers ne ddwy, chwedel Phineas," *ebe* Thomas Harris.

"Ddysgodd o mo 'r gwersi penaf, druan," ebe Modryb Elin. "Dyn wedi ymdrwytho mewn anystyriaeth a drygioni *oedd o.* Arafodd y tro caled a gyfarfu ychydig ar 'i gamrau, mae 'n wir, ond yr un oedd o."

"Pwy ŵyr, er hyny, na lynodd yr addysgiade da gafodd o 'n nhŷ 'r *Cwacer*, yn 'i galon o, a f'alle y dyge 'r had da ffrwyth da rywbryd. Yr oedd rhoi rhw hanner tro ar 'i ffyrdd o 'n rhwbeth," ebe Dafydd. "Mi welson lawer o ddynion fydde 'n addunedu pethe mawr mewn cystudd ne gyfyngder, yn myn'd yn saith gwaeth nag oedden nhw cynt, wedi cael codi drychefn."

"Mi 'naethe Twm ddyn go dda, pe cowse fo grefydd," ebe F'Ewythr Robert.

"Fe wnai pob dyn ddyn dda, ond cael crefydd—crefydd *dda*," ebe Modryb Elin; "a ni wna 'r un dyn ddyn da mewn gwirionedd hebddi hi."

"Mae gwahaniaeth mawr rhwng y naill ddyn digrefydd a'r llall; 'tydach chi ddim am ddeyd fod pob dyn digrefydd yn ddyn drwg, Modryb Elin?" ebe Thomas Harris.

"Hene, Tomos, dene air yn 'i bryd," ebe F'Ewythr Robert.

"Yr ydych chwi 'ch dau yn teimlo, mi wela," ebe Modryb Elin. "Dweyd ddaru mi, nad oes yr un dyn digrefydd yn ddyn da mewn gwirionedd, yn llawn ystyr y gair *da*. Mae llawer y gellir eu galw nhw yn ddynion da mewn llawer o bethau—yn sobor, yn onest, yn gyfiawn, yn dirion a chymwynasgar, yn aelionus, ac yn foesol yn mhob peth; ond heb fod yn gyfiawn duwiol ger bron Duw: y rhai hyn yw y tir da, rhai â chalon awddgar a da, sy 'n gwrando y gair, ac yn ei gadw, ac yn dwyn rwyth trwy amynedd."

"'Rwyt ti 'n rhedeg i'r Beibil i'n cyndemio ni o hyd," ebe F'Ewythr Robert.

"Wel, os ydyw 'r Beibl yn y'ch condemnio chwi, waeth i chwi heb geisio eich cyfiawnhau 'ch hunain—barn y Beibl a saif, ac yn ei ol ef y bernir ni oll y dydd olaf."

"Mae Modryb Elin a'r Beibil yn rhy drech i ni, F'Ewyrth Robert," ebe Thomas Harris.

"Mi ddown i trwyddi hi o'r gore, on bae 'r Beibil," ebe yr hen ŵr. "Y fi fydd yn curo 'n wastad, pen na fotho gynthi hi sgythyr o'i thu; ond gydewch i ni fyn'd yn y'n hole at Twm Loker. Mi 'naeth Twm un peth da iawn, er dyhired oedd o; mi roes 'spysiad pwysig iawn iddyn nhw gym'ryd gofol rhag y bobol oedd yn gwaitied am danyn nhw yn y lle arall hwnw."

"Felly y cewch chwi glywed, yn wir, wrth i ni fyned ymlaen â'r hanes," ebe James. "Pe na buasai iddynt ymddyeithro fel y gwnaethant, y mae yn debyg iawn y daethent i ddalfa, wedi y cwbl; a phe na buasai i Tom roddi yr hysbysiad am y cynllwyn oedd ar eu medr, odid fawr nad syrthio i'r fagl a wnaethent."

"Wel, rhyfedd, rhyfedd, ydyw troion rhagluniaeth!" ebe Modryb Elin. "'Trywenaist ben ei faesdrefi â'i ffyn ei hun,'—trefnu amgylchiadau i wneyd y penaf o erlidwyr y trueiniaid yn offeryn eu gwaredigaeth o ddwylaw y lleill. Yr oedd y lleill y soniwyd am danynt, yn eu cynnorthwyo o gariad ac ewyllys da; a Thom Loker, o gynfigen tuag at Marks, fel yr oedd Paul yn sylwi bod rhai yn ei amser ef, yn pregethu Crist o gariad, a'r lleill o gynfigen. Gwaharddwyd gweddill cynddaredd Tom, pan fethodd o yn ei amcan i'w dal nhw; ac yrŵan, dyna ei gynddaredd o yn cael ei droi yn foliant i Dduw, fel y bu o yn wasanaethgar i ragflaenu aflwydd y rhai truain oedd yn dianc am eu bywyd a'u rhyddid, o wlad y caethiwed."

"Wel, James, 'rydan ni 'n disgwil wrtha ti fyn'd ymlaen 'rŵan," ebe F'Ewythr Robert.

Wel, wedi cael yr hysbysiad crybwylledig gan Tom, barnwyd mai doeth fyddai iddynt ymwahanu. Anfonwyd Jim a'i fam ymaith yn gyntaf, wrthynt eu hunain, a dilynodd George Harris a'i wraig a'i blentyn yn mhen noson neu ddwy drachefn, a derbyniwyd hwy yn garedig i lety oedd wedi ei ddarparu iddynt—y llety a'r nodded olaf yn ngwlad y caethiwed.

Yr oedd y nos wedi cerdded ymhell, a chodai seren foreu rhyddid o'u blaen hwy. Rhyddid! gair trydanol! Pa beth ydyw? Paham, ŵyr a gwragedd America, y mae eich calonau yn dychlamu wrth y gair hwnw? dros yr hwn y gwaedodd eich tadau, ac yr oedd eich mamau anrhydeddusaf yn foddlawn i aberthu eu meibion!

A oes ynddo rywbeth sydd yn anwyl a gwerthfawr i genedl, nad ydyw hefyd yn anwyl a gwerthfawr i ddyn? Beth ydyw rhyddid

i genedl, ond rhyddid i'r personau a'i cyfansoddant hi? Beth yw rhyddid i'r gŵr ieuanc acw, sydd yn eistedd draw, â'i freichiau yn mhleth ar draws ei fynwes lydan, a naws y gwaed Affricanaidd yn ei wedd, a'i thânau tywyll yn ei lygaid—beth ydyw rhyddid i George Harris? Dyna oedd rhyddid i'ch tadau chwi, hawl i genedl i fod yn genedl. Iddo ef, hawl dyn i fod yn ddyn ydyw, ac nid yn anifel; yr hawl i alw gwraig ei fynwes *ei* wraig, ac i'w hamddiffyn hi rhag trawsder; yr hawl i noddi ac addysgu ei blentyn, yr hawl i feddu cartref o'r eiddo ei hun, crefydd o'r eiddo ei hun, a nodwedd o'r eiddo ei hun, heb fod dan reolaeth ewyllys un arall. Yr oedd y syniadau hyn yn troi ac yn treiglo yn mynwes George, fel yr eisteddai yn synllyd, â'i law o dan ei ben, yn gwylio ei wraig, fel yr oedd hi yn trwsio ac yn trefnu ei ffurf dyner, brydferth, mewn dillad mab, y dull y bernid yn fwyaf diogel iddi i allu dianc.

"Yn awr âm dani," ebe hi, fel y safai o flaen y drych, ac yr ysgydwai i lawr gnwd toreithiog o wallt du modrwyog. "Y mae o agos yn *bity*, George, onid ydyw?"—meddai hi, gan ymaflyd mewn cydyn o hono, a'i ysgwyd—"yn resyn i dori 'r cwbl ymaith."

Gwên bruddaidd oedd yr unig ateb a roddai George.

Troai Elisa i'r drych drachefn, a dysgleiriai y siswrn, fel y disgynai cudyn ar ol cudyn oddiar ei phen.

"Dyna, yrŵan; fe wna y tro," ebe hi, gan gymeryd y brŵs gwallt, i lyfnhau y gweddill.

"Dyna; onid wyf yn fachgen ifanc glandeg?" ebe hi, gan droi at ei gŵr, gan chwerthin a gwrido yr un pryd.

"Yr ydych yn wastad yn brydferth, gwnewch y peth a fynoch," ebe George.

"Beth sydd yn eich gwneyd mor bruddaidd," ebe Elisa, gan osod ei llaw ar law George.

"O! Elisa!" ebe George, gan ei gwasgu ato—"y mae fy holl dynged yn awr yn ymgyfyngu i bwynt—wedi dyfod mor agos, bron i'r golwg, ac yna colli y cwbl—ni allwn byth fyw, Elisa!"

"Peidiwch ag ofni," ebe ei wraig yn obeithlawn. "Ni buasai yr Arglwydd daionus yn ein dwyn mor belled a hyn, pe na buasai yn bwriadu ein dwyn trwodd yn ddiangol. Yr wyf fel yn ei deimlo ef gyda ni, George."

"Yr ydych yn wraig fendigedig, Elisa!" ebe George, gan ei ehofleidio; "ond O, dywedwch! a all fod y drugaredd fawr hon yn nghadw i ni? A ddaw y blyneddau—y blyneddau hyn o drueni i derfyniad? A gawn ni fod yn rhyddion?"

"Yr wyf yn sicr o hono, George," ebe Elisa, gan edrych i fyny, tra y treiglai dagrau o lawenydd a gobaith dros ei gruddiau. "Yr wyf yn ei deimlo o'm mewn, bod Duw am ein dwyn allan o'r caethiwed y dydd heddyw."

"Yr wyf yn eich credu, Elisa!" ebe George, gan neidio ar ei draed—"Yr wyf yn credu—dowch gadewch i ni fyned ymaith. Wel, yn wir," ebe fe, "gan ei dal hyd ei fraich oddiwrtho, ac edrych arni yn serchoglawn—'Yr ydych yn fachgenyn tlws iawn—dodwch eich cap.—Dyna, ychydig ar y naill ochr. Ni welais erioed mohonoch yn edrych mor dlws. Y mae yn agos yn bryd i'r cerbyd fod yma. Ai tybed fod Mrs. Smyth wedi trwsio Harri i fyny?"

Agorodd drws yr ystafell, ac wele wraig drefnus, ganol oed, yn arwain Harri bach i mewn, wedi ei wisgo â dillad merch.

"Y fath eneth dlws ydyw!" ebe Elisa.. "Ni a'i galwn yn Harriet—y mae yr enw yn dyfod yn gymhwys iawn, chwi welwch."

Edrychai y bachgen yn synllyd ac ammheus ar ei fam, yn ei gwisg ddyeithr; cyrchai ocheneidiau, a syllai arni mewn petrusder a phryder.

"Ydyw Harri yn adnabod mamma?" ebe Elisa, gan estyn ei dwylaw tuag ato.

Gwasgai y plentyn at y wraig yn wylaidd.

Wedi ychydig o ymgomio ac ymbarotoi, daeth y cerbydau oedd i'w cludo ymaith, at y drws.

"Mi a glywais," ebe Mrs. Smyth, "bod yna ddynion wedi bod i lawr yn rhybuddio holl feistradoedd yr agerlestri, am ŵr a gwraig a phlentyn."

"Ai do?" ebe George. "Wel, os gwelwn ni ŵr a gwraig, a phlentyn o'r fath, ni a allwn roddi hysbysrwydd iddynt yn eu cylch."

Yna canodd y teulu caredig oll yn iach â hwynt, a chychwynasant ymaith i'w taith.

Gwnaed yr holl ffugwisgo, yn unol â'r cyfarwyddiadau a roddasai Tom Loker. Mrs. Smyth, gwraig barchus o Canada, i'r lle yr oeddynt yn dianc, a ddygwyddai fod ar groesi y llyn i ddychwelyd yn ôl yno, a gydsyniasai i gymeryd arni mai nith iddi hi ydoedd Harri bach (Harriet yn awr); ac mewn trefn iddo fod yn ddiddig gyda hi, buasai dan ei gofal am y ddeuddydd cyn hyny, ac yr oedd, drwy ei lochi, a'i ddobri â theganau a melusion, wedi ennill serch y gŵr bach yn fawr iawn.

Gyrodd y cerbydau i'r borthfa. Rhodiai y ddau ŵr ieuanc, fel y tybygid, ar hyd y planc i fwrdd y llestr. Rhoddai Elisa ei braich i Mrs. Smyth, a gofalai George am y clud.

Fel yr oedd George yn sefyll wrth swyddfa y cadben, ac yn talu y llonglog trosto ei hun a'i gymdeithion, clywai ddau ddyn yn siarad gerllaw iddo.

"Mi a wyliais bob un a ddaeth i'r bwrdd," ebe un o honynt, "ac yr wyf yn sicr nad ydynt yn y llestr hon."

Ysgrifwas yr agerlestr oedd yr hwn a ddywedasai y geiriau,

yr hwn y llefarai wrtho oedd ein hen gyfaill Marks, yr hwn gyda'r dyfal barhad ag oedd yn wastad yn ei nodweddu, a ddaethai i Sandusky gan geisio y neb a allai ei lyncu.

[" A mi ddaeth yr hen fulen ono, do?" ebe F'Ewythr Robert. "Wel, gwyn fyd na fase Twm Loker yn ddigon cry, a chael gafel yntho fo, 'rydw i 'n coelio, py cowse Twm hyd iddo, y gnaethe fo fo na allse fo lyncu neb wed'yn."]

" Prin galle chi 'nabod gwahaniaeth rhwng y wraig a dynes wen," ebe Marks; "*mulatto* pur oleu ydyw 'r gŵr; y mae nôd haiarn poeth ar un llaw iddo."

[" Prin y gallse neb 'nabod rhagor rhyngtho fynte a'r gŵr drwg, tase un ar i lw," ebe F'Ewythr Robert.]

Crynai llaw George ychydig yn awr, fel yr oedd yn cymeryd y tocynau a'r newid; ond trodd o amgylch mewn agwedd ddiofal, a thaflai edrychiad i wyneb Marks; yna rhodiai yn ddidaro i gŵr arall o'r llestr, lle yr oedd Elisa yn sefyll yn dysgwyl am dano.

" Wyddost ti beth sy'n taro i meddwl i 'rŵan?" ebe F'Ewythr Robert, "bod rhai o weision y cythrel yn llawn gin waethed a fo 'i hun, ond nad ydyn nhw ddim yn gwbod cymin a fo. Mi wydde fo mai Siors Harris a Lisa oedd y rheini, debig; ond ni wydde 'i was Marc mo hyny. Mae'n drugaredd nad ydi'r cythrel ddim yn cael cenad i ddeyd cimin ŵyr o wrth 'i weision. Dos ymlaen Jemi."

Aethai Mrs. Smyth a Harri bach i lawr i gegin y boneddigesau, lle y canmolid prydferthwch yr eneth fach (fel y tybient), yn fawr gan lawer.

Yn y man canai y gloch, a chafodd George yr hyfrydwch o weled Marks yn cerdded y planc oddiar fwrdd y llestr i'r lan; a thynodd ochenaid hir o ddadlwythiad pan ddechreuodd yr agerlestr ysgwyd ei phawenau, ac ymsymud oddiwrth y lan.

Yr oedd yn ddiwrnod hyfryd; dawnsiai tònau gwyrddion y llyn, gan sisial a dysgleirio yn ngoleuni yr haul. Chwythai awel effro oddiar y lan, a rhwygai yr agerlestr ei ffordd ymlaen.

"Hwre! bo.. yg un 'rwan—Neli, James, Cati, Jacki, Dafydd—codwch ar ych traed!" ebe F'Ewythr Robert—" Tobit a'r cwbl! a rhowch fonlle nerth ych pene, nes bo pobol o'r 'Merica yn ych clowed chi tae bosib—dene nhw chwedi dengid o afel y perig ola, er gwaetha Harli, a Marks, a'r cwstablied, a hollt epil y 'sprydion drwg, yn fawrion ac yn fychin; ag yn rhyddion am byth yn dragywydd, Amen!"

Yr oedd holl deimladau yr hen ŵr wedi codi i'w wyneb a'i lygaid, fel y llefarai y geiriau hyn; safai yn syth ar ei draed, a dyrchafai ei law a'i lais, ac yr oedd delweddau o fywiogrwydd a hoewder dyddiau ei ieuenctyd i'w gweled megys yn arwisgo

delweddau ei henaint, yr hyn a roddai iddo ymddangosiad hynod o ddyddorol a thaiawiadol.

"Fe wnaethech chwi, ac fe wnaech eto, areithiwr da iawn, F'Ewythr Robert," ebe James—"beth pe byddai i chwi draddodi darlith ar 'Gaban F'Ewythr Tomos.'"

"Fedrwn i ddim trystio i mi fy hun, na thorwn i allan i regi Harli, a Marks, a'r geriach i gid, ar y canol," ebe 'r hen ŵr, gan eistedd i lawr.

"Wel, ni fynem gael Modryb Elin yn gadeirydd, i'ch cadw chwi mewn *order*," ebe James.

"Y gwaith caletaf wneis i erioed fyddai hyny," ebe Modryb Elin."

"Na, Jacki leiciwn i i roid darlith," ebe Cati.

"Mi ro i ddarlith arnat ti rw ddiwrnod," ebe hwnw.

"*Ordor!—Silens!*" ebe F'Ewythr Robert—"dos 'mlaen James."

"Y mae ein hawdures yn tori allan yn y fan y darfu i chwithau dori allan, F'Ewythr Robert, ac yn dywedyd fel hyn," ebe James:—

O! y fath fyd o deimladau annarluniadwy sydd mewn un galon ddynol! Pwy allasai feddwl wrth weled George yn rhodio yn bwyllus i fyny ac i lawr ar fwrdd y llestr, a'i gydmar gwylaidd wrth ei ochr, am yr oll oedd yn llosgi yn ei galon? Y daioni mawr oedd yn ymddangos ei fod gerllaw, oedd fel yn rhy dda, yn rhy deg, i fod yn beth gwrioneddol; a theimlai bryder ofnus bob moment o'r dydd hwnw, rhag y dygwyddasai i rywbeth gymeryd lle i'w gipio oddiarno.

Ond ymlaen yr hwyliai yr agerlestr—ehedai awr ar ol awr heibio; o'r diwedd, dyna 'r tir Prydeinig bendigedig yn ymdori i'r golwg—tir ag y mae rhyw gyfaredd effeithiol ynddo i doddi ymaith âg un cyffyrddiad holl rwymau caethiwed, gan nad pa awdurdod wladol fyddo wedi eu cadarnhau.

Safai George a'i wraig fraich yn mraich, fel y dynesai y llestr at y dref fach, Amherstberg, yn Canada—aeth ei anadl yn fyr, a thyn; ymgasglai caddug o flaen ei lygaid; dirgel wasgai y llaw dyner fechan oedd yn gorwedd yn grynedig yn ei law ef. Canai y gloch, safai y llestr!—heb braidd wybod beth oedd yn ei wneyd, efe a gasglodd ei glud, a chynnullodd ynghyd ei gymdeithion. Glenid y fintai fechan ar y tir—safasant yn llonydd ar y fan, hyd nes i bawb fyned allan o'r llong; ac yna gan gofleidio eu gilydd mewn dagrau, syrthiai y gŵr a'r wraig ar eu gliniau, a'r plentyn synedig yn eu breichiau, gan ddyrchafu eu calonau at Dduw!

Yr oedd wyneb F'Ewythr Robert a'i wefusau i'w gweled yn crychu yn mhob ffurf, ac yn mhob ffordd, fel yr adroddai James y darn olaf o'r hanes.

"Y mae hwna 'n rhy gry i mi!" ebe fe, mewn llais toredig; ac ymollyngai i wylo. Pan aeth y gawod drosodd, "Wel, wel, yr Arglwydd a feder wared!" meddai.

Arweinid George a'i wraig gan Mrs. Smyth, i drigfa letygar cenadwr caredig, ac y darfuasai i garedigrwydd Cristionogol ei osod yn y lle, yn fugail i'r truain ffoedig, a ddeuant yn finteioedd, beunydd, i ymofyn nodded yn y parth hwn.

Pwy all draethu dedwyddwch y dydd cyntaf hwnw? Ai nid y syniad o ryddid yw yr un uchaf a choethaf o'r pump? Y syniad o allu symud, siarad, anadlu, myned allan a dyfod i mewn, heb fod dan lywodraeth neb, ac yn rhydd o berygl? Pwy all ddesgrifio bendithion y gorphwysiad a ddisgynant ar obenydd y gŵr rhydd, dan nawdd cyfreithiau a ddiogelant iddo yr iawnderau hyny y cynnysgaethodd Duw ddyn â hwynt. Pa mor deg a gwerthfawr, yn ngolwg y fam hòno, oedd wynebpryd ei phlentyn yn ei gwsg esmwyth, a anwylesid gan adgofion mil o beryglon? Pa mor anmhosibl ydoedd cysgu yn y mwynhad llawn o'r fath wynfydedigrwydd! Ac eto, nid oedd gan y ddau hyn gymaint ag un erw o dir, un caban a allent ei alw yn eiddo eu hunain—yr oeddynt wedi treulio eu holl arian, yr oeddynt mor dlodion ag adar yr awyr; ac eto ni allent gysgu gan lawenydd. "O! chwychwi, y rhai a ddifeddiennwch ddyn o'i ryddid, beth a wnewch pan gyfodo Duw, a phan ymofyno efe, pa beth a atebwch iddo?"

Cauodd James y llyfr—"dyna derfyn trallodau George ac Elisa," ebe fe; "a dyna derfyn fy llith innau heno."

"Yn wir, mi ddaeth i derfyn da iawn gin ti," ebe F'Ewythr Robert; "ac mi ddaeth 'u trallode nhwthe, drien, i'r pen, ac i ben da a dedwydd iawn. Tydw ine ddim yn meddwl y medra ine gysgu llawer heno gin lywenydd. Fedra i ddim dirnad sut y gall gorthrymwyr y caethion gysgu na byta chwaith, ys ydyn nhw 'n darllen 'u hanes 'u hinen yn y llyfr ene; a gwel'd 'u bod nhw 'n cael 'u dynoethi wel hyn o flaen y byd. Fynwn i ddim ar gyfri 'n y byd fod yn lle un o honyn nhw, tase ddim ond y byd yma am dani hi byth. Bobol bach! y fath werth ydi cael byw mewn gwlad o ryddid."

"Os ydi 'r rhyddid gwladwriaethol mor werthfawr, beth a raid fod gwerth rhyddid ysbrydol?" ebe Modryb Elin. "Y rhyddid â'r hwn y mae y Mab yn rhyddhau—rhyddid gogoneddus plant Duw—tragywyddol ryddhad:—

'Rhyddad oddiwrth euogrwydd
Rhyddhad o ofnau 'r bedd;
A chariad wedi 'i wreiddio,
Ar sail trag'wyddol hedd.'"

"Peth rhyfedd ydi, fel y mae defod a theimlad yn dallu phlant dynion," ebe Dafydd. Y mae 'r bobl sydd yn dal

blaen), lawer o honynt, ar y gweithwyr a'r tlodion, fel bodau israddol, rywbeth yn debyg fel yr edrycha llawer yn America ar yr hil Affricanaidd. Bron na thybiant, ac na ddywedant, a dywedodd ambell un hefyd, mai creaduriaid yw y gweithwyr a'r llafurwyr er eu mwyn hwy—y dosbarth pendefigaidd. Y maent yn cael eu meithrin yn y dyb hono trwy y parch a delir i gyfoeth, a phomp, a rhwysg. Y mae y pethau hyn yn safon parch ac anrhydedd, ac felly yn cael y lle a ddylai diwydrwydd, defnyddioldeb, galluoedd, athrylith, a rhinweddau moesol gael. Y mae y pethau hyny sydd yn wir werthfawr dan anfantais fawr i weithio eu ffordd ymlaen yn y byd:—gan mai arian a chyfoeth ydyw safon bri ac anrhydedd, at ennill arian a chyfoeth y tueddir meddyliau dynion yn benaf; gan mai hyny sy'n cyfansoddi gŵr mawr yn ngolwg cymdeithas, mawr yw yr ymdrech i ymgyrhaedd am danynt, cam neu gymhwys. Os bydd y dyn yn berchen llawer o aur ac arian, neu diroedd, cyfrifir ef yn Solomon mewn doethineb, pe byddai ond yr ynfytyn penaf yn y fro, fel y canodd yr hen fardd:—

'Ti ŵr gwan taw a'r gwir,
Arian da a wrandewir.'

Yr wyf fi am barchu boneddigion yn gystal a neb, ond fy mod yn dadleu mai gwerth a defnyddioldeb dyn, ac nid ei feddiannau, a ddylai fod y peth i edrych ato wrth dalu parch; a gadael sefyllfa, gradd, a chyfoeth, i fod yn rhyw ail bethau, o leiaf, yn y mater; fel y byddo i syniad cymdeithas fod yn annogaethol i gydymdrech gyffredinol am ragori mewn rhinwedd. Meddyliwch yn awr, fe gaiff dyn o sefyllfa isel weithio ei hunan allan i wasanaethu ei wlad a'i genedl heb na thâl na diolch; ni wel neb mohono, caiff ymboeni â'r byd a'i ofalon, heb neb yn ystyried nac yn meddwl am dano. Y mae tlodi athrylith yn y wlad hon wedi bod yn ddiareb. Cafodd y dynion a wasanaethodd eu gwlad yn y peth gwerthfawrocaf a fedd, sef ei llenyddiaeth, lawer o honynt, eu gadael i ymladd âg anghen a thlodi am eu hoes. Gwnaeth eraill eu miloedd o elw ar ffrwyth eu llafur hwy, a hwythau yn cael eu gadael mewn prinder ac eisieu. Ond pe byddai i ŵr mawr—pendefig—wneyd rhyw ychydig o wasanaeth, cenir ei glod trwy yr holl wlad, anrhegir ef â llestri aur ac arian, ac adeiledir colofnau uchel i'w anrhydeddu. Anrhydeddir a gwobrwyir ef fel hyn, nid yn gymaint ar gyfrif ei wasanaeth ag ar gyfrif ei radd a'i fonedd. 'Ni ddylai y pethau hyn fod felly.'"

"Felly y maent wedi bod er dyddiau Solomon hyd yma. Yr oedd ef wedi sylwi ar y peth, a gwneyd sylw neillduol o hono," ebe Modryb Elin; "dyma fel y dywed, 'Hefyd y doethineb hwn a welais i dan haul, ac sydd fawr genyf fi. Yr oedd dinas fechan, ac ynddi ychydig wŷr, a brenin mawr a ddaeth yn ei herbyn hi, ac a'i hamgylchynodd, ac a gododd glawdd uchel yn

ei herbyn; a chafwyd ynddi ŵr tlawd doeth, ac efe a waredodd y ddinas hòno â'i ddoethineb; eto ni chofiodd neb y gŵr tlawd hwnw. Yna y dywedais, Gwell yw doethineb na nerth; er hyny dirmygir doethineb y tlawd, ac ni wrandewir ar ei eiriau ef.'"

"Wel, yn wir, James," ebe F'Ewythr Robert, "'rydw i yn meddwl y gnaet ti 'reithiwr go dda, tae ti yn dechre arni hi; chlowes i 'rioed monot ti 'n 'mhollwn iddi hi wel ene o'r blaen; go ddistaw oeddet ti o hyd, ond 'ninig deydyd hanes y llyfr i ni. Gloweist ti 'rioed siwn beth a Neli efo Solomon, mewn difri? tase fo yn fyw 'rŵan, mi fase hon yn myn'd ato fo i 'thafoedd y ddaear, wel yr hen frenines hòno, 'n ddigon siwr. Ond stori bwrpasol ryfeddol oedd stori 'r dyn tlawd yn gwaredu y ddinas bach hono. Iä, ac ni chofiodd neb mo'r dyn tlawd hwnw—piti garw! tase fo'n 'sgweiar, neu syr, neu 'n *lord*, mi fasen 'n i gofio fo, ac yn rhoid llestri arian iddo fo, a mi fase hollt byrdyddion a chrach byrdyddion y dre 'n canu 'i glod o, a mi fase 'r llywodreth yn i wobrwyo fo. Ond 'diystyrir doethineb y tlawd,' druan!"

"Ië," ebe Dafydd, "'Y tlawd a gaseir, ïe, gan ei gymydog ei hun; ond llawer fydd yn caru 'r cyfoethog.'"

"Pwy ddeydodd wel ene, Dafydd!" ebe F'Ewythr Robert.

"Solomon ddywedodd hyn yna hefyd," ebe Dafydd.

"Wel, 'n wir, mae Solomon chwedi deyd pobpeth agos," ebe F'Ewythr Robert; "'doedd o 'n meddwl gadel dim byd i neb i'w ddeydyd ar 'i ol o, 'ddyliwn i."

"Hwyrach tae ni 'n edrych i'r byd crefyddol," ebe Dafydd, y gwelen ni lawer o'r ysbryd yr oedden ni 'n son am dano 'n gweithio—*ysbryd y'n sect ni,—'n pobol ni,—'n pregethwyr ni.* Y mae llawer yn mysg y gwahanol sectie hwrach, yn debig i ymbell ffarmwr: tae ar 'i law o i allu rhwystro, ni chae 'r haul dwnu, na 'r cwmwl wlawio ar feusydd 'i gym'dogion: tae nhwthe 'n cael 'u pwrpas, ni chae dyferyn o'r gwlaw graslon ddisgyn ar un sect, ond 'u sect nhw 'u hunen. Y mae llwyddiant rhw sect arall yn fwy o boen nag ydi o lawenydd iddun nhw; mi ellwch ddyall hyny wrth dôn siarad amal un."

"'Roedden ni wedi bod yn sôn am rywbeth tebig ryw noson o'r blaen yma," ebe Modryb Elin. "Y mae yn fwy o gywilydd ac o bechod i Grist'nogion yr oes yma fod felly, nag oedd i'r dysgyblion gynt; mae eu hanes nhw gynthon ni i'n dysgu. Ni fynen nhw i'r efengyl wlawio ar dir y cenedloedd yn y dechre; ond pan ddaru iddyn nhw ddeall fod Duw yn Dduw i'r cenedloedd hefyd, ac nad oedd o yn dderbyniwr wyneb, ond mai y rhai oedd yn ei ofni ef ac yn gweithredu cyfiawnder oedd yn gymeradwy, toddodd eu rhagfarn ymaith yn union. 'Pwy oeddwn i, i allu lluddias Duw?' meddai Pedr; 'Fe roddes Duw i'r cenedloedd

hefyd edifeirwch i fywyd,' meddai y lleill. Ydych chwi'n cofio am y tro hwnw y dywedodd Iago a Ioan wrth ein Iachawdwr, iddyn nhw weled rhyw un yn bwrw allan gythreuliaid yn ei enw ef, ac iddynt hwythe ei wahardd—'Am nad yw yn canlyn gyda ni,' ebe nhw. 'Na waherddwch iddo,' ebe eu Meistr. Y mae'r Meistr yn anfeidrol fwy, ac yn anfeidrol well na'i ddysgyblion, erioed a byth. Mae 'r culni sectaidd yma yn beth cas, diflas iawn; lle bynag y byddo fo, *y ni*, *y ni*, *a ni*, o hyd; fydd dim o hono fo yn y nefoedd, nid ä y fath bryf diffaeth aflan a fo ddim i mewn yno. Mi fu 'm iyn llawn iawn o hono er's talwm, ac yr oedd-wn i mor ffol a meddwl mai peth da iawn oedd o; yr oeddwn i yn meddwl mai ein pobol ni oedd y wir eglwys, ac nid neb arall, heb ystyried mai credinwyr yn Nghrist Iesu o bob plaid ac enw, a hwy yn unig, sydd yn cyfansoddi corff Crist, neu y wir eglwys. Mi glywais un proffeswr mawr yn dweyd, fod yn well ganddo wrandawyr anufudd i'r efengyl, efo 'i bobl ei hun, na chredinwyr o sect arall. Mae pregethwyr ac ysgrifenwyr wedi bod yn rhy euog o fagu culni fel hyn, mewn amser aeth heibio. Yr ydwyf fi 'rŵan, ryw sut, wedi myn'd mor gâs gen i am yr ysbryd sectol yma, ag oeddwn yn ei garu fo o'r blaen, a mi fyddaf yn darfod yn arw a'r dyn y gwelai 'r ysbryd yma ynddo fo, boed o bregethwr neu arall. Yr ydwyf yn meddwl y gallaf ganu gyda 'r hen Williams yn onest:—

"'Yn awr 'rwy 'n caru 'r seintiau, bob enwau a phob gradd;
A throstynt pe bai bosibl goddefwn bron fy lladd:
Er na b'ont yn cytuno mewn pynciau llai eu bri,
Ac na b'ont mewn tymherau yn gwbl fel myfi.

'Rwyf yn eu caru 'n hollol tu hwnt i'r moroedd maith,
Yn cofio myrdd o honynt, mewn gweddi lawer gwaith;
Yn teimlo eu doluriau, yn gruddfan tan eu loes,
A'u gwel 'd hwy fel f' aelodau yn hyfryd waed y groes.

D'yw caru 'm sect fy hunan, a'm pobl i fy hun,
Ddim yn cydredeg felly, a chariad Duw at ddyn;
Yr hwn sy 'n caru ei eiddo, o gwmpas maith y nef,
O boed i'm cariad ganlyn ei hyfryd gariad ef.

O dysg fi garu 'n anwyl, heb ragfarn, heb nacad,
Pob un ag sydd yn perthyn i'r dwyfol nefol waed;
Heb lynu wrth sect nac enw, na phynciau nag wrth ddyn;
Ond pur gyffredin gariad at seintiau Duw yn un.' "

"Rhaid i mi fyn'd adre' at y teulu acw," ebe Dafydd; "ond gadewch i ni ganu yr hen bennill hwnw, cyn i mi gychwyn:—

'Mae pawb o'r brodyr yno 'n un
Heb neb yn tynu 'n groes;
Yn moli 'r Duwdod yn y dyn,
A chofio angeu loes.' "

Wedi myned tros y pennill—

"Cenwch hwn eto Dafydd, cyn myn'd," ebe Modryb Elin:—

'Dwy 'n 'nabod dim o'r nefol le,
Gwynfyd fai 'n trigo ynddo fe,
'Rwy 'n caru pawb o fewn y wlad;
Y dymher nefol, fwyn sy fry,
Ddymunwn 'nawr fod genyf fi;
Fy nghartref ydyw tŷ fy Nhad.'"

Y mae Dafydd yn gantor mwynaidd dros ben, ac yn flaenor y gân yn y capel y perthyna iddo. Y mae F'Ewythr Robert hefyd yn neillduol o hoff o glywed canu da.

"Rhaid i ti ganu cân dda i ni rw nosweth, Dafydd," ebe yr hen ŵr; "mi fydda i 'n leicio dy glowed di 'n canu 'n arw iawn. Oes gin ti 'r un gân i'r caethion a'u gorthrymwrs?—gâd i ni gael hòno, os oes."

"Oes, y mae hen gân o waith Mr. Samuel Roberts, o Lanbrynmair; mi genis lawer arni flynydde 'n ol; 'rydw i wedi 'i hanghofio hi 'rwan, ond y mae hi gin i mewn rhw lyfr bach yn tŷ acw 'n rhwle—mi chwilia i am dani hi."

"Ië, gna dithe."

Ar hyn, ymadawodd Dafydd a James Harris.

"Pe cawsai 'r hen ŵr yna fanteision addysg yn ei ieuenctid, fe wnaethai ddyn galluog a defnyddiol," ebe James Harris wrth Dafydd, wedi iddynt fyned allan i'r ffordd.

"Gwnaethe 'n ddiammheu," ebe Dafydd; "ond y mae eisie tynu 'r oge fawr trosto fo, mae o 'n o arw, rwsut. Y mae Modryb Elin yn llyfnhau llawer arno fo hefyd, tae hi nes; hen wraig grefyddol iawn ydi hi."

"O! ïe," ebe James; "mae hi 'n bur gydnabyddus â'r Beibl, a gwaith Williams, o Bant-y-celyn, a gwaith Gurnal, a rhai felly; ac y mae hi 'n cofio ac yn deall y pethau y mae hi wedi ddarllen, yn bur dda; ac nid hen ŵr anwybodus ydyw yntau chwaith, er ei fod heb fedru darllen. Mae hi wedi darllen llawer iddo fo, ac yntau wedi sylwi 'n bur graff ar bobpeth a glywodd o."

---

## NOSON XVIII.

"Ho! dyma Marged chwedi dwad heb Tomos heno, os cawson ni Tomos heb Marged neithiwr," ebe F'Ewythr Robert.

"Ië," ebe Mrs. Harris, "y mae Tomos wedi myned oddicartref ar dipyn o neges y prydnawn yma; fe allai y geilw heibio yma yn y man."

"Beth sydd i ddwad o'r 'Caban' heno, James?" gofynai yr hen ŵr. "'Rydan ni chwedi cael llawer iawn o gyfoeth o hono fo; mae o'n dal ati hi yn dda iawn, a gobeithio 'rydw i y deil o'n hir iawn eto; y cawn ni ddigon o waith hefo fo tan Wyl Fair

beth bynag. Gore i gid os deil o tan Wyl Ddewi; os wyt ti chwedi peidio pigo 'r pethe gore o hono fo."

"Mae rhai o'r hanesion mwyaf trist heb eu hadrodd i chwi eto," ebe James; "ond yr wyf yn meddwl adrodd i chwi, heno, ychydig ychwaneg o hanes eich cares Marie St. Clare."

"Wel, rhaid i ni gymryd y da a'r drwg; cheir mo 'r melus heb y chwerw; onte 'does arna i ddim llawer o awydd i glowed chwaneg am yr hen gares hono," ebe F'Ewythr Robert; "ond mi fedrwn wrando faint fynet ti ar hanes yr eneth ne 'r 'ngyles bach anwyl hono: nwn i sut y ganwyd peth mor lan allan o beth mor aflan, ag oedd i mham i, os oedd hi 'n fam iddi hefyd."

"Mi fydd peth o hanes y lodes fach yn dyfod allan wrth i ni son am y fam," ebe James.

"Ho, o'r gore! mi gawn dipin o siwgwr felly, i helpio i ni lyncu 'r bilsen chwerw," ebe F'Ewythr Robert.

Ryw foreu yn fuan wedi i St. Clare a'i ferch bach ddychwelyd adref gyda Miss Ophelia, a F'Ewythr Tomos; fel yr eisteddai y teulu o amgylch y bwrdd ar foreubryd—

"Yn awr, Marie," ebe St. Clare, "y mae eich dyddiau euraidd yn gwawrio. Dyma eich cares ofalus, ddarbodus hon, o Loegr Newydd, i gymeryd baich yr holl ofalon oddiar eich ysgwyddau, fel y caffoch hamdden i ymadnewyddu, a dyfod yn ieuanc a phrydferth yn eich ol eto. Gwell i chwi fyned drwy y seremoni o roddi i fyny yr agoriadau ar unwaith."

"Yn wir y mae iddi groesaw o honynt," ebe Marie. "Hi a gaiff allan un peth, mi a'i gwarantaf hi, os cymer hi ofal y tŷ; hyny ydyw, mai ni y meistresi ydyw y caethion i lawr yma."

"O! sicr iawn; a chenfydd wmbreth o wirioneddau iachusol heblaw hyny, yn ddiammheu," ebe St. Clare.

"Son ein bod yn cadw caethion, fel pe byddem yn gwneyd y peth er mwyn ein cyfleusdra ein hunain," ebe Marie; "yr wyf i 'n sicr pe byddem yn golygu hyny, y gallem adael iddynt fyned ymaith oll ar unwaith."

Sefydlai Evangeline ei llygaid mawrion difrifddwys ar ei mam, gyda dynodiant dwys a phryderus, ac ebe hi, "I ba beth yr ydych yn eu cadw, mamma?"

"Ni wn i ddim yn wir, oddigerth i fod yn bla arnom; hwynthwy ydyw pla fy mywyd i. Yr wyf yn sicr fod mwy o'm hafiechyd i yn cael ei achosi ganddynt hwy na dim un peth arall; a'n rhai ni, mi a wn, ydyw y rhai gwaethaf a fu yn bla ar neb erioed."

"Dowch, dowch, Marie, yr ydych wedi cael y *blues* y boreu heddyw," ebe St. Clare; "chwi a wyddoch nad felly y mae yn bod;—dyna Mamy, y creadur goreu yn fyw, beth a wnaech chwi hebddi?"

"Iä, wedi cael y *bliws*, y bore hwnw," ebe F'Ewythr Robert;

"mi 'roedd y *bliws* arni hi 'rioed—beth bynag ydi 'rheini, ond mi fyddyliwn mai rhwbethe ofnadwy iawn ydyn nhw; un ffit iawn i'w danwon hefo 'r cybyddion at Pharo Neco oedd hi, beth bynag. Beth ddeydodd hi am y Mamy hòno ?"

"Mamy ydyw yr oreu a adnabum i erioed," ebe hi; "ond eto, mae hithau yn awr yn hunanol—arswydus hunanol. Dyna wall yr holl epil."

"Gwall arswydus ydyw hunanoldeb," ebe St. Clare, yn sobr.

"Iä 'n wir, yr oedd gyntho fo achos i fod yn sobor, druan o hono fo," ebe F'Ewythr Robert. "Mi 'roedd yn chwerw brofiadol o wirionedd y peth oedd o'n ddeyd; ac ergyd i'r wraig hunanol oedd gyntho fo, oedd y gair ene, mi fyddyliwn, tase hi 'n ddigon call i ddyallt hyny. Ond mi 'roedd hi yn rhy hunanol i w'bod 'i bod hi 'n hunanol."

"Sylw da iawn oedd hwnyna, F'Fwythr Robert," ebe James —"'Yn rhy hunanol i wybod 'i *bod* hi 'n hunanol.' Nid yw y dyn gwir hunanol byth yn gweled ei hun felly, ond y mae pawb arall yn ei weled, ac yn ei gasâu hefyd; tra y mae efe ei hun yn meddwl mai efe yw yr unig ddyn gostyngedig a hunanymwadol yn y wlad."

"'Gŵr doeth yn ei olwg ei hun' ydyw ef," ebe Modryb Elin, "a dywed Solomon mai "gwell yw y gobaith am y ffol nac am dano ef."

"Hene ! dene Solomon ar wàr hwnyne eto !" ebe F'Ewythr Robert. Mi gnei di ni 'n Solomons bod yg un o'r diwedd, debic cin i. Ond be ddeydodd 'r hunanoles hòno wed'yn ?"

"Wel, yn awr, dyna Mamy," ebe hi; "yr wyf yn meddwl ei fod yn beth hunanol iawn ynddi hi i gysgu mor drwm yn y nos; hi a ŵyr o'r goreu bod arnaf eisieu rhywbeth neu gilydd bob awr ymron, pan fyddo fy anhwylderau arnaf; ac y mae mor anhawdd ei deffro hi—yr wyf yn waeth o lawer y boreu heddyw o achos y boen a gefais i'w deffro hi neithiwr."

"Ai ni ddarfu iddi eistedd i fyny gyda chwi lawer o nosweithiau yn ddiweddar, mamma ?" ebe Efa.

"Pa fodd y gwyddoch chwi hyny ?" ebe Marie, yn llym ; "hi a fu yn cwyno wrthych, mi feddyliwn."

"Naddo yn wir ; ni wnaeth ond dywedyd i mi y fath nosweithiau blinion a gawsoch chwi, y naill ar ol y llall."

"Paham na allai Jane neu Rosa gymeryd ei lle am noswaith neu ddwy ?" ebe St. Clare, "a gadael iddi hithau orphwyso."

"Sut y gallech chwi gynnyg y fath beth ?" ebe Marie. "St. Clare, yr ydych yn wir ddideimlad. Yr wyf mor wanaidd, fel y mae y peth lleiaf yn fy nghythryblu, a byddai rhyw law ddyeithr o'm cwmpas yn ddigon i'm gyru yn wallgof; a phe byddai Mammi yn teimlo trosof fel y dylai, byddai yn haws ei deffro— yn wir mi fyddai. Clywais am bobl a gawsent y fath weinidog-

ion ffyddlawn a gofalus, ond ni bûm i erioed mor ffortunus:" a chyda hyn, ocheneidiai yn ddwys.

"Och o fine!" ebe F'Ewythr Robert; "fedra i ddim diodde' hanes y ddynes ene; mi 'rydw i 'n teimlo wel tae nhraed i 'n ysu ac yn llosgi am 'i chael hi i gyredd cic; mi fydde 'n bleser, chwedel Tomos, i roid cic i un wel nene."

"'Rydwyf finnau braidd yn ildio i chwi efo 'r ddynes yna," ebe Modryb Elin, "er na leiciwn i ddim i *chwi* 'neyd y fath beth chwaith. Mae rhyw fath o bobol i'w cael yn y byd yma, sy'n gofyn triniaeth na feder dynion da mo'i rhoi hi iddyn nhw. 'Gosod dithau un annuwiol arno ef,' ebe y Salmydd, unwaith, wrth son am rywun mwy annyoddefol na'r cyffredin, fel pe buase fo 'n gweled y buase dyn da yn rhy dda ac yn rhy dyner i'w drin o fel yr haedde; ond mi fuase 'n bleser gan ambell un annuwiol gael gwneyd. Y mae yr annuwiol, weithiau, yn cael ei ddefnyddio fel gwialen a chleddyf yn llaw yr Arglwydd i geryddu a chosbi 'r lleill; ond mae 'n ddrwg iawn gen i feddwl y'ch bod chwi, Rhobet, yn un o'r rhei'ny."

"Rhaid i chi ofidio dim am hyny, modryb," ebe Cati. "Mae f'ewyrth yn rhy feddalgalon o'r hanner—siarad ydi 'r cwbwl; mi fu 'n bwgwth y nghicio i lawer tro, a mae o heb ddechre eto; mi fu'n ceisio gneyd mosiwn droie, a ddaru mi 'rioed geisio rhedeg 'ddiar 'i ffordd o; cicio 'r gwynt bydde fo 'n wastad, mi fydde arno ofn i'w droed ddwad o fewn trodfedd ata i. Glywsoch chi fel 'roedd o 'n son am fyn'd i ryfela rw nosweth yma, a saethu pobol efo *shots* yn 'u coese oedd o am neyd—dene 'i hollt ryfela fo i gid."

"Mi na i i Jacki roid darlith arnat ti," ebe yr hen ŵr, "a mi ä ine 'n gydeirydd iddo fo. Oes gin ti chwaneg o hanes y ddynes ene, James; mi 'rydw i 'n meddwl 'rŵan y daw hanes nene â Neli i'r un farn a fi bob yn dipin—mae hi 'n dechre stwytho."

"Oes," ebe James. "Y mae genyf gryn lawer i'w ddywedyd am dani hi, os byddwch yn dewis ei glywed—hanes digon diflas ydyw, fel y gwyddoch."

"Y mae rhyw fath o ddaioni yn Mamy 'n siwr," meddai Marie. "Y mae yn dyner ac yn barchus o honof, ond y mae yn hunanol o galon. Ni thawa hi byth a chwyno a son am y gŵr hwnw sydd ganddi hi. Yr ydych yn gweled," ebe hi wrth Miss Ophelia, "pan briodais i, a dyfod i lawr yma i fyw, mi a'i cymerais hi gyda mi, ac ni allai fy nhad hebgor ei gŵr. Gôf ydoedd, ac yr oedd ei wasanaeth yn anghenrheidiol gartref. Yr oeddwn yn meddwl yr amser hono, a mi a ddywedais hyny hefyd, y buasai yn well i Mamy ac yntau ymadael â'u gilydd, gan na byddai yn gyfleus iddynt allu byw gyda'u gilydd mwyach. Buasai yn dda genyf erbyn hyn, pe buaswn wedi rhoi gorfod iddi wneyd felly, a gwneyd i Mamy briodi rhywun arall; ond yr

oeddwn yn ffol a goddefgar, ac ni wasgais arnynt. Mi a ddywedais wrth Mamy ar y pryd, nad oedd wiw iddi ddysgwyl ei weled fwy nag unwaith neu ddwy yn ei bywyd; oblegyd nid yw awyr bro gartrefol fy nhad yn cytuno â mi, ac ni allaf fyned yno; a chynghorais hi i gymeryd i fyny â rhywun arall yn ŵr iddi; ond, na, ni wnai hi ddim. Y mae ystyfnigrwydd yn Mamy na all pawb mo'i weled fel yr wyf fi."

"A oes ganddi blant?" gofynai Miss Ophelia.

"Oes, y mae ganddi ddau."

"Y mae yn debyg ei bod yn teimlo o herwydd ei hysgariaeth oddiwrthynt."

"Wel, wrth reswm, ni allaswn i eu cymeryd yma gyda hi; yr oeddynt yn bethau bychain budron—nid allwn i mo'u dioddef hwy o'm cwmpas; ac heblaw hyny, cymerasent ormod o'i hamser; ond yr wyf yn coelio bod Mamy, bob amser, yn teimlo'n siomedig am hyn. Ni fyn ymbriodi â neb arall; ac yr wyf yn credu yn fy nghalon yn awr, er ei bod hi 'n gwybod pa mor anghenrheidiol ydyw ei gwasanaeth i mi, ac mor wanaidd ydyw fy iechyd, yr elai hi adref at ei gŵr yfory nesaf, pe gallai. Ydwyf, yn wir," meddai hi drachefn. "Y maent mor hunanol a hyny yrŵan, y goreu o honynt."

"Y mae o 'n beth galarus i feddwl am dano," ebe St. Clare, yn sychlyd.

"Sant, yn sicir!" ebe F'Ewythr Robert; "rhw sant anffortunus embydus oedd o; mi d'rawodd wrth rw sort o satanes o wraig fwya annoddefol glowodd y nghlustie i 'rioed son am dani hi—'mbell y bo 'i hanes hi."

Edrychai Miss Ophelia yn graff ar ei chefnder, a gwelai wrid anfoddlonrwydd yn codi i'w wyneb; braidd y gallai attal ei deimladau rhag ymdori allan. Crychai ei wefusau fel y llefarai.

"Y mae Mamy wedi bod yn cael ei llochi genyf bob amser," ychwanegai Marie. "Mi a chwennychwn i rai o'ch gweinidogion chwi yn y gogledd acw weled ei stôr o ddilladau, yn sidanau a *muslins*, ac un o lian camrig sydd ganddi yn crogi yna. Mi a fum wrthi yn gweithio rai prydnawniau cyfain—rai gweithiau yn trimio ei chapiau, ac yn ei gwneyd yn barod i fyned i gwmni. Ac am driniaeth galed, ni wybu erioed beth ydyw; ni chafodd ei fflangellu ond unwaith neu ddwy yn ei bywyd. Y mae yn cael ei thê a'i choffi cryf, a siwgr gwyn ynddo, bob dydd. Y mae hyny yn wrthun o beth yn sicr, ond fe fyna St. Clare iddynt gael bywioliaeth dda yn y gegin; ac y maent yn cael, bob un o honynt, bob peth fel yr ewyllysiant. Y gwir yw, y mae ein gweinidogion ni yn cael byd rhy dda. Y mae yn debyg genyf mai ein bai ni, mewn rhan, ydyw eu bod mor hunanol. Ond yr wyf wedi siarad â St. Clare ar y mater nes wyf wedi blino."

"A finnau hefyd," ebe St. Clare, gan gymeryd newyddiadur yn ei law i'w ddarllen.

Safai Efa bach, gan wrandaw ar ei mam, gyda'r prudd-ddwysder nodedig hwnw ag oedd mor hynod ynddi; rhodiai yn araf at gader ei mam, a dodai ei dwylaw am ei gwddf.

"Wel, Efa, beth sydd yrŵan?" ebe Marie.

"Mamma, ai ni allwn i gymeryd eich gofol am un noswaith —dim ond un? mi a wn na wnawn i mo honoch yn *nerfus*, ac ni chysgwn i ddim chwaith; mi fyddaf yn gorwedd yn effro trwy'r nos yn aml, yn myfyrio."

"*Nonsens*, blentyn, *nonsens!*" ebe Marie. "Yr ydych yn blentyn rhyfedd!"

"Ond a gaf, Mamma," ebe Efa; "yr wyf yn meddwl nad yw Mamy ddim yn iach; clywais hi yn cwyno gan gur yn ei phen yn ddiweddar."

"O mae hyny yn bur debyg i gastiau Mamy. Y mae hi yn ddigon tebyg i'r lleill o honynt; cadw digon o swn ynghylch pob tipyn bach o waew yn y pen neu yn y bys; ni wna hi mo'r tro byth i'w swcro nhw. Yr wyf fi 'n egwyddorol yn y mater hwn," ebe hi, gan droi at Miss Ophelia; "a chwi gewch weled yr anghenrheidrwydd o'r peth. Os swcrwch eich gweinidogion i roi 'r ffordd i bob anghyfleusdra bychan ac achwynion dibwys, chwi a gewch eich dwylaw yn llawnion o hyd. Ni byddaf fi byth yn cwyno dim fy hun; nid oes neb a ŵyr faint wyf fi 'n ddyoddef. Yr wyf yn ei hystyried yn ddyledswydd arnaf i ddyoddef yn ddystaw, ac felly yr wyf yn gwneyd."

"Wel taw, da James," ebe F'Ewythr Robert; "'does dim posib i gig a gwaed allud dal a diodde i wrando hanes, y beth y galwa i hi ———. 'Toes run henw digon brwnt i'w roid arni hi."

"Wel, ni waeth i mi dewi am a wn i," ebe James; "a pheidio a myned tros yr holl hanes yn fanwl, fel y mae ar lawr yn y llyfr yma. Wnaech chwi ddim ond gwylltio yn waeth-waeth wrth ei glywed o. Buant wrthi yn hir iawn, Marie yn gyru ymlaen i ladd ar ei gŵr, ac ar y gweinidogion, ar Efa bach, ac ar bawb, ac ar bobpeth; a chwyno iddi ei hun gymaint oedd hi yn orfod ddyoddef oddiwrthynt oll, ac mor dawel a dirwgnach ydoedd yn wyneb y cwbl. Synai yn fawr, at bawb o'i hamgylch, mor hunanol, dideimlad, ac anystyriol oeddynt, ac yn fwy na dim ati ei hun, mor dawel, diddig, a dyoddefgar ydoedd o dan ei chroesau trymion.

Wedi i St. Clare droi ei gefn, ailadroddai ei holl dywydd wrth Miss Ophelia. Rhoddai iddi ddarlith ddoniol iawn ar y testunau hyny. Achwynai yn drwm iawn ar ei gŵr, o herwydd ei dynerwch tuag at y caethweision, a'i ddideimladrwydd tuag ati hithau. Ni buasai yn synu cymaint ato, pe buasai hi, fel llawer gwraig, yn un geintachlyd anniddig; buasai yn haws ganddi faddeu a

phasio heibio iddo, pe buasai hi erioed wedi dangos tymher ac ysbryd felly. Gwrandawai Miss Ophelia arni yn ddystaw, ond yr oedd tân eiddigedd yn llosgi o'i mewn. Ceisiai Marie ei thynu allan i redeg yr un ffordd a hi; ond gwaith caled iawn oedd iddi ymattal heb droi arni. Cymerai waith gwnïo yn ei dwylaw, a phwythai arni o ddifrif; clymai ei gwefusau a gwasgai ei dannedd at eu gilydd, i gadw yr hylif, oedd yn ymgrynhoi yn ei mynwes, rhag rhedeg allan.

Fel yr oedd yn gyru arni i drin y caethion, a St. Clare am eu swcro—

"Ai nid ydych yn credu bod yr Arglwydd wedi eu gwneuthur hwy o'r un gwaed a ninnau?" gofynai Miss Ophelia.

"Nag wyf yn wir—nag wyf fi—stori wych iawn yn wir—eppil ddiraddiol ydynt," ebe Marie.

"Ai nid ydych yn meddwl fod ganddynt eneidiau anfarwol?" ebe Miss Ophelia, mewn tôn gyffröus gan anfoddlonrwydd.

"O, wel," ebe Marie, gan ddylyfu gên, "'does neb yn ammheu hyny! Ond am eu gosod mewn un math o gydraddoldeb â ni, wyddoch, fel pe gellid eu cymharu i'n gilydd, y mae yn beth anmhosibl. Bu St. Clare yn dweyd rhywbeth felly wrthyf fi, fel pe buasai cadw Mamy oddiwrth ei gŵr yr un peth ag a fuasai gwneyd hyny â fi. Nid oes dim cymharu i fod yn y ffordd hon. Ni all fod gan Mamy deimladau fel sy genyf fi; y mae yn beth hollol wahanol—rhaid ei fod—ac eto y mae St. Clare yn cymeryd arno, nad yw yn gweled y peth, fel pe gallai Mamy garu ei phlant bychain budron, fel yr wyf fi yn caru Efa! Eto i gyd, mi fu St. Clare, o ddifrif calon, unwaith, yn ceisio fy mherswadio i mai fy nyledswydd fuasai gadael i Mamy fyned at ei gŵr a'i phlant, a chymeryd rhywun arall yn ei lle, er fy holl waeledd, a'r cwbl wyf yn ddyoddef. Yr oedd hyny yn ormod hyd yn nod *i mi* allu ei oddef. Anaml y byddaf yn amlygu fy nheimladau. Yr wyf wedi ei gwneyd yn egwyddor i oddef pobpeth yn ddystaw; rhan galed gwraig ydyw, ac yr wyf yn ei dwyn. Ond mi a dorais allan y tro hwnw, fel na soniodd wrthyf byth drachefn am y peth; ond mi a wn o'r goreu, wrth ei olygon, ac oddiwrth ei eiriau yn awr ac eilwaith, ei fod yn meddwl hyny yn gymaint ag erioed; ac y mae hyny mor gas ac annyoddefol!"

Achwynai wedi hyny yn dost, na oddefai St. Clare byth i'r gweinidogion gael eu hanfon i'r *calaboos*, sef y ffangelldŷ.

"Y mae ganddynt swyddfa o bwrpas at y gorchwyl mewn rhai manau yno—lle i ffangellu, ac un wrth ei swydd dan gyflog i wneyd y gwaith—a bydd meistriaid y caethion yn eu hanfon yno, fel myned a cheffylau i'r efail i'w pedoli, pan fyddant yn teimlo y gynddaredd yn codi tuag atynt oddiar ryw achlysur. A chwsmeres ragorol i'r chwipiwr a wnaethai Mrs. Marie, yr ydych yn gweled," ebe James; "buasai rhai o'i gweinidogion

hi yn y siop hòno bob dydd, y mae yn debygol, pe cawsai ei hewyllys; ond attaliai St. Clare ei chynddaredd; safai rhwng y trueiniaid a'r *calaboos*, fel na chaffai hi ei hewyllys yn y peth hwnw."

"Tase fo 'n i danwon hi i'r *clabws* am unweth, mi naethe dro da iawn," ebe F'Ewythr Robert, "i ydrach sut y base hi yn licio 'r drinieth. Ond mi feddyliwn nat oedd hi ddim yn medrud cael 'i ffordd ymhob peth chwaith."

"O, nac oedd," ebe James. "Yr oedd St. Clare yn ddigon o ddyn, ar rai achlysuron: pan fyddai o ddifrif, byddai un edrychiad digofus o'i eiddo, yn ddigon i beri arswyd ar bawb yn y lle. Addefai Marie, wrth Miss Ophelia, y byddai troad ei lygad, ambell dro, yn ei delwi. Ychydig a ddywedai, ac ychydig oedd eisieu iddo ei ddywedyd; canys llefarai ei wynebpryd a'i lygad yn ddigon effeithiol heb eiriau."

Pan oedd Marie yn gyru ymlaen ar ei phwnc er addysg Miss Ophelia, daeth St. Clare i mewn:—

"Yr hen dôn fyth," ebe ef—"Y fath gyfrif ofnadwy fydd gan y creaduriaid hyn (y gweinidogion) i'w roddi yn y diwedd, yn enwedig am eu diogi. Yr ydych yn gweled, fy nghares," ebe efe, gan ymestyn ar ei lwth, "y mae yn beth hollol anesgusodol ynddynt yn ngoleuni yr esiampl wyf fi a Marie yn ei rhoddi o'u blaen—y diogi yma."

"Dowch yn awr, St. Clare, yr ydych yn rhy ddrwg," ebe Marie.

"A ydwyf yn wir? yr oeddwn yn meddwl fy mod yn siarad yn dda, yn dda iawn, ac ystyried pwy ydwyf. Byddaf yn ceisio cadarnhau eich sylwadau chwi, Marie, bob amser."

"Gwyddoch yn dda nad oeddych yn amcanu dim o'r fath beth, St. Clare," ebe Marie.

"O, rhaid fy mod yn camgymeryd ynte. Diolch i chwi fy anwylyd am ddangos i mi fy nghamsyniad."

"Yr ydych yn penderfynu bod yn drahaus," ebe Marie.

"O, dowch, Marie, y mae y dydd yn wresog, ac yr wyf newydd gael ymryson caled âg Adolph; ac yr wyf wedi blino yn fawr. Yr wyf yn erfyn arnoch fod yn siriol, a chaniatau i mi gael gorphwyso yn ngoleuni eich gwenau."

"Beth yw y mater ar Dolph?" ebe Marie. Y mae taeogrwydd y gwesyn yna wedi dyfod i bwynt sydd yn annyoddefol genyf fi. Mi a ddymunwn gael fy ffordd fy huu i'w drin ef, am dro; mi a'i tynwn o i lawr yn fuan."

"Y mae y peth ydych yn ddweyd," f'anwylyd, "yn dwyn argraff eich craffder a'ch callineb arferol," ebe St. Clare. "Gyda golwg ar Dolph, y peth ydyw hyn; ei fod wedi bod wrthi hi cyhyd yn dynwared ei feistr, fel o'r diwedd y mae wedi camgymeryd ei hunan yn lle ei feistr; a bu raid i mi roddi ychydig o oleuni i ddangos iddo ei gamsyniad."

"Pa fodd?" ebe Marie.

"Wel, mi a roddais ar ddeall yn bendant iddo, fy mod yn dewis peth o'm dillad at fy ngwasanaeth fy hunan; a mi a roddais ei anrhydedd ar ei ddogn benodol o ddwfr *Cologne:* ac mi a fum mor greulawn a'i dynu i lawr i un dwsin o'm napcynau camrig. Yr oedd 'Dolph yn bur anfoddog o'r achos; a bu raid i mi siarad âg ef, fel tad wrth blentyn, i'w ddwyn ato ei hun."

"O! St. Clare, pa bryd y dysgwch y ffordd i drin eich gweision? y mae y peth yn wrthun—fel yr ydych yn eu swcro" —ebe Marie.

"Wel! wedi 'r cwbl, pa niwed ydyw fod y creadur truan yn awyddus i fod fel ei feistr; ac os na ddarfu i mi ei ddwyn i fyny i ddim gwell pwrpas, nac i geisio ei ddaioni penaf mewn *Cologne* a napcynau camrig, paham na roddwn hwynt iddo?"

"Ond paham na buasech yn ei ddwyn i fyny yn well?" ebe Miss Ophelia.

"Gormod o drafferth—diogi, fy nghares, yr hwn sydd yn dinystrio mwy o eneidiau na dim arall. Oni buasai diogi, gallaswn fod yn angel fy hun. Yr wyf yn meddwl mai diogi a arferai eich Dr. Botherim chwi yn Vermont, ei alw yn 'sylwedd drwg moesol.' Ystyriaeth ofnadwy ydyw yn sicr!"

"Yr wyf yn meddwl fod cyfrifoldeb mawr arnoch chwi, gaeth-feistriaid," ebe Miss Ophelia. "Ni fynwn fod tano er mil o fydoedd. Chwi a ddylech addysgu eich caethion, a'u trin fel creaduriaid rhesymol, fel creaduriaid anfarwol y bydd raid i chwi sefyll gyda hwynt o flaen gorsedd Duw. Dyna fy meddwl i," ebe hi, gydag angerdd o deimlad ag oedd wedi bod yn croni yn ei mynwes trwy y boreu hwnw.

"O! dowch, dowch," ebe St. Clare, gan neidio i fyny, "beth a wyddoch chwi am danom ni;" ac eisteddai i lawr wrth y *piano*, a rhedai ei fysedd yn gyflym a medrus trosti. Chwareuai dôn ar ol tôn, fel un a fuasai yn ceisio peroriaeth i rinio ymaith chwerwder ei ysbryd ac aflonyddwch ei galon. Wedi gorphen, efe a gododd yn siriol, a dywedai, "Wel, fy nghares, chwi a roisoch i ni wers dda, a gwnaethoch eich dyledswydd; ar y cyfan, yr wyf yn meddwl yn well am danoch ar ei hol. Nid oes genyf un math o ammheuaeth na thaflasoch ddernyn adamantaidd o wirionedd ataf; ond iddo, fel y gwelwch, fy hitio yn uniawn ar fy wyneb, fel na ellais ei werthfawrogi yn deilwng ar y cyntaf."

"O'm rhan i, nid wyf yn gallu gweled un dyben yn y byd mewn siarad o'r fath yna," ebe Marie. "Os oes rhywrai yn gwneyd mwy o'u gweinidogion nag ydym ni yn ei wneyd, mi a garwn wybod pwy ydynt? Ond nid yw yn gwneyd mymryn o dda iddynt—dim rhithyn—y maent yn myned waeth-waeth. Am siarad â hwynt, a phobpeth felly, yr ydwyf yn sicr i mi siarad â hwy nes i mi flino a chrygu, yn dweyd eu dyledswydd iddynt a phobpeth

felly; ac mi allant fyned i'r Eglwys pan ewyllysiont, er na byddant yn deall un gair o'r bregeth, ddim mwy na moch. Felly nid yw o fawr ddyben iddynt i fyned, ond myned y byddant, ac felly y maent yn cael pob chwareu teg; ond fel y dywedais o'r blaen, eppil israddiol ydynt, ac felly y byddant hefyd; ac nid oes dim help iddynt: ni ellwch wneyd dim o honynt er ymdrechu. Yr wyf fi wedi gwneyd y prawf, Miss Ophelia, yr hyn ni wnaethoch chwi."

Tybiai Miss Ophelia ddarfod iddi ddywedyd digon, gan hyny ymattaliodd.

Tra yr oeddynt yn ymddyddan fel hyn, clywent sŵn chwerthiniad uchel o'r cyntedd—neidiai St. Clare i'r ffenestr ac edrychai allan, a thorai yntau i chwerthin.

"Beth sydd?" ebe Miss Ophelia, gan nesu ymlaen.

Yno yr eisteddai F'Ewythr Tomos, ar eisteddle fechan o fwsogl yn y cyntedd, a holl dyllau ei fotymau wedi eu llenwi â blodau, ac Efa, dan chwerthin, yn cylymu cadwyn o rosynau am ei wddf; ac yna eisteddai ar ei lin, fel aderyn y to, a chwarddai yn barhaus.

"O! Tomos, yr ydych yn edrych mor ddigrif!"

Yr oedd gwen sobr garuaidd ar wyneb Tomos; ac ymddangosai, yn ei ffordd dawel ef, fel yn mwynhau y digrifwch yn llawn cymaint a'i feistres fechan. Cododd ei olygon, pan welai ei feistr, mewn agwedd gywilyddgar ac ymesgusodol.

"Pa fodd y gellwch adael iddi?" ebe Miss Ophelia.

"Paham lai?" ebe St. Clare.

"Wel, ni wn i ddim; y mae yn ymddangos yn beth mor anmhriodol, rywsut."

"Ni feddyliech yn niwed yn y byd i blentyn lochi ci du; ond creadur a all feddwl, a rhesymu, a theimlo, ac sydd yn anfarwol, yr ydych yn echrydu rhagddo. Addefwch, fy nghares, dyna ydyw y peth. Mi a wn y teimlad sydd gan lawer o honoch chwi, y Gogleddwyr, yn dda ddigon. Nid am fod rhithyn o rinwedd yn ein bod ninnau heb fod yn gyfranogion o hono i'r un graddau; ond y mae defod ac arfer, gyda ni, yn gwneyd yr *hyn* a ddylasai Cristionogaeth ei wneuthur—dileu y teimlad o ragfarn personol. Mi a gefais achlysuron mynych i sylwi, ar fy nheithiau yn y gogledd, gymaint yn gryfach ydyw y teimlad hwn yn eich mysg chwi, nac ydyw gyda ni. Yr ydych yn casau y bobl dduon, fel y casaech neidr neu lyffant; ac eto yr ydych yn selog dros eu rhyddid a'u hiawnderau. Ni fynech iddynt gael eu baeddu; ond ni ewyllysiech fod dim a wnelech â hwy eich hunain. Chwi a'u hanfonech i Affrica, allan o'ch golwg, ac o gyrhaedd i chwi eu harogli: ac yna, anfon cenadwr neu ddau atynt, i wneyd i fyny yr holl waith hunanymwadol o'u haddysgu a'u coethi. Ai nid felly y mae 'n bod?"

"Wel, fy nghar," ebe Miss Ophelia, yn fyfyriol, "gall fod peth gwir yn yr hyn a ddywedwch."

"Beth a wnai y tlodion a'r iselradd, heb blant i'w cysuro?" ebe St. Clare, â'i bwys ar y canllawiau, ac yn edrych ar Efa yn campio, ac yn arwain Tomos gyda hi. "Ein plentyn bach yw yr unig wir *ddemocrat*. Tomos ydyw arwr Efa; y mae ei straeon ef yn rhyfeddodau yn ei golwg; y mae ei ganiadau a'i hymnau Methodistaidd yn well na 'r *opera*; a'r teganau sydd ganddo yn ei logell, fel perlau yn ei golwg; ac yntau ei hun, y Tomas rhyfeddaf erioed a wisgodd groen du. Dyma un o rosynau Eden a ollyngodd yr Arglwydd i lawr i'r tlawd a'r iselradd o bwrpas, y rhai nid ydynt yn cael nemawr i ddim un math arall o fwyniant."

"Y mae yn syndod, fy nghar, eich clywed yn siarad," ebe Miss Ophelia. "Gallai un feddwl, agos, eich bod yn broffeswr?"

"Yn broffeswr?" ebe St. Clare.

"Ië, yn broffeswr crefydd."

"Dim o'r fath beth; ddim yn broffeswr o'r fath ag fydd eich pobl yn siarad am danynt: a'r hyn sydd waeth, nid wyf yn ymarferwr o honi ychwaith, yr wyf yn ofni."

"Beth sydd yn peri i chwi siarad felly ynte? Nid oes dim yn haws na siarad," ebe St. Clare; "y mae Shakspeare, yr wyf yn meddwl, yn rhoddi yn ngenau rhyw un y geiriau hyn,—'Ni a allwn yn haws ddangos i ugain beth a ddylid wneuthur, na bod yn un o'r ugain i ddilyn a gwneyd yn ol fy nghyfarwyddyd fy hun.' Nid oes dim tebyg i ranu gwaith. Siarad a fedraf fi, a gwneyd ellwch chwithau, fy nghares."

Yr oedd sefyllfa Tomos, ar hyn o bryd, yn un esmwyth a dymunol. Yr oedd Efa bach wedi cymeryd hoffder anghyffredin tuag ato; ac yr oedd wedi erfyn ar ei thad i'w gael ef yn gydymaith iddi bob amser y byddai yn myned allan i rodio neu farchogaeth. Swydd, gallem feddwl, nad oedd yn anfoddhaol ganddo mewn un modd. Gwisgid ef â dillad da, ac nid oedd ei orchwyliaeth gyda 'r meirch, ond segur swydd—edrych ar ol gweision eraill o dano. Edrychai Tomos, yn ei wisg gotymog, yn ddigon parchus yr olwg i fod yn esgob Carthage, fel y bu dynion o'r un lliw ag ef, mewn oesau blaenorol.

Yr oedd hefyd mewn lle prydferth, yr hyn a fwynha y negro yn rhyfeddol bob amser. Yr oedd gwychder ysplenydd yr ystafelloedd, a golygfeydd y wlad oddiamgylch yn dwyn dyddordeb a difyrwch neillduol i'w feddwl.

Os bydd i Affrica byth gynnyrchu poblogaeth oleuedig a choeth—a'i thro hithau a ddaw ryw bryd, i dori ei ffugr ar chwareufwrdd mawr diwylliant dynoliaeth—ymddeffry bywyd yno gyda 'r fath orwychedd ysplenydd, na allodd calonau ein llwythau gorllewinol oerllyd erioed ddychymygu am dano. Yn

y wlad bellenig hòno o aur a gemau, a pheraroglau, a phalmwydd, a blodau rhyfeddol, a ffrwythlonrwydd toreithiog, yr ymgyfyd ffurfiau newyddion o gelfyddyd — arddulliau newyddion o wychedd—a'r hil negroaidd, heb fod mwyach yn ddirmygedig a mathredig, a arddengys, hwyrach, rai o berffeithderau uchaf y bywyd dynol. Y mae yn sicr y bydd iddynt, yn eu hynawsedd, tynerwch iselfrydig eu calonau, eu tuedd i gymeryd eu haddysgu a'u harwedd gan ddealltwriaethau uchraddol—symledd plentynaidd eu serchiadau, a'u tymher faddeugar—yn yr holl bethau hyn, arddangosant y radd uchaf o fuchedd Gristionogol; ac hwyrach, fel y mae Duw yn ceryddu y rhai y mae yn garu, ei fod wedi dewis Affrica dlawd yn mhair cystudd i'w gwneuthur y benaf a'r uchaf yn y deyrnas hòno a esyd i fyny, wedi i bob teyrnas arall a gafodd ei phrofi, fethu; "Canys yr olaf a fydd flaenaf, a'r flaenaf yn olaf."

Rhoddir wedi hyn hanes y teulu, ar foreu Sabboth, yn ymbarotoi ac yn cychwyn i'r gwasanaeth crefyddol, pan gymerodd yr ymddyddan a ganlyn le:—

"Pa le mae Efa ?" ebe Marie.

Yr oedd y plentyn wedi aros ar y grisiau, i ddweyd rhywbeth wrth Mamy.

Ond pa beth oedd Efa yn ddweyd wrth Mamy, ar y grisiau? Gwrandewch, ddarllenydd, a chwi a gewch glywed:—

"Mamy anwyl! mi a wn fod cur tost yn eich pen."

"Bendith arnoch, Miss Efa, mae cur p'raus yn y mhen i, yn dd'weddar yma."

"Wel, y mae yn llawen genyf eich bod yn myned allan; a hwdiwch"—a thaflai y fach ei breichiau am dani—"Mamy, rhaid i chwi gymeryd fy *vinaigrette* i"——

"'Potel bocet,' byddwn ni 'n galw hi, F'Ewythr Robert," ebe James.

"Pa beth! eich peth prydferth euredd chwi—a'r gemau yna—Taid—Miss, ni fydde 'n beth cymhwys mewn modd yn y byd."

"Paham hyny? y mae arnoch chwi ei heisieu, ac nid oes arnaf fi. Bydd Mama bob amser yn ei harfer rhag cur yn y pen; fe wna i chwi deimlo yn well; rhaid i chwi ei chymeryd i'm boddio i 'rwan."

"Clywch ar y beth anwyl yn siarad," ebe Mamy, fel y gwthiai Efa y gostrel i'w mynwes; yna rhedai i lawr y grisiau at ei mam.

"Beth yr oeddych yn ei gylch?" gofynai ei mam.

"Yr oeddwn wedi aros i roi fy *vinaigrette* i Mamy, i'w chymeryd gyda hi i'r Eglwys."

"Efa!" ebe Marie, mewn tymher boeth—eich *vinaigrette* aur —i Mamy! Pa bryd y dysgwch chwi ymddwyn yn weddus? Ewch yn union a chymerwch hi oddiarni."

Edrychai Efa yn bruddaidd a siomedig, a throai ymaith yn arafaidd.

"Marie, gadewch lonydd i'r plentyn," ebe St. Clare, "caiff wneyd fel y mae yn ewyllysio."

"St. Clare, pa fodd y daw hi byth ymlaen yn y byd fel hyn?" ebe Marie.

"Yr Arglwydd a ŵyr; ond hi a ä ymlaen yn y nefoedd yn well na chwi na minnau," ebe St. Clare.

"Da iawn ebe fine," ebe F'Ewythr Robert, dan rwbio 'i ddwylo. "Rhaid i ti fadde i mi am dori ar dy drawst ti, Jemi," ebe fe drachefn. "Mi rydw i chwedi bod yn ddistaw iawn es meityn byd, wyddost; ond mi 'roedd 'nanodd iawn gen i 'matal, weithie. Mae 'reneth bach ene 'n myn'd yn dybycach i 'ngyles o hyd, a'i mham hi yn dybycach i 'sprydes ddiffeth. Dos di ymlaen."

"O! tada, peidiwch, peidiwch," ebe Efa, "y mae yn gofidio mam."

"Wel, y nghar, a ydych yn barod i gychwyn i'r cyfarfod?" ebe Miss Ophelia, gan droi at St. Clare.

"Nid wyf fi am fyned, diolch i chwi."

"Mi a ewyllysiwn i St. Clare fyned i'r Eglwys," ebe Marie; "ond nid oes ganddo rithyn o grefydd. Yn wir, nid yw yn beth bon'ddigaidd."

"Mi a wn hyny," ebe St. Clare. "Yr ydych chwi, y boneddigesau, yn myned i'r eglwys i ddysgu pa fodd i fyned ymlaen yn y byd, mi feddyliwn; ac y mae eich crefydd yn eich gwneyd yn fon'ddigaidd. Pe bawn ni yn myned i rywle, mi a awn lle bydd Mamy 'n arfer myned; y mae rhywbeth i gadw dyn yn effro i'w gael yno, o leiaf."

"Pa beth! y Methodistiaid trystiog hyny!—Arswydus!" ebe Marie.

"Rhywbeth yn lle môr marw eich eglwysydd bon'ddigaidd, Marie. Yn wir, y mae yn ormod o beth i geisio gan ddyn fyned i'r fath leoedd. Efa, a ydych chwi yn caru myned? Aroswch gartref i chwareu gyda mi."

"Diolch i chwi tada; ond gwell genyf fyned i'r Eglwys."

"Ai nid yw yn beth blinderus enbyd," ebe St. Clare.

"Y mae rywbeth yn flinderus," ebe Efa; "ond mi a ymdrechaf ymgadw yn effro, er fy mod yn teimlo braidd yn gysglyd cyn cychwyn."

"I ba beth yr ewch yno ynte?"

"Wel, chwi wyddoch tada, dywedodd fy nghares i mi, bod Duw yn gofyn ein gwasanaeth; ac efe sy'n rhoddi pobpeth i ni, chwi wyddoch, ac nid yw fawr o beth i fyned i'r eglwys, os ydyw ef yn gofyn hyny?"

"Yr anwylyd fechan, garuaidd!" ebe St. Clare, gan ei chusanu, "ewch chwithau a gweddïwch trosof finnau, 'mhlentyn i."

"Gwnaf yn sicr—yr wyf yn arfer gwneyd yn wastadol," ebe y plentyn; a neidiai at ei mam i'r cerbyd.

Safai St. Clare gerllaw, a chusanai ei law arni, fel yr hwyliai y cerbyd ymaith, a threiglai y dagrau i lawr ei ruddiau.

"O! Efangeline! iawn y'th enwyd felly," ebe fe. "Oni wnaeth Duw di yn efengyl i mi?"

Felly y teimlai am foment; yna mygai ei *cigar*, a darllenai ei bapyr, ac anghofiai ei efengyl fechan. A oedd efe yn annhebyg i lawer eraill?

"Chwi a welwch, Efangeline," ebe ei mham, "y mae yn wastad yn iawn i fod yn dirion wrth weinidogion; ond nid yw yn weddus i ymddwyn tuag atynt fel y gwnelem tuag at ein perthynasau yn yr un sefyllfaoedd a ni ein hunain yn y byd. Yn awr, pe buasai Mamy yn glaf, ni fynech ei dodi yn eich gwely chwi eich hun."

"Mi deimlwn rywbeth yn debyg, Mama," ebe Efa, "mi fyddai felly yn fwy cyfleus i edrych ar 'i hol hi; a pheth arall, y mae y ngwely i yn well, wyddoch."

"Beth alla i wneyd i beri i'r plentyn yma fy neall i," ebe Marie, yn gyffrous.

"Dim yn y byd!" ebe Miss Ophelia, yn bur sychlyd.

Wedi eu dychwelyd adref, ac eistedd wrth y bwrdd i giniaw—

"Wel, foneddigesau," ebe St. Clare, "beth oedd yn myned ymlaen yn yr eglwys heddyw?"

"A! pregethodd Dr. G———— bregeth ardderchog," ebe Marie, "y fath bregeth ag y buasai yn dda iawn i chwi fod yn ei gwrandaw; traethai fy syniadau i i'r dim."

"Yr oedd raid ei bod yn bur addysgiadol," ebe St. Clare. "Yr oedd y mater y traethid arno yn bwysig ac eang yn ddiau."

"Wel, fy holl olygiadau yn mherthynas i gymdeithas a phethau o'r fath, oeddwn yn ei feddwl," ebe Marie. "Y testun oedd, 'Efe a wnaeth bob peth yn deg yn ei amser.' A dangosodd, fel y mae holl raddau a threfniadau cymdeithas wedi dyfod oddiwrth Dduw; a'i bod mor briodol, wyddoch, ac mor weddus, fod rhai mewn graddau uchel, ac eraill yn isel; a bod rhai wedi eu geni i lywodraethu, ac eraill i wasanaethu; ac fe'i cymhwysodd hi mor dda at yr holl ddwndwr yma a wneir ynghylch caethwasanaeth; a phrofodd yn eglur fod y Beibl o'n tu ni, ac yn cadarnhau ein holl sefydliadau yn benderfynol—mi a hoffaswn i chwi ei glywed."

"Nid oedd arnaf anghen am hyny," ebe St. Clare; "mi a allaf ddysgu pethau a wna i mi gymaint o ddaioni a phethau fel yna, yn fy mhapyrau newyddion, bob amser, a mygu fy *cigar* tan un, yr hyn ni allwn wneyd yn yr eglwys, wyddoch."

"Ai nid ydych yn credu yn y golygiadau hyn?" ebe Miss Ophelia.

"Pwy—y fi! Chwi a wyddoch fy mod i y fath gi diras, fel nad yw arweddion crefyddol o nemawr bwys genyf. Pe dywedwn i rywbeth ar fater y gaethwasanaeth yma, mi a ddywedwn allan ac allan, yn deg ac yn groew. Yr ydym â'n dwylaw ynddi —y maent yn ein gafael, ac yr ydym yn penderfynu eu dal— y mae hyny yn gyfleusdra ac yn elw i ni; oblegid dyna yw y gwir am dani, dyna ydyw sylwedd yr holl druth sanctaidd yna wedi y cwbl; ac yr wyf yn meddwl bod hyny yn ddigon amlwg i bawb yn mhob man."

"Y mae yn ddychrynllyd eich clywed yn siarad, Augustine, yr ydych mor anystyriol!" ebe Marie.

"Dychrynllyd!—y gwir ydyw. Y druth grefyddol yma!—pa ham na chariant ef ymlaen ychydig ymhellach, a dangos mor deg yn ei amser ydyw i ddyn gymeryd gwydraid yn ormod, ac eistedd ychydig dros ben ei amser gyda'i gardiau, ac amryw drefniadau rhagluniaethol o'r fath hono, ag ydynt yn o gyffredin yn ein mysg ni, wŷr ieuainc? ni a hoffem glywed fod pethau o'r fath hono yn iawn a duwiol hefyd."

"Wel," ebe Miss Ophelia, "A ydych yn meddwl fod caethwasanaeth yn beth cyfiawn, ai nad yw?"

"O! ni fynaf fi ddim o'ch cwestiynau plaen uniongyrchol chwi, fy nghares," ebe St. Clare. "Pe atebwn y gofyniad yna, rhuthrech arnaf â hanner dwsin eraill, y naill un yn galetach na'r llall; ac nid wyf am adael i chwi wybod fy nghyfrinach ar y mater. Yr wyf fi yn un o'r bobl hyny sy'n byw ar daflu ceryg at dai gwydr pobl eraill; ond nid wyf byth am godi tŷ gwydr fy hun iddynt hwy daflu ceryg ato."

"Dyna fel y bydd o 'n siarad bob amser," ebe Marie. "Ni ellwch byth gael dim allan o hono i foddlonrwydd. Yr wyf fi yn meddwl mai y rheswm ei fod yn rhedeg yn wastad yn y dull hwn ydyw, ei fod yn casau crefydd."

"Crefydd!" ebe St. Clare, mewn tôn a barai i'r ddwy droi eu golwg ato. "Crefydd! ai crefydd ydyw y peth fyddwch chwi yn ei glywed yn yr eglwys? Ai crefydd ydyw y peth a fedr blygu a throi, codi a gostwng, i ateb i bob ffurf ŵyrgam, hunanol, sydd ar gymdeithas fydol. Crefydd! ai crefydd ydyw y peth hwnw ag sydd yn fwy diystyr, angharedig, anghyfiawn, a dideimlad tuag at ddyn, nag hyd yn nod fy natur annuwiol, fydol, a dall fy hunan? Nage! Pan elwyf fi i edrych am grefydd, mi a edrychaf am rywbeth uwchlaw i mi fy hun, ac nid am rywbeth islaw i mi."

"Yna, nid ydych yn credu bod y Beibl yn cyfiawnhau caethwasanaeth?" ebe Miss Ophelia.

"Y Beibl ydoedd llyfr fy mam!" ebe St. Clare; "yn ol ei reolau ef y bu hi byw a marw; a buasai yn ddrwg iawn genyf feddwl ei fod ef yn cefnogi y fath beth. Mi fyddai mor hawsed

genyf ddymuno y gellid profi y gallai fy mam yfed brandi, cnoi tybaco, a thyngu, i'r dyben o brofi fod yn iawn i minnau wneyd yr un modd. Ni allai hyny gymmodi fy nghydwybod i fy hun â'r pethau hyn, ond cymerai oddiwrthyf yr hyfrydwch o'i pharchu hi; ac yn wir, y mae yn hyfrydwch mawr yn y byd hwn i allu cael unrhyw wrthddrych a ellir ei barchu. Yn fyr," ebe fe, gan droi i'w ddull llawen yn ddisymwth, "y cwbl sydd arnaf fi eisieu, chwi welwch, ydyw, fod pethau gwahanol yn cael eu cadw ar wahan. Y mae holl gylchwaith cymdeithas, yn Ewrop ac America, wedi ei gyfansoddi o amrywiol bethau na ddaliant eu chwilio a'u profi wrth unrhyw safon gyffredin o foesoldeb. Y mae yn beth dealladwy, yn gyffredin, nad ydyw dynion yn ceisio cyrchu at wneuthur yr hyn sydd uniawn, fel eu nod, ond yn unig gwneuthur rywbeth yn debyg ag mae y gweddill o'r byd yn wneyd. Yn awr, pan y cyfyd rhywun i fyny fel dyn, ac y dywed bod caethwasanaeth yn anghenrheidiol i ni—y tlodid ni, pe rhoddem ef i fyny, a'n bod yn penderfynu glynu wrtho, y mae honyna yn iaith gref, eglur, a dealladwy—y mae bonedd-igeiddrwydd gwirionedd ynddi, ac os gallem farnu oddiwrth ym-arferiad, byddai y mwyafrif o'r byd yn ei chefnogi; ond pan ddechreuo dyn dynu wyneb hir, a thuchan, a choffâu yr ysgrythyr, yr wyf yn dueddol i feddwl nad yw y gŵr hwnw yn llawer gwell nag y dylai fod."

"Yr ydych yn bur angharedig," ebe Marie.

"Wel," ebe St. Clare, "tybiwch fod rhywbeth yn dygwydd i dynu i lawr bris y cotwm, ar unwaith ac am byth; ac i wneyd yr holl feddiannau caeth yn faich ar y farchnad; ai nid ydych chwi yn meddwl y caem ni esboniad arall ar athrawiaeth yr ysgrythyr? Y fath ddylif o oleuni a ymdywalltai i'r eglwys ar unwaith, a pha mor fuan y gwelid fod pob peth mewn ysgrythyr a rheswm yn erbyn caethiwed!"

"Wel, boed fel y bo," ebe Marie, gan orweddian ar ei glwth. "Yr wyf fi yn ddiolchgar ddarfod i mi gael fy ngeni lle yr han-foda caethwasiaeth; ac yr wyf yn credu ei fod yn beth cyfiawn,—yn wir, yr wyf yn teimlo y rhaid ei fod; ond beth bynag, yr wyf yn sicr nad allwn i fyned ymlaen hebddo."

"Beth ydych chwi yn ei feddwl, *Pussy?*" ebe ei thad wrth Efa, yr hon a ddeuai i mewn ar hyn, â blodeuyn yn ei llaw.

"Am beth, tada?"

"Wel, pa un a hoffech chwi oreu, ai byw fel y mae eich ewythr yn byw, i fyny yn Vermont, neu fod â llonaid y tŷ o gaethweinidogion, fel yr ydym ni yma?"

"O! wrth reswm, ein ffordd ni o fyw ydyw yr un fwyaf ples-erus," ebe Efa.

"Paham felly?" ebe ei thad, gan dynu ei law hyd ei phen.

"Wel, y mae genych fwy o'ch cwmpas i'w hennill i'ch caru,

chwi wyddoch," ebe y fach, gan edrych yn ei wyneb yn ddwys-ddifrifol.

"Dyna debyg i Efa," ebe Marie,—"un o'i hymadroddion dyeithrol."

"A ydyw yn beth *odd*, tada?" ebe Efa, yn nghlust ei thad, gan ddringo ar ei lin.

"Yn hytrach felly, yn ol fel y mae 'r byd yma yn myned, *Pussy*," ebe St. Clare. "Ond p'le bu fy Efa bach yr holl amser hwn?"

"O, mi a fûm yn ystafell Tomos, yn gwrandaw arno yn canu; a chefais fy nghiniaw gan Modryb Dina."

"Gwrandaw Tomos yn canu, ai ie?"

"O, ïe! Y mae yn canu y pethau hyfryd am y Jerusalem newydd, ac angelion dysglaer, a gwlad Canaan!"

"Y mae yn well na'r *opera*, ydyw?"

"Ydyw; ac y mae am eu dysgu i mi!"

"Rhoi gwersi canu i chwi, ïe?"

"Ië; y mae o 'n canu i mi, a finnau yn darllen y Beibl iddo yntau;·ac y mae yn egluro i mi y meddwl, wyddoch."

"Ar fy ngair," ebe Marie, "dyna y chwedl ddigrifaf o'r cwbl."

"Nid llaw wael ydyw Tomos at egluro yr ysgrythyr, mi allaf dyngu i chwi," ebe St. Clare. "Y mae gan Tomos athrylith naturiol at grefydd, Yr oedd arnaf eisieu y ceffylau allan yn foreu heddyw, a mi aethum i mewn yn ddystaw i'r daflod uwchben y 'stablau, a mi a'i clywais ef yno yn cadw cyfarfod ar ei ben ei hun; ac mewn gwirionedd, ni chlywais ddim mor effeithiol a gweddi Tomos er's hir amser. Yr oedd yn dadleu trosof fi gyda sel apostolaidd."

"Hwyrach ei fod yn meddwl eich bod chwi yn y clyw—mi a glywais am driciau felly cyn hyn," ebe Marie.

"Os oedd, nid oedd yn ymddangos yn gall iawn; oblegyd efe a ddywedai wrth yr Arglwydd beth oedd yn feddwl am danaf yn lled helaeth. Yr oedd Tomos yn meddwl bod eisieu diwygiad mawr ynof, ac ymddangosai yn daer iawn am fy nhröedigaeth."

"Yr wyf yn gobeithio y gosodwch y peth at eich calon," ebe Miss Ophelia.

"Yr wyf yn meddwl eich bod chwithau o'r un farn am danaf," ebe St. Clare. "Wel, ni gawn weled, oni chawn ni, Efa?"

"Dyna fi wedi myned i'r pen unwaith eto," ebe James.

"Wel, wyddoch chi beth, dyn braf oedd y Clare ene hefyd," ebe F'Ewythr Robert. "Mi 'roedd o 'n llawer tebycach i sant na llawer o bobol sy'n cym'ryd arnyn 'u bod nhw 'n seintie. Mi roes well pregeth. iddyn nhw ar ginio, nag y gowsen yn 'reglwys y boreu hwnw, o'r hanner hefyd, mi fyddyliwn."

"Yr oedd argraffiade addysg, a siample ei fam dduwiol, yn aros ar ei feddwl yn o ddwys," ebe Modryb Elin; "er fod ei lygredigaethau a'i dueddiadau pechadurus yn ei lywodraethu, ac yn ei gario fo ymaith yn eu ffrwd, ni allent lwyr ddileu cyfraith y fam oddiar lech ei galon. O! mor dda fyddai genyf glywed fod gweddïau Tomos ac Efa bach wedi eu hateb drosto fo, a'i fod o wedi cael cyfnewidiad. Y mae pob enaid anfarwol yn anmhrisiadwy werthfawr, ond mi fydda i 'n meddwl fod enaid mawr, galluog, talentog, dysglaer, fel enaid y dyn yna, yn rhyw lestr mwy gwerthfawr nag enaid bychan crebychlyd, na ellir pwnio un meddwl na dealltwriaeth i mewn iddo, fel y gwelir llawer o honynt yn bur fynych—dynion, er iddynt gael gwir ras, na allant fod o fawr ddefnydd i fyd nac eglwys; bydd eu crefydd yn sicr o werth mawr iddynt hwy, ond ni fyddant hwy o fawr werth i grefydd."

"Oes, fel y dywedwch, y mae llaweroedd o rai fel yna i'w cael," ebe Mrs. Harris. "Yn eu llyfr corn y maent drwy eu hoes. Y mae eu crefydd i gyd yn y teimlad, tra y mae y deall yn wywedig a diffrwyth. Ni allant roddi un math o 'reswm am y gobaith sydd ynddynt.' Y mae 'profi y pethau sydd â gwahaniaeth rhyngddynt,' allan o gylch eu galluoedd hwy. Ymbortha eu tymherau ar swn a llais, ond nid oes a fyno eu meddyliau â 'gwybodaeth a deall.' Y fath Gristion dysglaer a wnaethai St. Clare, pe buasai ei ddealltwriaeth craff, ei wybodaeth eang, ei alluoedd cryfion, ei athrylith fywiog, a'i dymher gariadlawn, wedi eu sancteiddio â gwir grefydd! A'r fath drueni ydyw meddwl, os collwyd y fath berl gwerthfawr! Gellid gofyn uwchben y fath drychineb, 'I ba beth y bu'r golled hon?'"

"Y fath felldith ofnadwy ydyw gweinidogaeth a fyddo yn ffalsio ac yn gwenieithio i ddynion yn eu drygioni," ebe Dafydd, "fel yr oedd pregeth y doctor hwnw fuasai y ddwy ladi yn wrando y bore Sul hwnw. Peth mor ffiedd oedd hi yn ymddangos i feddwl a chydwybod dyn fel St. Clare? Dyna y tâl gaiff y ffalsiwr wedi 'r cwbwl—gneyd 'i hun yn adgas yngolwg y rhai byddo 'n ceisio ffalsio iddyn nhw."

"Ambell un goleuedig ei feddwl, ac argyhoeddedig ei ddeall, fel St. Clare, sydd felly," ebe Mrs. Harris; "y mae y cyffredin o ddynion yn caru gweniaith, erioed a byth, fel yr oedd Marie St. Clare yn hoffi pregeth ffals y doctor hwnw. 'Traethwch i ni weniaith, prophwydwch i ni siomedigaeth,' ebe 'r bobl wrth y prophwydi gynt. Gallai y bydd eu cydwybodau yn ei gondemnio weithiau, ond y mae eu calonau yn ei hoffi."

"Llawer a gwynodd hen brophwydi y Beibil yn erbyn prophwydi celwyddog eu hamser," ebe Modryb Elin, "y rhai fyddai yn gwaeddi 'Heddwch, heddwch, pryd nad oedd heddwch,'—yn prophwydo am 'ŷd a gwin,' a llwyddiant i'r bobl, heb son un

gair byth wrthynt am eu pechodau. Y mae Eseciel yn galw'r fath brophwydi yn wniadyddesau clustogau, dan benelinoedd y bobol, i'w gwneyd hwy yn esmwyth yn eu pechodau; ac felly yr oedd y doctor hwnw, druan, wedi bod trwy yr wythnos yn gwnïo clustog o bregeth i w rhoi dan benelinoedd meistred y caethion;—yn gwneyd tarian i'w diogelu rhag i saethau y gwirionedd eu clwyfo hwy;—yn gŵyrdroi rhan o'r Beibil i geisio gwneyd llurig o hono, i'w gwisgo am danynt hwy. Ni soniai air, mae'n debyg, wrthynt am y gwaeau a gyhoedda gair Duw yn erbyn gorthrymwyr—ni soniai air wrthynt mai crefydd y Beibil ydyw tynu beichiau trymion, dattod pob iau, dilladu y noeth, porthi y newynog, dwyn y crwydriad i dŷ, gollwng y rhai gorthrymedig yn rhyddion, &c. Pe gwnaethai hyny, ni chawsai ei bregeth cystal derbyniad, a chymaint o ganmoliaeth gan Marie St. Clare, a'i chyffelyb. Mae cyfrifoldeb ofnadwy yn gorwedd ar bregethwyr o fath hwnw."

"Mi fase dda iawn tase fo'n clowed y bregeth gafodd y ladis ar ginio, ar ol bod yn 'i wrando fo, gin Clare; mi fase hòno 'n crafud tipin ar 'i groen o, debic cin i," ebe F'Ewythr Robert; "a'i hen frawd o, 'Melldigedig fotho Canaan,' i'w galyn o. N'wn i be mae 'gethwrs o'r fath hono 'n feddwl o honi hi."

"Ond aros di, James," ebe F'Ewythr Robert, drachefn; "mae 'n debic cin i fod ono rai cyrfyddwrs a phyrgethwrs, hwrach, yn dal slafs 'u hinen."

"Oes, F'Ewythr Robert, ysywaeth," ebe James, "lawer hefyd. Y mae dwylaw proffeswyr, swyddogion eglwysi, a gweinidogion hefyd, mor ddyfned a neb yn y drwg, ac y maent yn sefyll drosto, ac yn ei amddiffyn â'u holl egni, fel y crybwyllais wrthych lawer gwaith o'r blaen. Yr eglwys Gristionogol ydyw noddfa fawr y drwg. Pe golchai hi ei dwylaw oddiwrtho, a dwyn ei thystiolaeth yn ei erbyn, ni allai sefyll mwy nag eira mis Mai."

"Wel, os felly y mae'n bod," ebe Dafydd, "y mae yr eglwys Gristionogol, neu y peth a elwir felly, yn lle bod yn fendith, yn felldith fawr, a'r felldith fwyaf, yn y taleithiau hyny. Bydde'n well iddynt fod heb rith o honi, na'i chael, yn lle bod yn 'golofn a sylfaen y gwirionedd, i fod yn golofn a sylfaen y trawsder a'r anwiredd mwyaf ysgeler a gwrthun a warthruddodd ddaear Duw erioed. Dyle holl eglwysi Cristionogol y byd guro eu dwylaw arni, a'i hussio ar ol Cain i dir Nod, neu rywle, rhag cywilydd o honi."

"*Well done*, Dafydd," ebe F'Ewythr Robert. "Ond oeddet ti chwedi addo y caem ni gân gin ti? Gest ti afel ynthi hi?"

"Do; y mae hi gen i, os byddwch yn dewis ei chlywed hi—dyma hi."

"Wel, tyr'd â hi."

"'Y Creulondeb o Ffiangellu Benywod,' ydyw y testun, a Mr. S. Roberts, o Lanbrynmair, ydyw 'r awdwr."

"O'r gore, dene ddigon o rag'madrodd, allan â hi."

'Pe bae genyt deimlad, pe byddit yn Gristion,
Fe wridai dy wyneb, fe waedai dy galon,
Wel'd menyw brydweddol wrth gadwyn yn crynu,
Dan ffiangell anifail yn gruddfan a gwaedu;
O ystyr yn dirion, ei gwylder a'i dagrau,
Tafl ymaith y ffiangell, a dryllia 'i chadwynau.

Dwys glwyfir, bob ergyd, ei chorff teg tyneraidd,
Ond dyfnach y clwyfir, ei gwylder benywaidd,—
Heblaw ei harcholli o'r ddaear i'r ddwyfron,—
Mae'r ffiangell mewn ail fodd yn cyrhaedd ei chalon;
O ystyr yn dirion, &c.

Pan oeddit yn faban, hi 'th wasgai i'w mynwes,
A'i breichiau o'th amgylch, hi 'th gadwai yn gynhes;
Rhoi cusan dan wenu, i'th gadw 'n ddyddanus,
Ac ar ei bron dyner hi 'th sïai i orphwys;
O ystyr yn dirion, &c.

Trywenid ei mynwes gan ingol ddwys alaeth,
A gwewyr dirboenus, cyn dyfod yn famaeth,—
A chreulawn ei gwasgu mewn cyfyng amgylchiad,
Sy 'n gofyn ymgeledd, tynerwch, a chariad;
O ystyr yn dirion, &c.

Dyngarwch a rhinwedd ymgiliant i wylo,
A chrefydd o hirbell, saif draw gan och'neidio;
Gwel'd gwaedlyd archollion y ffiangell gylymog,
Yn gwysau plethedig dan ddwyfron y feichiog;
O ystyr yn dirion, &c.

Mae Llywydd y Bydoedd yn gweled ei chlwyfau,
Mae 'n clywed ei chŵynion, mae 'n cyfrif ei dagrau,
Mae 'n codi i ddial—clyw 'r daran yn rhuo,—
Mae 'n gwisgo ei gleddyf, mae bron myn'd i daro;
O cryned dy galon, ymostwng mewn dychryn,
Tafl ymaith y ffiangell, a dryllia y gadwyn.'"

"Da iawn Dafydd,—cân bert amhosib ydi hi. Mi ddylet fyn 'd trw 'r Merica a'i chanu hi mhob tre a llan,—mi ro'wn i 'no lew at dy ddanwon di 'n gynhadwr ono o bwrpas—a ti falu bod ymhob ffair lle bothon nhw 'n gwerthud *slafs*—pen fydde 'r ocsiwnïar yn dechre ar 'i waith, i tithe ddechre ar dy gân 'ninion."

"Ni hoffwn i ddim bod yn lle Dafydd, tae o'n myn 'd," *ebe* James, "Ni ro'wn i ddim llawer o bris ar i hoedl o. Ond mi fyddai caniadau o fath honyna yn effeithiol iawn yn sicr i ennill sylw, a chyffroi teimlad yn y wlad, yn erbyn y drwg. Fe ddywedodd rhywun, na fuasai waeth ganddo ef pwy fuasai yn cyfansoddi cyfreithiau gwlad, os cawsai ef gyfansoddi ei baledi

hi, gan arwyddo fod y baledau yn gryfach ac yn fwy effeithiol na'i chyfreithiau."

"Wel, yn wir, eitha cast fydde cyflogi hollt byrdyddion y byd i neyd b'ledi i bobol y Merica; a chyflogi rhw rai wel Dic Dowyll i fyn 'd trwy 'r byd 'mhob man i'w canu nhw: mi rydw i'n coelio yn y nghalon, y cae o effeth arnyn nhw; wyddoch yr effeth gafodd cerddi Twm o'r Nant ar y wlad yma ystalwm—mi 'roedd ar bersoniaid a stiwardiaid i ofn o nes oedden nhw 'mron dwad a lloie. Tae rywun o'i fath o 'n gneyd cân i'r Marie hono, mi fydde dda iawn."

"Mi ä'n i wneyd cân i minnau am aros oddicartref mor hwyr, a hyn bob nos," ebe Mrs. Harris, gan godi i fyned ymaith. "Ni ddaw Thomas ddim yma heno bellach; ac mi fydd yn dwrdio pan elom ni adref am aros fel hyn."

"Dowch a fo yma hefo chi nos yfory," ebe F'Ewythr Robert.

"Na, ni allwn ddyfod yr wythnos hon. Y mae arnom eisieu eich cael chwi a Modryb Elin acw y tro nesaf. Dydd Sadwrn nesaf, cofiwch, rhaid i chwi ddyfod acw yn bur gynnar—erbyn cinio: mi gadwn ni y diwrnod yn ŵyl gyda chwi."

"Be wyt ti 'n ddeyd, Elin?" ebe F'Ewythr Robert.

"Nid wyf yn gwybod am ddim nad allen i fyn'd, os byddwch chwi yn dewis," ebe Modryb Elin.

"Wel, o'r gore, Marged, mi ddown acw ynte," ebe F'Ewythr Robert.

---

## DIWRNOD YN NHY THOMAS HARRIS.

### YR YMDDYDDANION BOREUOL.

Hwyliodd F'Ewythr Robert a Modryb Elin i ymweled â'u cyfeillion yn Bryn Derwen yn gynnar y boreu hwn. Edrychai yr hen ŵr yn hoew a chotymog yn y wisg newydd a wnaethai Rhys Puw iddo.

Wedi yr ymgyfarch, a chanmawl dillad newydd yr hen ŵr, a Thomas Harris gynnyg ceiniog iddo i'w dodi yn mhoced y clos newydd, &c., "Peidiwch a myn'd i ddim trafferth gyda ni," ebe Modryb Elin.

"Tewch a son," ebe Mrs. Harris, "am unwaith y deuech chwi yma; oni ddarfu i mi ddweyd ein bod ni am gadw heddyw yn ddiwrnod gŵyl i chwi."

"Wel, dene ddydd gŵyl newydd eto; be gelwch chwi o,—'Dygwyl F'Ewyth Rhobet,' debyg," ebe yr hen ŵr. "Rhaid i chi gael i roid o i lawr ar y C'lendar."

"Y mae Rhisiart Ifan, y Foelfryn, a'i wraig, wedi addaw

dyfod yma i gadw cwmpeini i chwi," ebe Thomas Harris. Yr oeddwn i yn dysgwyl y buase nhw yma erbyn hyn."

"Dyma nhw 'n dwad ar y gair," ebe Mrs. Harris.

"Lle buoch chi yn cadw ystalwm iawn, Rhisiat," ebe F'Ewythr Robert, "ni welis i monoch chi, 'ni wn i ddim es pwy hyd."

"Mi fum i yn meddwl picio i edrych am danoch chi lawer gwaith," ebe Risiart; "ond mod i yn methu cael adeg rywsut."

"Rhy brysur yn picio ar ol yr hen fyd yma 'rydach chi o hyd; mi rydach chi chwedi rhedeg llawer ar i ol o erbyn hyn, Rhisiat, a'i ddal o hefyd, 'rwy'n coelio."

"Na yn wir," F'Ewythr Robert, "pry go anodd i ddal ydi o, mae o yn rhy sionc ar i droed i mi fedru cael crap ar 'i gynffon o yn y myw," ebe Risiart.

"'Newch chi ddim cyfadde, beth bynag," ebe F'Ewythr Robert. "Ond fydde raid i chi ddim lladd llawer ar yr hen fyd, 'rwi'n meddwl: os ydi o yn gynt ar i droed na chi, mi 'rydach chwithe yn medrud myn'd ar drawst y cloddie, a thori c'warfod iddo fo, hefo y porthmona yma; ac y mae 'ch ffarm chi 'n talu yn dda iawn, y byd sy o honi 'rwan."

"Ydi, mae 'r ffarmio 'n talu 'n o dda i bawb o honon ni, es blwyddyn neu ddwy 'rwan; ond mi fydd yn hir yn talu 'r peth aeth oddiarnon ni y blynydde o'r blaen. Ond am y porthmona yma, 'does dim posib gneyd dim byd ond colled o hono fo; ni wn i ddim beth ydw i yn ei geisio gyntho fo—dim ond ysfa ddrwg am wn i."

"Ië, ïe, felly y deydwch chi bod yg un bob amser," ebe F'Ewythr Robert. "Welsoch chi borthmon 'rioed, Tomos, nad colli arian y bydde fo bob siwrne?"

"Ië, 'drwg, drwg, medd y prynwr;' ond pan el o'r neilldu efe a ymffrostia,' felly yr oedden nhw yn nyddiau Solomon," ebe Thomas Harris.

"Dene hi! a mi ddoeth Solomon ar i trawst hwythe, ddoth o?" ebe F'Ewythr Robert, "dene fo, bitiwr y porthmon i'r byw; drwg, drwg, yn wastad, a cholli arian bob amser; ond cae chi g'wlustra i wrando lot o honyn nhw yn siarad â'u gilydd ar 'u pene 'u hunen, mi gae chi glywed sut y bydde nhw yn i gneyd hi; ond fedren nhw 'n 'u byw neyd cimin o honi hi wedi i'r Seison ddechre dyfod i ffeirie Cymru yma i brynu. Ond chware teg i Rhisiat, mae o chwedi talu 'n onest i bawb am bob eiddo brynodd o."

"Ydyw; pe buase pob un o honyn nhw mor onest a Risiart," ebe Thomas Harris, "mi fase'r wlad yma yn llawer gwell arni nag ydyw hi. Gymaint ydan ni 'n gofio am rai yn tori i fyny, a channoedd o bunnau o arian y wlad yn eu dwylaw? Gwyddom am lawer o deuluoedd yn yr ardal yma gafodd eu handwyo am byth yn y ffordd hono."

"Mi fedrwn i enwi i chi ddau ddwsin o deuluoedd felly," ebe F'Ewythr Robert, "heb fyn'd ymhell iawn oddyma, a be oedd hyny pan feddylion ni am y wlad i gid? A phytase nhw 'n tori 'nonest, mi faswn yn medrud madde iddyn nhw; ond 'chydig iawn o honyn nhw naeth hyny—gneyd pyrse a rhedeg y wlad ddaru llawer o honyn nhw adwaenen ni. Mi fydden wel tase nhw yn 'myneyd â'u gilidd ati hi—pan glowech chi fod un porthmon yn tori i fyny, mi fydde pac o honyn nhw yn myn'd ar i ol o. Porthmyn yn tori, a bancie 'n tori, naeth fwya o ddrwg i'n gwlad ni o ddim, yn y ffordd hono. Ond sut olwg oeddech chi yn i gael arni hi yn y ffeirie d'waetha, Rhisiat?"

"Golwg myn'd sy ar bob peth 'n rhyfeddol iawn y dyddie yma; tydw i ddim yn meddwl yr aeth na buwch na cheffyl, na mochyn, na dafad, adre' yn ol heb eu gwerthu gan neb, o ffair Gorwen y diwrnod o'r blaen."

"A phrisie da am danyn nhw?"

"Prisiau! ïe, mewn difri', 'roedd pob un yn cael hyny oedd o 'n ofyn, 'mron, rhag blaen. 'Does dim posib prynu dim 'rwan, i feddwl cael dim oddiwrtho fo, i'w werthu dychgefn."

"Dene Rhisiat yn dechre ar 'i dôn, 'drwg, drwg' eto," ebe F'Ewythr Robert.

"Y mae yn debyg nad ydych chwithe ddim yn cofio cystal amser ar bob peth at eu gilydd, F'Ewythr Robert," ebe Thomas Harris.

"Nag ydw i, na neb arall, yn cofio'r fath bris a gofyn ar bob math o 'nifelied; a son yr oedden ni y base y ffri trât yma yn andwyo 'r wlad; 'roedden ni, y ffarmwrs yma, yn meddwl i bod hi wedi myn'd yn ddiwedd byd glan gloew arnon ni, ond mi 'rydan ni yn gwel'd yn bod ni chwedi camgymeryd. Mae pob peth welwch chi yn caru rhydid—y farchnad wel pethe erill. Mae rhyw ysfa ryfeddol mewn dynion i neyd cyfyrthie i gythiwo pob peth fedran nhw gael gafel yntho fo; dene nhw 'n gneyd cyfyrthie yn y gwledydd trost y môr ene 'i gythiwo 'r bobol, a chrefydd, a phob peth, ac yn y 'Merica i gythiwo 'r bobol dduon; ac yma i gythiwo 'r farchnad ac anghenrheidie bywyd, tan does fawr yma."

"Beth ydyw barn y gwragedd yma ar bethe fel hyn," ebe Thomas Harris, "mae nhw 'n ddystaw arw heddyw."

"'Dysged gwraig mewn dystawrwydd,' dyna y rheol a rydd yr apostol i ni," ebe Mrs. Evans.

"Wel, dene reol sy'n cael ei thori bob dydd 'mhob tŷ trw'r hollt wlad yma, a'r hollt fyd debic cin i," ebe F'Ewythr Robert. "Allse 'r 'postol ddim gosod rhyol gaethach na honene,—rhyol i gythiwo tafod merch; mi allse wbod na fase 'run o honyn nhw 'n i chadw hi."

"Wel, hai Rhobet, cofiwch mai nid ar eich aelwyd eich hun yr ydach chi yma," ebe Modryb Elin.

"Iĕ, 'nte, aelwyd F'Ewyrth Tomos ydi hon; ond mi fyna i siar o honi hi am heddyw."

"A chroeso calon i chi o honi hi, F'Ewythr Rhobet," ebe Thomas Harris, "mi 'rydan ni wedi myned â siar dda o'ch aelwyd chwi am hir amser yrŵan."

"Ond siarad am y ffair a'r farchnad 'roedden ni," ebe F'Ewythr Robert. "Be ydach chi yn feddwl ddaw o'r byd yma; ddeil hi fel hyn yn hir, ddyliech chi?"

"Y mae golwg felly ar bethau 'rŵan," ebe Risiart Ifan, "y mae cymaint o bobl yn gadael y wlad yma i fyn'd i America ac i Awstralia, ac eisieu nwyddau i fyned yno—gwaith yn frysg, a chyflogau da, a'r gweithwyr yn cael modd i gael ymborth a dillad, fel y mae y draul gartrefol yn fwy o lawer iawn nag oedd hi pan oedd gwaith yn slac, a'r cyflogau 'n isel, heb son am farchnadoedd newyddion sy'n agor o hyd i nwyddau y wlad yma mewn gwledydd eraill."

"Dyna 'r perygl mawr efo llwyddiant bydol bob amser erioed," ebe Modryb Elin, "i'r bobl fwyta ac yfed, ac ymlenwi, ac anghofio a gwadu Duw. Pan aeth Israel o'r anialwch i Ganaan, i feddiannu tir llawn o bob daioni, aeth yn uniawn yn fras ac i wingo, i anghofio Duw, yr hwn a'i gwnaeth, ac i ddiystyru Craig ei iachawdwriaeth.' Y mae lle mawr i ofni mai felly y mae ein gwlad ninnau 'n myn'd yn y dyddiau yma. Darparu i Baal y mae 'r bobl, offrymu rhoddion a thrugareddau Duw ar allor balchder a meddwdod, a chwantau eraill."

"Yn wir, felly y mae hi yn bod," ebe Mrs. Evans, "mi fum i hefo Risiart i lawr yn edrych am y plant, ac mi gafodd ffeiriau Wyddgrug, Llangollen, a Rhuthyn ar ei ffordd, yr wythnosau o'r blaen, ac mi 'roedd balchder a meddwdod i'w gweled fel dau ben ffwl y ffair, yn gyhoeddus iawn yno. Mi sylwais yn neillduol ar un peth,—lotie o lodesi ifenc gwamal yn cerdded y strydoedd, wedi ymbincio, ac yn cnichio ar y bechgyn. O! mi 'roeddwn i 'n i wel'd o 'n beth hyll! mi 'roedd arna i g'wilydd o nghalon i gwel'd nhw; mi fuaswn yn teimlo awydd i wadu fy mod i yn ferch, wrth edrych ar y fath beth! A phan aethom ni i'r tŷ tafarn, lle yr oedd y ceffyle yn aros, 'roedd llon'd y parlwr o fechgyn a llafnesod yn trythyllu, ac yn yfed at eu gilydd; mi fase 'n dda gin y nghalon pe buase rhywun yn cym'ryd hors chwip, ac yn chwipio pob lodes oedd wedi dyfod i'r ffair i ymdrythyllu felly, nes base hi 'n cofio am dano fo tra base hi byw."

"Y mae yr arferiad wrthyn i ferched fyn'd i ffeirie felly, yn warth i'n gwlad a'n cenedl ni, mewn gwirionedd," ebe Thomas Harris. "Y mae hi yr un fath i lawr tua Dinbych, Bangor, Llanerchymedd, Caernarfon, a'r holl wledydd ene i gyd, fel y mae gwaethaf y modd—mi gwelais innau nhw lawer gwaith! Eisieu dysgu y genethod, druain, sydd, i weled gwrthuni y

peth—gwneyd y peth yn warthus yn eu golwg nhw. Mae 'r arferiad wedi 'i ddyodde', rywsut, heb i ddigon o sylw gael ei neyd o hono."

"Yn wir, wrth edrych ar bobl yn y ffair weithiau, fe ellid meddwl nad oes y fath beth a Beibl, a phregethu, ac Ysgol Sabbothol yn y wlad," ebe Mrs. Harris; "bum yn meddwl lawer gwaith, wrth edrych ar agweddau cannoedd o bobl ifainc, yn feibion ac yn ferched, ar hyd y strydoedd, Wel, tybed bod y rhai'n yn ddeiliaid yr Ysgol Sabbothol? O b'le y daeth y rhai hyn? nid y rhai fydd yn arfer cyrchu i gyfarfodydd crefyddol ar y Suliau ydynt, yn sicr, feddyliwn i. Y mae y rhai'n yn debycach i ryw hiliogaeth o farbariaid wedi rhuthro o'r coed nag i ieuengctyd gwlad uchelfreiniog fel Cymru. Pa ryfedd fod cynnifer o ferched yn tripio yn ein gwlad, tra byddo y fath beth, a chyfeillachu y nos hefyd, yn ddefod ac arfer ynddi? Yr wyf fi yn penderfynu na chaiff yr un lodes oddiyma fyned i ffair byth, oni bydd ganddi neges benodol i fyned."

"Dene gythiwed eto," ebe F'Ewythr Robert, "a chythiwed da ac anghenrheidiol iawn ydi o hefyd. Mi fydde 'n dda iawn pe bae pob mam a mistres trwy'r hollt hollt wlad yma yn gneyd cyfreth wel ene, ac yn cadw ati hi hefyd. Mi fydde golwg arall ar y ffeirie 'n fuan; tae y bechgyn ddim i'r ffeirie tae 'r gnethod yn cael 'u cadw gartre; mi gadwe hyny lawer iawn o honyn nhw oddyno, beth bynag. Ond y mae gin i isio cyfreth arall, i dorid i lawr fwy na hanner y tai tfarne 'n y trefi a'r wlad yma, ac i gym'ryd i fyny bob dyn meddw, boed o hen ne ifanc, c'waethog ne dlawd, a myned â fo rhag i flaen i *workws* y tlodion, a siafio 'i ben o, a'i gadw fo ono am bthefnos y tro cynta, ac am ddeufis os delid o wed'yn, ac os ceir o 'n euog wed'yn i gadw fo ono am flwyddyn gyfa, &c. Mi 'rydw i yn 'styried dyn meddw yn flonyddwr ar yr heddwch, ac yn b'ryglus i'w adel yn rhydd; mae digon o brofion o hyny i'w cael o hyd—gimin o ddistriw mae nhw chwedi neyd; mae o 'n ddrwg y dyle 'r gyfreth afel yntho fo. Cadw heddwch y wlad ydi gwaith y gyfreth, ond mae hi 'n myreth â llawer o bethe, nat ydyn nhw ddim yn perthyn iddi hi neyd, ac yn gadel pethe erill o'i gwaith 'i hunan ar ol."

"Y mae 'r gyfraith, yn llawer o daleithiau America, wedi ymaflyd yn y gorchwyl," ebe Risiart, "a medd-dod wedi agos ei lwyr ddileu o honynt. Ni feddwai 'r bobl yn eu byw yn y taleithiau hyny: y mae y gyfraith wedi cymeryd y pethau sy'n meddwi allan o'u cyrhaedd, fel nad ydynt i gael eu defnyddio ond fel cyffyriau meddygol yn unig; ac mi fyddaf finnau 'n meddwl y bydd raid iddi ddyfod i rywbeth tebyg i hyny yn y wlad hon, cyn yr attelir y drwg."

"'Rydach chi o'r un farn a fine 'ninion," ebe F'Ewythr Robert. "Mi 'r ydach chi, hefyd!"

"Yr ydych yn dwyn i'm cof," ebe Mrs. Harris, "am yr hyn a ddarllenais yn y 'Cronicl' bach, dro yn ol; a mi ddygwyddodd i mi daflu 'ngolwg arno ddoe dd'waetha."

"Wel, be mae o 'n ddeydyd, Marged?" ebe F'Ewythr Robert.

"Mi a'i darllenaf i chwi. Wedi ychydig o sylwadau arweiniol, y mae yn myned ymlaen fel hyn:—

'Yr ydym ni yn credu fod cannoedd yn Nghymru, rad all dim moddion moesol eu cyrhaedd. Yr ydym yn credu fod cannoedd o ddynion hawddgar wedi ymollwng mor bell i'r brofedigaeth, fel nad oes dim moddion moesol all eu tynu o'i gafaelion. Pe b'ai holl bregethwyr y byd yn pregethu iddynt, a holl gôrau y byd yn canu iddynt, a holl feddygon y byd yn esbonio iddynt, a holl hynafgwyr y byd yn eu cynghori, a holl ynadon y byd yn eu dirwyo, a'u ceraint anwylaf yn wylo trostynt—y *mynent* yfed a meddwi er pob serch, a phob dawn, a phob dylanwad, a phob cân, a phob cynghor, a phob rhybudd felly; ac yr ydym ni, er's blyneddau, yn benderfynol o'r farn, y dylai fod nawddle i'r cyfryw, hyny yw, y dylai llywodraeth eu gwlad estyn ei llaw a'u cipio o ddinystr—y dylai swyddogion cymdeithas afaelyd ynddynt yn ddiarbed, a dioed, a didderbyn-wyneb, a'u dwyn i lys teg cyhoeddus, o flaen ynadon penodedig; ac y dylid yno, yn nghlyw eu ceraint a'u cymydogion, ger bron rheithwyr diduedd, wneyd ymchwiliad i'w hanes, a hysbysu y cyfan; ac os, ar ol pob chwareu teg i geisio eu hamddiffyn eu hunain, y cyhoeddai y rheithwyr hwy yn euog o'r cyhuddiadau yn eu herbyn, fod y llys yn ddioed i'w dedfrydu i gaethiwed y nawddle am dri mis, neu chwe' mis, neu naw mis, neu flwyddyn, neu dair blynedd, neu saith mlynedd, yn ol haeddiant y trosedd. Eu bod i gael llety clud yno, a chael lluniaeth maethlawn yno, a chael gwaith ddigon yno, yn ol eu medr a'u galwedigaeth, a chael llyfrau addysgiadol yno, a phob moddion addysg yno, a hollol ryddid cydwybod yno; ond dim un dafn o ddiodydd meddwol, oddieithr o law meddyg y lle, a hwnw yn feddyg teg, profedig, ac awyddus am adferiad iechyd corff a meddwl y cleifion o dan ei ofal. Gwyddom fod amryw ddirwestwyr gwresog, er dadlu yn hyf dros fesurau seneddol er lluddias gwerthwyr diod, yn erbyn cyffwrdd fel hyn â'r yfwyr; ond yr ydym ni yn gryf o'r farn, os ydyw awdurdod cyfraith y wlad i afaelyd yn neb, mai yr yfwyr hyn ydyw y dosbarth cyntaf ddylai ddyfod i'w gafaelion. Pe gofynid, pwy fyddai i gael eu cymeryd i'r fath nawddle? Atebem, y dylid, yn gyntaf dim, gyfansoddi *rheolau* neu gyfraith fanol ar y mater. Dywedem ni, pa le bynag y mae dyn yn ennill punt yn yr wythnos, ac yn gwario bron ei hanner ar ddiodydd meddwol, heb gadw ond rhyw weddill tuag at ei dŷ, a'i dân, a'i

ddillad, a chynnaliaeth ei deulu—dyna ddyn i'w gymeryd yn ddioed at ei forthwyl, neu ei fwyall, neu ei nodwydd, neu ei fynawyd, dan ddysgyblaeth y nawddle. Pa le bynag y mae amaethwr, masnachwr, goruchwyliwr, neu borthmon, neu beth bynag a fo, nad ellir byth ymddiried y daw adref mewn awr deg o ffair neu farchnad, neu ddydd rhent, neu neges i'r dref, heb wneyd rhyw gam âg ef ei hun, neu ei anifel, neu ei gymydogion, neu ei deulu—dyna ddyn eto i'r nawddle. Pa le bynag y mae dyn gydag unrhyw fasnach, neu grefft, beth bynag a fyddo, ac fydd yn ymlithro o'r golwg lawer gwaith yn y dydd, i'r gongl yma, neu i'r dafarn arall, i gael gwydraid o wirod, neu hanner peint o ddiod—dyna ddyn eto i'r nawddle. Pa le bynag y mae dyn fyddo yn arfer ymdynu tua brig yr hwyr oddiwrth dylwyth ei aelwyd ei hun i gyfarfod â'i gymdeithion, ac a fedr, heb neges yn y byd ganddo, dreulio dwy neu dair o oriau y nos gyda digrifwyr yna y dafarn—dyna ddyn eto i'r nawddle. Pa le bynag y mae dyn mor bell dan swyn y cwpan, fel na fedr ddim codi oddiwrtho nes yfed ei hun i ymylau y *delirium tremens*—dyna un arall i'r nawddle. Mewn gair, pwy bynag a fedr eistedd, gartref neu oddicartref, gyda'i ddiod, nes meddwi, pa un bynag ai pendefig ai pendefiges fyddo—dyna un i'r nawddle. Dylid ymroddi yn ddioed i gael rheolau byrion, eglur, grymus, gyda golwg ar yfwyr fel hyn; a dylid gwneyd y drugaredd hyny â hwy o'u 'cipio megys o'r tân,' yn lle gadael iddynt ymlithro yn ngolwg nefoedd a daear, o flaen llygaid pawb, ac ar draws bob teimlad, a phob cysur, dros y geulan ddiadlam i waelodion dinystr.'"

"Da iawn, yn wir! mi gynogwn i rw gyfreth i'r pwrpas ene, o 'wllys y nghalon!" ebe F'Ewythr Robert. "Mi 'rydw i 'n coelio y bydde isio rhw dŷ mawr iawn yn dechre: ond tae cyfreth wel ene yn cael 'i rhoid mewn grym ar bob gradd wel 'i gilidd, mi 'talie lawer ar y drwg toc. Ond mae arna i isio peth arall ynthi hi;—na botho ond un tŷ tafarn ar gyfer pum cant o drigolion, mewn tre na gwlad; a'r rheini i gael 'u cau i fyny ar y Sul drwy y flwyddyn, a phob nos arall, am naw o'r gloch; a bod *fine* drom ar bob un y caffer dyn yntho fo wedi 'r awr hòno. 'Does gin i, a deyd y gwir i chi, fawr iawn o ffydd yn y cwarfodydd canu welis 'rhyd y wlad yma—pobol ifencyn myn'd yn lluodd ar nosweithie, ar draws gwlad, o'r naill fan i'r llall, ac efo'u gilidd ar hyd y ffyrdd dan byrfeddion y nos. Y mae peth welly 'n gosod y plant mewn profedigaethe i lawer o ddrwg. Mi 'roeddwn i 'n synud fod hen bobol gall gyrfyddol yn cynogi 'r peth o'r dechre; mi 'roedd arnyn nhw fwy o fai nag oedd ar y bobol ifenc o'r hanner!"

"Rhaid i chwi gymeryd yn gynnil wrth siarad ar y mater yna, F'Ewythr Robert, neu mi dynan y'ch clustiau chwi, gewch chwi wel'd," ebe Risiart Ifan. "Wyddoch chwi fel y cafodd rhai o'r pregethwyr mwyaf cyhoeddus yn y wlad yma 'u herlid

am ddangos gradd o anghymeradwyaeth i'r peth? mi 'roedden nhw 'n barod i'w llabyddio nhw, 'mron."

"Wel, y mae hyny yn darfod i raddau wrth fel y bu unwaith," ebe Modryb Elin; "ac y mae hyny yn dda iawn hefyd. Mi fûm i 'n meddwl, dro yn ol, y buase peth arall cyn waethed a medd-dod ei hun yn ymfagu yn y wlad, wrth geisio ymlid medd-dod i ffwrdd. Y mae Satan yn gyfrwys iawn, ni waeth ganddo fo 'r naill lygredigaeth na'r llall i ddistrywio dynion. Ond wedi'r cwbl, 'Trwy ofn yr Arglwydd y mae ymado oddiwrth ddrwg;' dyna wreiddyn gwir ddiwygiad oddiwrth bob pechod. Chwi ellwch gael dyn oddiwrth y drwg hwn neu arall, fe allai, trwy foddion eraill, ond fel y codwch chwi o o un pydew, fe neidia rhag ei flaen i bydew arall o bechod, os na bydd ofn Duw yn ei galon o. Ond yr ydwyf finne o'r farn y dylai 'r gyfraith drin yfed a medd-dod fel peth sy'n aflonyddu, ac yn peryglu cymdeithas."

"Mi a welais yn un o'r cyhoeddiadau yma, dro yn ol," ebe Risiart Ifan, "eu bod yn cosbi medd-dod yn Sweden, rywbeth yn debyg i hyn:—Am y trosedd cyntaf, dirwy o 8s.; am yr ail waith, 1*p.* 4*s.*; y trydydd, 1*p.* 16*s.*, a cholli ei hawl i bleidleisio; ac os ceir ef yn euog y bedwaredd waith, y mae y troseddwr i gael ei rwymo wrth bost, yn agos i ddrws yr eglwys, y Sabboth canlynol; ac am y pummed, carcherir ef am chwe' mis; ac y mae cosb drymach ar y rhai a geir yn feddwon mewn ffeiriau a lleoedd cyhoeddus. Telir hanner y ddirwy i'r neb a ddygo yr achwyniad ymlaen, ac a'i profo. Darllenir y gyfraith hon unwaith bob blwyddyn o'r pulpudau."

"Wel, yn wir, eitha cyfreth ydi hi," ebe F'Ewythr Robert. "'Tawn ine 'n cael y ngneyd yn frenin, mi nawn gyfreth debyg iddi hi."

"Nid y brenin sy'n cael gwneyd y cyfreithiau yn y wlad hon, F'Ewythr Robert," ebe Risiart.

"Waeth 'r hyny," ebe 'r hen ŵr, "yni fedrwn i ddewis gw'n-'dogion gymre 'r peth mewn llaw."

"Beth pe baech chwi yn trin y mater ar yr '*Aelwyd*' acw ryw noswaith, a'i gael o i'r llyfr, i ddechreu," ebe Risiart.

"O, welsoch chithe 'r llyfr, do?"

"O, do! ac mi a'i darllenais, hefyd. Yr ydych wedi gwneyd sôn mawr am danoch trwy 'r wlad yn mhob man," ebe Risiart.

"Gydewch iddyn nhw; mi 'rydw i 'n coelio y geill o neyd lles yn y wlad."

"Yr wyf finnau o'r un farn a chwi am hyny."

"Wyddoch chwi, Risiart, y byddwch chwithe 'n cael y'ch llusgo i'r 'Aelwyd' ar ol hyn?" ebe Mrs. Evans.

"Y fi! na wn i 'n siwr."

"Edrychwch pwy sydd tu ol i chwi, trwy 'r bore yma."

Edrychodd Risiart drach ei gefn; a beth a welai ond James Harris, â'i bin a'i bapyr, yr hwn oedd wedi bod wrthi yn ddystaw ac yn brysur trwy 'r holl amser, yn cofnodi yr ymddyddanion.

"Wel, nid aeth o 'rioed i 'mhen i feddwl am y fath beth!" ebe Risiart.

"O, mae *nghlarc* i 'n y nghalyn i i bob man," ebe F'Ewythr Robert.

"Pe buaswn i wedi meddwl am y peth, mi fuaswn yn ddystawach nag y bum i," ebe Risiart. "Ond y mae yn debyg y bydd raid i mi fentro fy siawns, fel chwithau, bellach. Chafodd dim ddeydis i 'rioed o'r blaen ei roi mewn argraff."

"Ni ddywedasoch ddim y bydd raid i chwi wrido wrth ei ddarllen o, pan ddelo allan," ebe Mrs. Harris. "Ac yr wyf fi yn coelio fod yma bethau wedi eu dweyd heddyw a allent fod yn fuddiol i'w darllen ar bob aelwyd trwy'r wlad. Pe byddai ddim ond i un eneth ifanc gymeryd addysg, a phenderfynu nad elai hi byth i ddarostwng ei hunan trwy fyned yn ffolog ffair, pwy a ŵyr faint o ganlyniadau gofidus a allai hyny ragflaenu? A beth wyddom ni na ddichon i lawer morwyn, ac i lawer merch, a llawer meistres, a mam, gymeryd rhybudd?"

"Gymaint sydd yn y gair hwnw yn Iago," ebe Modryb Elin; "'Gwybydded y bydd i'r hwn a drodd bechadur o gyfeiliorni ei ffordd, gadw enaid rhag angeu, a chuddio lliaws o bechodau.' Y mae cadw un enaid rhag angeu yn fwy peth nag ennill byd cyfan. Byddai ennill y byd yn beth anmhosib i ni, pe baem yn ceisio; ond y mae bod yn foddion i gadw enaid rhag angeu yn beth yn ein cyrhaedd—ni a allwn ymdrechu, ac ni a allwn lwyddo. 'Beth a wyddost ti, wraig, a gedwi di dy ŵr?' medd Paul. Y mae troi pechadur o gyfeiliorni ei ffordd, heblaw 'cadw'r enaid rhag angeu,' yn cuddio—yn rhagflaenu 'lliaws o bechodau;' yn attal ffrwd o lygredigaeth rhag tori allan, a fuase'n rhedeg am oesau, hwyrach, yn nheulu y dyn ar ei ol."

Ar hyn, daeth galwad ar y cwmni at y bwrdd i giniawa, a therfynodd yr ymddyddan boreuol.

## YR YMDDYDDAN PRYDNAWNOL.

Rhodiodd y gwŷr allan i roddi tro ar ol ciniaw, tra yr oedd y gwragedd a'r merched yn trefnu y llestri a'r ystafell. Wedi i'r gwŷr ddyfod i mewn, a F'Ewythr Robert gymeryd y gader:—

"Ladis a bonddigions," ebe 'r hen ŵr, "mi rydw i'n i 'styried hi 'n anrhydedd i gael llowyddu y cwarfod yma; mi gawson gwarfod da y bore heddyw, a chinio da ar i ol o; a mae 'n drugaredd fawr i ni gael iechid i 'mborthi ar drugredde rhyglunieth; a bod heddwch a chymdogaeth dda rhynthon ni a'n gilydd. Mi rydw i chwedi byw yn y cwm yma, es deuddeg

mlynedd a thrigen bellach; a ni fu dim drwg rhyntha i a neb o nghymdogion 'rioed; mi 'rydw i'n gwel'd hyny 'n fendith fawr. Mi ddymunwn i'n bod ni, yn y cwm yma, yn rhoid siample da i hollt gyme 'r wlad a'r byd, mewn pob peth da a chanm'ladwy; yn bod ni 'n bobol lanweth yn y'n tai, a'n dillad, a'n buchedde; yn bobol wbodus, 'ddychol, gariadus, g'mwynasgar, a chyrfyddol; y'n bod ni, yr hen bobol, yn siample da i'r bobol ifinc, a'r bobol ifinc yn gysur i'r hen bobol. Mae 'n well gin i am y cwm yma a'r bobol sydd yn byw yntho fo, nag am 'run llanerch arall o'r byd mawr. Yma bu nhade a nheidie i byw a marw; ac yma 'rydw ine chwedi byw ff'hollt oes, ac yn dymuno cael marw a nghladdu gida nhade.

"Mi dd'munwn i'n fawr, cin fy marw, wel'd ysgol dda chwedi sefydlu yn 'r ardal; y fath fendith fawr ydi addysg i blant; mi 'llaswn ine fod yn rhwbeth mygenach nag ydw i, pe cowswn ysgol yn ifanc. Ni fase dyddie henent ddim mor flin ag annifir py taswn i'n medrud darllen. Rhaid i mi loffa tipin wrth wrando ar Elin yn darllen, a James yma. Mi 'rydw i tan rwyme neillduol iddo fo; mae o chwedi cym'ryd llawer o drafferth a phoen hefo fi; mi aeth llawer awr, fase 'n hir ag annifir, heibio yn bylserus iawn, wrth wrando arno fo 'n darllen. Mi 'rydw i'n gweled bod rhoid dysg i blant, yn beth sy 'n talu 'nol yn dda i'w rhieni; mi ga'n log da am 'u harian a warion nhw yn y ffordd hono. Mi leiciwn i wel'd *piana* y'mhob ty yn y cwm, a phob merch yn medrud i chware hi. Mae sŵn miwsic yn adfywio ac yn lloni natur, ac yn gyrud tymhere drwg i ffwrdd o'r teulu. 'Rydw i'n cofio clywed Elin yn darllen am Dafydd, yn canu 'r delyn i wlltio 'r ysbryd drwg i ffwrdd 'ddiwrth y brenin hwnw; a mi fu Cati acw 'n son lawer gwaith am gisio tlyniwr ata ine, pen fyddwn ni groes weithie. Pe cae gynethon ein gwlad ni dipin o ddysg wel y dylen nhw gael, mi fydde gynthyn nhw fwy o barch iddyn 'u hunen, nag yr aen nhw i wlltio 'rhyd y ffeirie, wel 'roeddech chi 'n cwyno rhagddyn nhw 'r bore yma.

"Mae gynthon ni achos mawr i fod yn ddiolchgar fod pethe wel y mae nhw yn y'n cwm ni yma, ond mi allen fod yn well; mi 'rydan ni wel rhw wladwrieth fechan ar 'i phen i hun, rhwng y mynyddodd, o olwg y byd, yn byw 'n bur dawel a di son am danon. Oni base i James yma feddwl am roid y llyfr yma ('r 'Aelwyd') allan, ni fase ond 'chydig o bobol yn gwbod fod y fath le ar y ddyar; mi fydd mwy o sylw arnon ni bellach. Gybeithio 'rydw i y gall y llyfr fod o les i lawer. Mae Elin a Marged yn deydyd pethe da iawn yntho fo, a Thomas a fine yn helpio gore gallon ni; a Jacki, dyn a'i helpo, a Chati, a Rhys y teiliwr, a Dafydd y saer hefyd—pob ffasiwn a math o gymeriad o honon ni—a heddyw, dyma Rhisiat ag Ann chwedi dwad i'r

seiat aton ni. Mi nawn 'Aelwyd' o honi hi rhynthon a'n gilydd, bod y gun. Ond 'rydw i myn d â'ch amser chi, g'feillion—be sy i fod tan sylw yma? Mi liciwn i i'r cwarfod gael i dreilio yn debyg i hwnw gowson ni 'r bore; ag 'rol tê, ni alwn ar Jemi i roid stori o'r Caban i ni. 'Rydw i'n galw, yn gynta, ar Rhisiat i roid pwnc i lawr." [Curo dwylaw garw iawn!]

"Nid oes gen i 'run pwnc, Mr. Cadeirydd, i'w osod i lawr," ebe Risiart. Dylaswn fod wedi cael testun i siarad arno, a chael amser i *studio* tipin arno fo, cyn fy ngalw fel hyn. Ond mi alla ddweyd cymaint a hyn, fy mod i yn cytuno o galon â'r hyn a ddywedasoch chwi am danom ni yn y cwm yma, ac am y buddioldeb o gael ysgol dda i'r plant. Mae yma ddigon o honom, ac y mae genym ddigon o fodd hefyd, ond i ni goelio hyny, i'w chynnal hi 'n gysurus; ac yn siwr, y mae yma ddigon o blant ac eisieu addysg arnynt. Y mae genym saer, a gof, a theiliwr, a melinydd, yn cael 'u cadw yn burion bob un—rhaid i ni gael y rheini bob un—ac y maent yn anghenrheidiol hefyd; ond y mae ysgolfeistr yn llawn mor anghenrheidiol a hwythau, a'i waith ef yn fwy pwysig hefyd. Ni fuasai raid fod gair o son na dadleu erioed yn y wlad hon, ynghylch help gan y llywodraeth i roddi addysg, pe buasai y bobl yn gweled ei werth, ac yn gwneyd gyda 'r mater hwn, fel y gwnant gyda phethau eraill llai eu pwys. Mi fyddai yn beth digri a gwrthun, glywed am dref neu blwyf, yn cwyno ac yn ceisio help gan y llywodraeth i godi gefail gof iddynt, a chael einion a morthwylion, a gefeilion —a help at dalu 'i gyflog o. Ni feddyliodd neb erioed am y fath beth; mae 'r bobl yn edrych ar ol pethau o'r fath hyny eu hunain; a dylent, ar bob cyfrif ynte, ofalu am addysg eu plant —darparu moddion cyfleus yn mhob ardal, edrych am ysgolfeistr da, fel yr edrychant am grefftwr da, a thalu yn dda iddo am ei lafur. Peth ffol fydda i'n clywed y siarad fydd gan rai, bod y wlad yn rhy dlawd i wneyd hyn, ac nad oes dim i'w wneyd ond gofyn i'r llywodraeth helpio, neu fod heb ysgolion i'r plant, heb erioed ystyried mai oddiar y wlad y mae 'r llywodraeth yn codi trethi. I boced y wlad y mae y llywodraeth yn estyn ei llaw i geisio y moddion i'w helpio; ac y mae llawer o'r arian, o anghenrheidrwydd, yn glynu yn nwylo 'r swyddogion sydd ganddi hi 'n gwneyd y gwaith. Bydd yr addysg yn llawer iawn drutach i'r bobl, felly, na phe baent yn cymeryd yr achos i'w dwylaw eu hunain. A pheth arall, y mae o'n gam dirfawr â'r bobl sy 'n gwneyd eu goreu i godi ac i gynnal ysgolion ar eu traul wirfoddol eu hunain, i'w trethu hwy at godi a chynnal ysgolion mewn manau lle mae y bobl yn rhy ddifater, neu 'n rhy gybyddlyd, neu 'n rhy rywbeth o'r fath, i wneyd hyny; heblaw ei fod yn beth croes hollol i gydwybodau llawer, fod i'r llywodraeth wladol ymyraeth â'r hyn sydd yn dal perthynas â

meddwl y genedl. Y mae cymaint o sŵn a siarad wedi bod ynghylch *Cymru dlawd!* a *Chymru dlawd!* nes ydyw wedi myned yn ddïareb; a ninnau wedi myned i feddwl fod ein gwlad ni yn dlawd iawn mewn gwirionedd. Ond yn sicr i chwi, nid yw Cymru mor dlawd wedi 'r cwbl! Mae ynddi ddigon o fodd i gael digon o ysgolion da at anghen yr holl genedl, ond cael meddwl a chalon y bobl at y gwaith; ac i wneyd llawer o bethau gyda hyny. Ni fyddai raid fod dim dyled ar un tŷ addoli yn Nghymru, erbyn wythnos i heddyw; ac ni fyddai dim chwaith pe gwnelai hyny o broffeswyr crefydd yr hyn a ddylent, ac a allant, yn neillduol y byd sydd o honi hi 'rwan. Beth pe ceid yr arian sy 'n cael eu gwastraffu yn unig ar ddïodydd, a thybaco, a *snuff*, a phethau o'r fath, at achosion teilwng, mi fyddai yn swm mawr iawn.

"Peth arall hoffwn i yn fawr iawn weled rhywun yn ei gymeryd i fyny o ddifrif, fyddai gwneyd ymdrech i gael prifysgol yn Nghymru; y mae rhyw sï am hyny wedi bod yn rhai o'r cyhoeddiadau yma; ond ni chlywa i ddim fod neb yn ymroi ati hi. Gwnai hyn, yn fwy na dim, at ddyrchafu ein gwlad a'n cenedl—agorai ddrws o flaen ein dynion ieuainc i ragori mewn cynnydd defnyddiol ac anrhydeddus. Pe buasai ein llywodraeth yn onest, neu os oedd yn onest, yn ddoeth, pan yr anfonai y tri *Chommissioners* hyny i Gymru i wneyd ymchwiliad i ansawdd addysg yn ein plith, buasai yn erchi iddynt i wneyd ymchwiliad manwl, ac adroddiad cywir, i ddangos pa un a oedd yr Eglwys Sefydledig, athrawes awdurdodedig a chyflogedig y genedl, wedi, ac yn ateb dyben ei sefydliad ai peidio; ei gweinidogion hi, yn benaf, oeddynt yn duo ein cenedl fel barbariaid anwybodus ac anfoesgar wrth y gwŷr hyny; ac o'u rhan hwy, yn wir, buasai cyflwr ein gwlad fel ei desgrifir ganddynt yn y llyfrau gleision hyny, ac yn llawer gwaeth. Eu hamcan hwy oedd gwarthruddo 'r Ymneilldüwyr, heb feddwl, druain, mai gwarth noethder eu Heglwys eu hunain oeddynt yn ddadguddio. Cafodd fwy na dau can' mlynedd o amser; a pha beth a wnaeth? Cadwodd agoriad y gwybodaeth oddiwrth y bobl; a gwnaeth a allai i luddias yr Ymneillduwyr i bregethu ac addysgu y werin. Ac yn awr, wedi iddi fethu yn hyny, y mae yn eu gwaradwyddo, ac yn eu condemnio, ac yn dweyd bod Ymneillduaeth yn waeth na meddwdod a lladrad, a chant o bethau cyffelyb. Gwnant stŵr mawr gydag ysgolion ac addysg, yn awr, gan y rhaid i'r bobl gael addysg. Ond pa fath addysg a roddir yn llawer o'i hysgolion a'i phulpudau hi? Addysg i arwain y genedl yn ol i dywyllwch ac ofergoelion Pabyddiaeth ydyw gan mwyaf.

Y peth a hoffwn i, fyddai gweled y llywodraeth yn gosod yr Eglwys i fyw ar ei llafur a'i theilyngdod ei hun, fel pleidiau eraill, ac yn cymeryd gafael ar y cyfoeth dirfawr sydd yn cael ei dalu

tasg ati, a'i roddi at godi a chynnal prifathrofa i ni fel cenedl. Y mae yn rhyfedd genyf fi, na byddai Ymneilldüwyr Cymru yn deffro bellach, i erfyn hyn gan y llywodraeth—yn wir y mae yn hen bryd. Yr ydym yn clywed llawer o swn trwy 'r blynyddoedd am Eglwys y Werddon, a'r fath drawsder ac anghyfiawnder ydyw fod y Pabyddion yno yn gorfod talu at gynnaliaeth sefydliad nad ydynt yn derbyn un budd oddiwrtho, ac y mae felly mewn gwirionedd. Ond ni chlywir byth air o son am yr un trawsder yn Nghymru, lle mae, fe allai, y seithfed ran o gyfoeth y wlad yn myned at waddoli Eglwys, nad oes prin un ran o saith o'r boblogaeth, yn derbyn un math o gyfnewidiad am dano. 'Dalla i aros gwrando ar yr Ymneilldüwyr hyny, a gwynant, ac a ddadleuant am i'r llywodraeth ein cynnorthwyo i godi a chynnal ysgolion; ond na fynant gyffwrdd âg un o'u bysedd â'r camwri hwn. Mi fuaswn yn caru cyfeirio at rai pethau eraill a grybwyllodd ein Cadeirydd hybarch; ond yr wyf yn gweled ddarfod i mi gymeryd gormod o'ch amser eisoes o lawer. Felly yr wyf yn terfynu dan ddymuno hir oes a iechyd i F'Ewythr Robert, a Modryb Elin, a llwyddiant i'r 'Aelwyd.'"

"Wyddoch chi beth, mae Rhisiat yn 'reithiwr garw iawn, ond ydi o?" ebe F'Ewythr Robert. "Mi ddeydsoch lawer iawn o sens, ddyliwn i Rhisiat bach, mi geith y'ch areth chi fyn'd i'r 'Aelwyd,' bob gair hefyd. Mi fum ine 'n meddwl am y pethe ddaru chi gyrbwyll, lawer gwaith; ond faswn i ddim yn medrud 'u deydyd nhw mor daclus ag y daru chi. Wel, dowch chithe Tomos â'ch rheswm. Yr ydw i yn galw ar Tomos 'nesa!"

"Yn wir, nid oes gen i ddim llawer o reswm i chi gael, pe caech chi 'r cwbwl," ebe Thomas Harris. "Fedra i ddim areithio fel chi a Rhisiart. Yr oeddwn i 'n meddwl am y peth ddwed'soch am y'n cwm ni yma. Mi fydda ine 'n 'i wel'd o, rwsut, yn glysach nag un lle welis i 'rioed, er tloted a llwyted ydi o. Mi fydde 'n chwith iawn gen i feddwl symud i fyw i un lle arall. 'Rydan ninnau, 'r bobol sy'n byw yma, os cawn ni roi caritor i ni 'n hunain, yn bobol go lew ar y cyfan, chware teg i ni. Lle garw iawn ydi 'r cwm nesa ene, mi fydd ono ryw ffrwgwd a chynhen yn wastad rhwng y cymydogion â'u gilydd, yn wŷr ac yn wragedd. Rhai garw iawn ydi 'r merched yno am hel eu gilydd, a dynwared y naill y llall; ac mae nhw 'n fedrus a doniol ryfeddol ar y grefft, hefyd; a mi fydd hyny yn cael ei gario i glust y naill a'r llall, a dyna lle 'reith hi'n *goccin* gwyllt, drachefn. Ni chlywais i ddim son am beth felly yn y'n cwm ni yma, a gobeithio na ddaw y clefyd ddim yma chwaith. Yn wir, mi fydd arna i ofn gwel'd yr un teulu 'n symud oddiyno yma i fyw; peth garw iawn ydyw i un aderyn diried ddyfod i nyth—a——"

"Wel, Thomas!" ebe Mrs. Harris, "os aiff y peth ydych y-

ddweyd yrŵan i'r 'Aelwyd,' mi gwel pobl Cwm —— o, a mi tynwch nhw yn eich pen i gyd. Canmolwch eich cwm eich hun, a gadewch lonydd i gwm pobl eraill."

"Gydewch lonydd i Tomos," ebe F'Ewythr Robert; "y fi ydi 'r cydeirydd yn y cwarfod yma, a mi na i alw am *ordor*, os gwela i achos yn galw. Mae Tomos yn deyd y gwir, bob gair, mi safa i wth i gefn o, ys bydd raid. Mi fydd yn dda iddyn nhw gael gwel'd 'u hanes, i ydrach na'n nhw ddiwigio."

"Begio 'ch pardwn, Mr. Cadeirydd! mi a gymerais eich swydd oddiarnoch yn ddifeddwl; ond ofn i'r peth oedd Tomos yn ddweyd achosi drwg a chynhen oedd arnaf. Mae pobl Cwm —— yn bobl digon gweddaidd mewn llawer o bethau; ond y mae rhyw feiau yn mhob cwm, a digon tebyg eu bod hwythau yn gweled llawer o feiau arnom ninnau, nad ydym ni ein hunain yn gweled mo honynt."

"Y mae hyny yn bur wir," ebe F'Ewythr Robert; "ond y mae iddyn nhw groeso i ddanos y'n beiau i ni, a mi fyddwn yn ddiolchgar iddyn nhw am neyd, i gael i ni 'u gwel'd a'u gadel nhw."

"Na! nid mor hawdd gan un dyn, nac un cwm o ddynion, ddioddef dangos eu beiau iddynt hwy!" ebe Modryb Elin. "Haws gan blant dynion ddangos beiau yn eu gilydd o lawer, na dioddef i'w beiau nhw eu hunain gael eu dangos."

"Yn wir, hefyd," ebe F'Ewythr Robert, "rhaid i mi gael trefn well ar y gragedd yma. Tyr'd yma, James, i gael i mi dy dyngu di 'n gwnslab, i gadw heddwch a threfn. Ewch 'mlaen, Tomos, mi ro i *ordors* i James droid allan y gynta o honyn nhw neith 'flonyddu eto."

"'Rydw i wedi colli cymaint oedd gen i i'w ddweyd, wedi i Marged dori ar y nhraws i,' ebe Thomas Harris. "Ni wn i yn y byd lle 'roeddwn i."

"Iä, dene hi—'rydach chi 'n gwel'd 'rŵan," ebe F'Ewythr Robert. "P'run o honyn nhw oedd yn deyd y bore heddyw—'dysged gwraig mewn dystawrwydd;' a dyma wel mae nhw 'n tori 'rheol 'ninion. Rhaid i chi dynu 'u tafode nhw o'r graidd, os mynech iddyn nhw fod yn ddistaw—rhaid hefyd!"

"Y fi grybwyllodd y gair hwnw," ebe Mrs. Evans, "a ni ddwedais i yr un gair tan 'rŵan."

"Naddo; chware teg i chi, Ann," ebe F'Ewythr Robert: "ond ni rown i ddim llawer o dryst i chithe, chwaith—un o honyn nhw ydach chi."

"Gwir ddywedasoch chwi, Mr. Cadeirydd," ebe Risiart Ifan, "mi fydda i 'n cael digon o brawf o hyny yn aml."

"Wel, gobeithio nad ewch chwi ddim i ffraeo," ebe James, "onide, mi fydd raid i mi, yn fy swydd fel '*cwnslab*,' eich troi chwi allan bob un."

"'Roeddwn i am ddweyd cymaint a hyn," ebe Thomas Harris, "pe cawswn i lonydd, y byddai yn beth sŷn iawn, pe bae ni 'n gallu cynneu tân ar aelwyd F'Ewyrth Robert, i roi Cymru i gyd ar dân am gael y peth oedd Risiart yn son am dano, sef prifysgol dysgeidiaeth. Pe bae hi 'n troi allan felly, yn ein cwm ni y dylai hi gael ei chodi—neu o leiaf, yn rhywle yn ein sir ni. Mi garwn i 'n bod ni 'n codi ysgoldŷ bychan i ddechreu. Mae gen i ddernyn o dir yn y gwaelod, yn agos i'r afon yna, rown i am ddim, i adeiladu arno, ac y mae o 'n lle digon cyfleus."

"Dene ddechre da!" ebe F'Ewythr Robert; "mi rown ine Jacki a'r drol am wsnos, i gario coed, a cherig, a chalch ato fo."

"Mi wnawn innau yr un peth," ebe Risiart Ifan.

"Mi eith James, a'ch mab chithe, Risiart, drwy 'r cwm i gasglu ato fo, mi w'rantaf," ebe F'Ewythr Robert.

Penderfynwyd ar hyny hefyd.

"Wel, dene ni chwedi gneyd 'sgoldy ymron!" ebe yr hen ŵr. "Rhaid i ni fyn'd ati hi 'ninion deg: 'nte, 's gnawn ni ddechre oedi, mi fydd y peth marw. Wyddoch chi ar ddyar faint o ddioni 'naethon ni yma heddyw."

"Mi fydd yn llawn ddigon buan i chwi ddechreu canmol wedi i chwi wneyd y gwaith," ebe Modryb Elin. "Yr ydych chwi 'n ddynion clyfar iawn yn y gornel, y'ch tri; ond yn y maes mae medi!"

"'Dallwch chi 'ch tair ddim taflud peth wel ene aton ni, beth bynag—mi 'rydach chi 'n ddigon o fistresi arnon ni yn y gornel, efo gwaith y tafod yma," ebe F'Ewythr Robert.

"Y mae genyf finnau un peth i'w gynnyg i sylw, trwy eich cenad, Mr. Cadeirydd," ebe James.

"Cenad! cei di, beth bynag, genad i gynnyg a deyd faint fynoch di, tra botho'r awdurdod yn llaw i," ebe 'r hen ŵr.

"Wel, dyna oedd gen i, eisieu ffurfio cymdeithas yn ein mysg ni y ffarmwyr i wneyd trysorfa at helpio gweision a morwynion, pan fyddant yn priodi, i gael ychydig dan eu dwylaw i ddechreu byw—i gymeryd tyddyn bychan, os gallant ei gael, neu i symud i America, os byddant yn dewis. Rhyw reolau tebyg i hyn:—

1. Rhaid iddynt fod wedi gweini yn y plwyf am bum' mlynedd.

2. Rhaid fod eu cymeriad yn ddiargyhoedd am onestrwydd, sobrwydd, a diwydrwydd.

3. Rhaid eu bod wedi myned i'r ystâd briodasol yn anrhydeddus.

4. Rhaid iddynt gyflwyno ysgrif-dyst, wedi ei harwyddo gan bob meistr a meistres y buasent yn gweini gyda hwy, yn dangos eu llawn gymeradwyaeth o honynt fel gwrthddrychau teilwng o gymhorth y gymdeithas.

I'r dyben o sefydlu 'r gymdeithas, galwn gyfarfod cyhoedd

o holl drigolion y cwm, a F'Ewythr Robert yn y gader, a gosoder yr achos o flaen y cyfarfod; ac ar y diwedd, i bob meistr a meistres, gwas a morwyn, i ddodi eu henwau i lawr, a'r swm a roddant yn flyneddol at y drysorfa wrth eu henwau. I'r arian gael eu cadw yn llaw y trysorydd am bum' mlynedd;—ni wn am neb i fod yn drysorydd gwell'na Mr. Richard Evans—ond gwaith y cyfarfod fyddai dewis y swyddogion.

Bod y cyfarfod cyhoeddus i gael ei gynnal un waith, o leiaf, bob blwyddyn, pryd y byddai i'r ysgrifenydd roddi adroddiad o sefyllfa y gymdeithas—pa fodd y byddai y talion yn dyfod i mewn, &c.

Wedi y delai y bummed flwyddyn i fyny, bod, os byddai appelion am gynnorthwy, i'r personau gael eu nodi i'r cyfarfod, eu llythyrau cymeradwyaeth gael eu darllen, ac os byddai rhyw-un â chanddo wrthwynebiad i'w cais, iddo gael cyfle i hysbysu hyny ar y pryd, ac i fwyafrif y cyfarfod benderfynu yr achos, a'r swm a roddid o'r drysorfa i'r rhai a gymeradwyid.

Nid yw hyn yna ond rhyw fraslun o beth, i ddangos i chwi natur yr amcan. Y peth cyntaf oll fyddai galw *committee*, ac i hwnw, os cytunid ar yr amcan, ffurfio y rheolau.

Yr wyf yn meddwl fod eisieu rhywbeth tebyg i hyn, i gydnabod gweinidogion fyddont wedi gwasanaethu digon o dymmor i sefydlu eu *caritor* fel rhai diwyd, ffyddlawn, sobr, gofalus, a chynnil, yn gystal ag i fod yn gymhelliad i'r rhai ieuainc sydd yn dechreu eu bywyd fel gweision a morwynion i ennill iddynt eu hunain y fath *garitor*. Byddai ofn a gobaith fel dwy ganllaw iddynt rhag syrthio—ofn dyfod i sylw cyhoeddus drwy fethu ennill y nodwedd cymeradwy a ofynid, a gobaith anrhydedd a budd drwy ennill y cyfryw.

Rhywbeth fel yna yn fras ac yn fyr, sydd wedi bod yn troi yn fy mhen i er's cryn amser." [*Clywch! clywch!*]

"Wel, yn wir, y mae peth da iawn chwedi bod yn troi yn dy ben di!" ebe F'Ewythr Robert. "Peth ellid i neyd hefyd yn ddigon hawdd, ond ymroi ati hi." Be feddyliech chi, Rhisiat?"

"Yr wyf finnau 'n hoffi cynllun James yn fawr iawn," ebe Risiart, "o ran y sylwedd o hono: a mi wnawn i fy ngoreu fel un i'w weithio fo allan, ac nid wyf yn ammheu fawr na ymunai ein cym'dogion, yn gyffredin, yn y peth. Y ffordd oreu fyddai i James dynu a threfnu ei gynllun yn fanwl, a galw rhyw bump neu chwech ynghyd, ryw noson, i'w ystyried o. Y mae llawer o gynlluniau da yn troi yn mhenau (chwedl yntau) rhai dynion, nad ydynt byth yn troi allan *o'u* penau, nes y maent yn marw yn nghroth yr ymenydd yr ymddygwyd arnynt. Y mae eisieu gollwng pethau da allan i'r gwynt, ac nid oes wybod yn y byd faint o les a wnant."

"Py tae dim ond hyny sy o honon ni yma heddyw 'n 'myroi

ati hi," ebe F'Ewythr Robert, "mi allen fod yn offryne i neyd y cwm yma yn lle byldeuog mewn trefnusrwydd a rhinwedd mewn byr amser. Taro di ati hi 'ninion, James, a mi ddown i allan hefoch di. Mi ddo i 'n gydeirydd i'r cwarfod pen fynoch di, ys gneith hyny rw les, a mi rown swm at y 'sorfa."

"Y mae y tê yn barod, os gwelwch chwi fod yn dda," ebe Mrs. Harris. "Rhaid i ni roi cwpanaid o dê i F'Ewythr Robert, er mor chwerw y mae o wedi 'n trin ni, y gwragedd yma, heddyw 'r prydnawn."

"Rhaid i ni gael ymbell i *scuffle* fel hono i roid *life* yn y cwarfodydd," ebe F'Ewythr Robert.

Yna cododd y cwmni at y tê.

### Y CYFARFOD HWYROL.

Wedi cyfeddach y tê, a chlirio y bwrdd, a chael pobpeth i drefn, cymerodd F'Ewythr Robert y gader drachefn: ac ebe fe:—

"'Rwy 'n gadel i farn y cwmpeini i benderfynu sut y bydde gore i ni drelio y cwarfod hwn. Mi 'roeddwn i chwedi meddwl galw ar James i fyn'd ymlaen efo'r 'Caban.' Mae 'n debic cin i, Rhisiat, ych bod chi ag Ann chwedi gwel'd a darllen y llyfr rhyfedd hwnw yn Sasneg cin hyn."

"Do," ebe Risiart, "fe ddygwyddodd i mi ei weled ar y *standing* yn *railway station* yr Amwythig, pan oeddwn yn myned i lawr i Loegr un tro; ac fe dynodd yr enw fy sylw i, ac mi a'i pryn-ais i'w ddarllen er fy nifyrwch yn y *train*, a difyrwch mawr a gefais mewn gwirionedd; mi a chwerthais ac a wylais lawer uwch ei ben, oddiyno i Lundain. Yr oedd gŵr ieuanc yn eistedd yn agos ataf, yn darllen yn ddiwyd yr holl ffordd: teflais fy ngolwg arno unwaith, a gwelwn ei ddagrau yn llifo tros ei ruddiau, ac erbyn i mi edrych, beth oedd ganddo yntau, ond 'Caban F'Ewythr Tomos.' Y mae Ann yma wedi ei ddarllen o lawer gwaith trosodd; ac mae yn debyg nad oes nemor i un ag sydd yn medru darllen, i'w gael, nad ydyw wedi darllen y 'Caban' erbyn hyn."

"Mi gynnygiwn i," ebe James, "i ni oedi y 'Caban' am heno, gan fod y cwmni yma, y rhan fwyaf, yn gydnabyddus âg ef. Caf fi ddyfod acw o dro i dro, i adrodd y gweddill o'i gynnwys-iad i chwi a Modryb Elin; a chewch chwithau ymgomio â'ch gilydd heno."

"Wel, mi 'rydw i'n ddigon bodlon iddi hi fod felly 'nte, o'm rhan i," ebe F'Ewythr Robert. "Os oes gin un o honoch chi rw bwnc i'w roid i lawr, dowch ag fo."

Wedi bod enyd o ddystawrwydd—

"A welodd rai o honoch chwi y '*Key to Uncle Tom's Cabin?*'"

gofynai Risiart Ifan. "Ni welais i mo hono eto—ni a hoffwn gael golwg arno."

"Ci!" ebe F'Ewythr Robert—"oedd F'Ewyrth Tom yn cadw ei? A mhle 'rydach chi 'n meddwl y gwele 'run o honon ni yn y wlad yma i gi fo?"

"Llyfr ydyw hwnw hefyd, F'Ewythr Robert," ebe James, "o waith yr un awdures."

"Wel, deydyd hanes rw gi oedd gin F'Ewyrth Tomos y mae o. Rhaid i ni gael hwnw i Jacki ni—mae o 'narw am gŵn."

"Na: y gair Seisneg am agoriad, neu allwedd, ydyw *key*, F'Ewythr Robert," ebe James. "A phrofi mae yr awdures yn hwnw wirionedd y pethau a ddywed hi yn y 'Caban;' ac mai nid dychymygion disail oedd y llyfr hwnw. Yr oedd llawer yn haeru felly am dano—yn dywedyd mai tynu darluniadau ffugiol yr ydoedd; ac nad oedd caethwasiaeth, mewn gwirionedd, ddim yn fath beth ysgeler a chreulawn, ag oedd hi wedi ei ddesgrifio. Y mae hithau, yn y '*Key*,' yn dwyn ffeithiau lawer ymlaen i ddangos a phrofi fel arall. Ac y mae y drwg fel y mae, yn cael ei arddangos trwy ffeithiau noethion yn y '*Key*,' i'w weled yn fwy dychrynllyd o'r ddau, nag yn yr arlun a roddir o hono yn y 'Caban.'"

"O! yr ydych chwi wedi gweled a darllen y llyfr, mi a feddyliwn, James," ebe Mrs. Evans.

"Do; y mae y llyfr genyf" ebe James—a dyma fo; chwi a ellwch gael ei fenthyg am wythnos neu ddwy."

"Wel, aros di," ebe F'Ewythr Robert, "wyt ti ddim am i mi gael gwbod dim sydd yntho fo? Be fydde i ti roid rw 'anesyn i ni 'rwan—mi fydde 'n beth newydd i bawb o honon ni, gin nad oes yma neb wedi gweled y llyfr o'r blaen."

"Y mae yn anhawdd, mewn mynyd fel hyn, i ddisgyn ar stori bwrpasol," ebe James; "ond os ewyllysiwch gael golwg gymhariaethol ar gyfreithiau y caethion Hebreaidd, dan yr Hen Destament, a chyfreithiau y caethion fel y maent yn awr yn America dan oruchwyliaeth y Testament Newydd; y mae y bennod ar y mater hwnw wedi ei chyfieithu genyf yn barod. Cefais i addysg a goleuni ar rai o gyfreithiau Moses yn y bennod hon, nad oeddwn wedi ei weled a'i ddeall o'r blaen"

"Wel, gâd i nine 'i gael o," ebe F'Ewythr Robert. "Mi fum i'n holi Neli yma 'rw nosweth, ar y cwestiwn ene; a mi fu hithe 'n ceisio sponio i mi, a mi 'roeddwn i 'n meddwl i bod hi 'n craffio 'n o dda, ond mi liciwn i glowed chwaneg ar y mater. Pawb sydd o'r un feddwl, coded i law!" [Pawb yn gwneyd!]

"Felly finnau," ebe Risiart Ifan; "canys yr wyf yn deall fod cyfraith Moses yn ddinas noddfa, lle y bydd perchenogion caethion, a'r dadleuwyr tros gaethiwed, yn America, yn arfer rhedeg bob amser. Pan wasger arnynt yr ystyriaeth ei bod yn anghyfreithlawn a phechadurus i gadw caethion, gwaeddant yn

erbyn pob dyddymydd, fel yr Iuddewon gynt yn erbyn Stephan, 'Nyni a'i clywsom ef yn dywedyd geiriau cabledd yn erbyn Moses a Duw.'"

"Gwylian nhwthe rhag y bydd i Moses, yn yr hwn y maent yn ymddiried, droi yn gyhuddwr a chondemniwr arnyn nhw, fel yr hen Iuddewon gynt," ebe Modryb Elin.

"Hwyrach y byddai yn burion i mi roddi crynodeb o farnau a phenderfyniadau y cytunwyd arnynt mewn synodau a chyfarfodydd o wahanol bleidiau crefyddol yn America, yn mherthynas i gaethwasiaeth, cyn darllen i chwi yr hyn a ddywed Mrs. Stowe ar gyfreithiau Moses a chyfreithiau y wlad hono," ebe James. 'Sylwedd y penderfyniadau y cytunid arnynt sydd fel y canlyn:—

'1. Bod caethwasiaeth yn sefyllfa berthynasol mor ddiniwed, ag ydyw y berthynas rhwng plentyn a rhieni, gŵr a gwraig, neu unrhyw berthynas gyfreithlawn arall mewn cymdeithas.

'2. Ei fod yn cydsefyll â gofal tyner a brawdgar am lesiant y caeth.

'3. Na ddylid dysgyblu meistriaid am werthu caethion heb eu cydsyniad."

"Wel, bobol anwyl! glowsoch chi 'rioed fath beth!" ebe F'Ewythr Robert. "Mae 'r siort ene o ddynion yn ffit i fod yn y Bedlem yn ddigon siwr. Deydyd fod slafri yn cydsefyll â brawdgarwch a gofol am les y caethwas; ac ar yr un gwynt, yn deydyd na ddylid dyscyblu na beio y mistar am 'i werthud o wel ceffyl, heb ofyn i gydsynied o!"

"Gwrandewch eto!" ebe James.

"A oes eto drysorau drygioni o fewn tŷ y gŵr anwir," ebe Mrs. Evans.

"Oes y mae," ebe James: "gellid yn ddigon priodol gymhwyso geiriau Jeremia at yr Eglwys Gristionogol yn America: 'Canys yn mysg fy mhobl y ceir anwiriaid, y rhai a wyliant megys un yn gosod maglau: gosodant offer dinystr, dynion a ddaliant. Fel cawell yn llawn o adar, felly y mae eu tai hwynt yn llawn o dwyll; am hyny y cynnyddasant ac yr ymgyfoethogasant. Tewychasant, dysgleiriasant, aethant hefyd tuhwnt i weithredoedd y drygionus; ni farnant farn yr amddifad, eto ffynasant; ac ni farnant farn yr anghenus.'"

"Y mae rhywbeth yn cael ei ddweyd ar ol hyn yna," ebe Modryb Elin, "os wyf fi 'n cofio iawn—'Onid ymwelaf am y pethau hyn? medd yr Arglwydd; oni ddial fy enaid ar gyfryw genedl a hon?'"

"Wel," ebe James, "yn

"4. Bod yr hawl i brynu, gwerthu, a dal dynion, i'r pwrpas o wneyd elw o honynt, wedi 'i rhoddi trwy ganiatad penodol Duw.

"5. Bod y cyfreithiau a waharddant roddi addysg i'r caeth yn rhai uniawn, ac yn teilyngu cymeradwyaeth y dosbarth ystyriol o'r wladwriaeth Gristionogol."

"Os nad ydyw pethau o'r fath yna yn gableddau rhyfygus," ebe Risiart Ifan, "ni wn i pa beth a ddichon fod felly! Pe buasent wedi cytuno arnynt mewn *committee*, 'yn eisteddfa 'r gwatwarwyr,' ni buaswn yn synu cymaint: a dywedaf na allai un eisteddfa o watwarwyr, a gelynion crefydd ar y ddaear, ffurfio penderfyniadau mwy arswydus a chableddus. Ond pwy, a pha fath bobl oedd y rhai a deimlent ar eu calonau gytuno ar, a dadgan y fath syniadau?"

"Pasiwyd y penderfyniad cyntaf (atebai James), gan yr *Harmony Presbytery*, South Carolina; yr ail, gan y *Charleston Union Presbytery*, S. C.; a'r trydydd, gan y *New School Presbyterian Church*, Petersburgh, Va.; a'r pedwerydd a'r pummed gan y Parch. James Smylie, a'i *Bresbyteries*.

"Gwrandewch eto ar benderfyniadau y cytunwyd arnynt gan gymdeithasfa y Bedyddwyr—

'6. Nad ydyw caethwasiaeth yn fater o foesoldeb, o gwbl; ond un o drefniad gwladwriaethol yn hollol.

'7. Bod hawl y meistriaid ar amser eu caethion yn cael ei chydnabod yn bendant gan Greawdwr pob peth.

'8. Yn absennoldeb dadguddiad newydd o'r nefoedd, nid oes gan un dyn awdurdod i gyhoeddi bod caethiwed yn bechadurus.

'9. Bod ysgariad y caethion oddiwrth eu gilydd, trwy werthiant, i gael ei ystyried fel ysgariad trwy angeu; a dylid caniatau i'r pleidiau ysgaredig felly ail briodi.

"Ac fel hyn y dywed *Conference* Wesleyaidd Georgia:—

'Nad yw caethwasiaeth, fel yr hanfoda yn y Taleithiau Unol, yn ddrwg moesol.'

"Ac fel hyn hefyd y penderfyna y *Methodist Church*:—

'Nad ydyw tystiolaeth aelodau negroaidd yr eglwysi i gael ei derbyn yn erbyn dyn gwyn.'"

"Wel, dene ddeg gorchymyn, ac un yn mendin o blaid y pwnc," ebe F'Ewythr Robert. "Dene 'r gwhanol sectie 'n cytuno â'u gilydd, ar un pwnc, beth bynag, i geisio golchi 'r du yn wyn. Y Persbuterians yn rhoid sebon, a'r Batys yn 'i drochid ac yn 'i rwbio fo—a'r Wesleuans yn cymryd towel i'w sychud o; ond fase waeth iddyn nhw beidio—mae cin ddued a'r cythrel eto; a mae nhwthe 'i hinen chwedi myn'd mor ddued a simne y fagddu, yn y ngolwg i, i'w galyn o."

"Rhaid i chwi ddeall hyny hefyd," ebe James, "bod llawer o gyfarfodydd a chymdeithasfaoedd eraill, perthynol i'r gwahanol enwadau hyn ac eraill, wedi ardystio yn y modd cryfaf, lawer gwaith, yn erbyn caethwasiaeth, gan ei gyhoeddi a'i ddadgan yn bechadurus ac ysgeler; ac wedi arfer pob moddion i godi teimlad

yr eglwysi a'r wlad yn ei erbyn, mewn trefn i'w ddyddymu. Dylem gofio hyn, rhag i ni gondemnio eglwysi Cristionogol America gyda 'u gilydd yn ddiwahaniaeth."

"Wel, mi elli di fyn'd ynghyd â darllen y bennod hono o'r "Ci,"—be wyt ti 'n 'i alw fo ?—i ni 'rwan," ebe F'Ewythr Robert.

"Yn debyg i hyn y dywed yr awdures:—

'Wedi i mi o'r blaen gymharu y gyfraith Americanaidd â'r hen gyfraith Rufeinig, mewn perthynas i gaethwasiaeth, nyni a'i cymharwn yn awr âg un rheithiad arall o gyfreithiau caethion, sef yr un Hebreig.

'Y mae y cymhariad hwn yn un pwysig, oblegid fod caethwasiaeth Americanaidd yn cael ei hamddiffyn ar y sail fod Duw wedi caniatau y caethwasiaeth Hebreaidd.

'Yn awr, y gofyniad yw, Pa ryw fath o gaethwasiaeth oedd yr un a ganiatëid yn mysg yr Hebreaid ? Oblegid, yn mysg y gwahanol genedloedd, gelwid trefniadau tra gwahanol wrth yr enw cyffredinol o gaethwasiaeth.

'Bod y sefyllfa batriarchaidd o gaethwasanaeth a hanfodai yn amser Abraham, yn beth gwahanol iawn i'r gaethwasanaeth Americanaidd, a ymddengys yn amlwg iawn oddiwrth ychydig o ddygwyddiadau dynodol a grybwyllir yn yr hanes ysgrythyrol; canys ni a gawn fod gan Abraham, y pryd yr ymwelodd yr angelion â'i dŷ, dri chant o weision a anesid yn ei dŷ,—i Abraham ei hunan brysuro a chymeryd llo, a'i ladd ef, a'i roddi at lanc i'w barotoi,—ac iddo erchi i Sara gymeryd tair phiolaid o flawd peilliad, a'i dylino, a'i wneyd yn deisenau; ac wedi i bobpeth gael eu parotoi, iddo ef ei hun eu dwyn a'u gosod ger bron ei ymwelwyr.

'Oddiwrth amryw ddygwyddiadau eraill a grybwyllir yn yr hanes batriarchaidd, ymddengys bod y gweision hyn yn dal mwy o gyffelyb berthynas aelodau *clan* Ysgotaidd â'u harglwydd gwirogaethol, gynt, nag o'r berthynas a hanfodai rhwng meistr Americanaidd a'i gaethwas. Ymddengys, pe buasai i Abraham farw yn ddiblant, mai ei ben gwas fuasai ei etifedd; *Gen.* xv. 3.

'O ba fath, gan hyny, ydoedd y gaethwasiaeth a ganiatäai Duw yn mysg yr Hebreaid ? Pa fath gyfreithiau a'u rheoleiddient ?

'Yn y Testament Newydd, lleferir am yr holl weinyddiaeth Hebreaidd fel un gymhariaethol anmherffaith, ac fel wedi ei difreinio gan yr oruchwyliaeth Gristionogol; *Heb.* viii. 13.

'Dysgir ni fel hyn i olygu y trefniant Hebreaidd fel trefniant o addysg, drwy yr hon yr oedd cenedl ddarostyngol, hannerwareiddiol, a gawsai ei llygru gan gaethwasiaeth yn ei ffurf waethaf yn mysg yr Aiphtiaid, i gael ei dyrchafu yn raddol i gyflwr o goethder a dynoliaeth.

'Pan aethant allan o'r Aipht, ymddengys bod yr ymarferion personol adgasaf, a'r halogedigaethau mwyaf annaturiol yn

ffynu yn eu mysg, fel ag yr oedd yn anghenrheidiol ffurfio y cyfreithiau mewn perthynas i bethau ag y mae Cristionogaeth wedi alltudio eu coffadwriaeth oddiar y ddaear.

'Heblaw hyn oll, yr oedd amlwreicaeth, rhyfel, a chaethwasiaeth, yn bethau cyffredinol yn mysg yr holl genhedloedd.

'Dangosir yn y Testament Newydd, bod Duw, wrth addysgu y bobl hyn, yn myned ymlaen yn y modd araf-raddol ag y gwna tad doeth gyda thylwyth o blant.

'Neillduodd ychydig o'r arferion mwyaf drygionus, a gwaharddai hwynt â chyfraith gaeth, dan boenedigaeth y cosbau llymaf.

'Yr oedd addoli Duw arall dan y gyfraith Iuddewig yn deyrnfradwriaeth, ac a gosbid â marwolaeth.

'Fel na ellid gweinyddu y wybodaeth o Dduw, ac addysg grefyddol y pryd hyny trwy argraffu llyfrau, fel yn awr, neillduid un dydd o'r wythnos er mwyn cadw yn meddyliau y bobl y wybodaeth o Dduw, a'u rhwymedigaethau iddo. Defnyddiad y dydd hwn at ryw bwrpas arall a gosbid â marwolaeth; ac y mae y rheswm am hyny yn amlwg;—ei gadwraeth yn sanctaidd oedd y prif foddion i gadw y genedl yn eu ffyddlondeb i'w brenin a'u Duw; a'i halogiad, o anghenrheidrwydd, a arweiniai yn uniongyrchol i deyrnfradwriaeth yn erbyn y Goruchaf Lywydd.

'Gyda golwg ar lawer o ymarferion eraill a ffynent yn mysg yr Iuddewon, fel yn mysg cenedloedd eraill, yr ydym yn gweled y Bod Mawr yn cymeryd yr un llwybr ag a gymerai llywodraethwyr dynol doeth.

'Pan ewyllysiai Lycyrgus alltudio arian, a'r rhuseddau cysylltiedig â hwy, o Sparta, ni waharddodd eu harfer trwy gyfraith bendant uniongyrch, ond efe a sefydlodd gylchdaliant mor anghyfleus a thrafferthus, fel ein hysbysir gan Rollin, y cymerai gâr a phâr o ychen i ddwyn adref bris ychydig o eiddo.

'Yn y cyffelyb fodd y darfu i'r Brenin Mawr amgylchu yr arferion o amlwreiciaeth, rhyfel, dialwaedgarwch, a chaethwasiaeth, a gosodiadau a dueddent yn raddol a sicr i'w dileu yn hollol.

'Ni hònai neb fod y cyfreithiau a sefydlai Duw, gyda golwg ar amlwreiciaeth, dinasoedd noddfa, &c., yn dal un berthynas â chenedloedd Cristionogol yn awr.

'Rhoddir y crynodeb canlynol o'r cyfreithiau Moesenaidd hyn, gan Dr. C. E. Stowe, proffeswr llenyddiaeth Feiblaidd yn Athrofa Andover.

1. Erchai i Hebrëwr, er iddo fod yn ŵr priod, a gwraig â phlant yn fyw ganddo, i gymeryd gweddw ddiblant brawd trengedig, a chyfodi hâd i'w frawd o honi; *Deut.* xxv. 5—10.

2. Caniatëid i'r Hebreaid, dan osodiadau penodol, i wneyd

gordderchadon, neu wragedd dros ryw dymmor, o ferched a gymerid mewn rhyfel; *Deut.* xxi. 10—19.

'3. Caniatëid i Hebrëwr, â chanddo wraig, i gymeryd gwraig arall, ar yr ammod iddo barhau ei gyfathrach briodasol â'i wraig gyntaf, ac ymddwyn yn dirion a serchog tuag ati; *Ecsod.* xxi. 9—11.

'4. Yn ol y gyfraith Foesenaidd, gallai y câr agosaf i Hebrëwr llofruddiedig, erlyn ar ol y llofrudd, a'i ladd, oni allai ddianc i'r ddinas noddfa; a rhoddid yr un goddefiad mewn achos o lofruddiad damweiniol; *Num.* xxxv. 9—39.

'5. Gorchymynid i'r Israeliaid ddyfetha y Canaaneaid, yn wŷr, gwragedd, a phlant; *Ecsod.* xxiii. 25.

'Gellir cyfiawnhau unrhyw un neu yr oll o'r pethau uchod, trwy gyfraith Moses, yn gystal a chaethwasiaeth.

'Yr oedd pob un o'r cyfreithiau hyn, er yn ei thymmor priodol, ei bod yn ddeddf esmwythaol, wedi ei bwriadu i gymeryd lle rhyw ymarferiad barbaraidd, ac i fod yn ddolen gysylltiol, drwy yr hon y dygid cymdeithas i ystâd uwch a choethach,—perthynent, meddwn, i'r trefniant hwnw y dywed Paul am dano, na pherffeithiodd ddim. Y mae yn rhan o'r gorchymyn y dywed ef ddarfod iddo gael ei ddileu o herwydd ei lesgedd a'i afles, a'r hwn, yn yr amser ag yr oedd ef yn ysgrifenu, oedd wedi myned yn hen, ac yn oedranus, ac yn barod i ddiflanu. A Christ ei hun a ddywed, gyda golwg ar rai o ddefodau y trefniant hwn, eu bod wedi eu caniatau ar gyfrif 'caledwch calonau' y bobl, am y buasai ymgais i arosod trefniant llymach, y pryd hwnw, o herwydd llygredigaeth dynol, yn cynnyrchu drygau mwy.

'Y golygiadau canlynol ar y caethgyfreithiau Hebrëaidd, a gymerir allan o waith Baines ar gaethwasiaeth, ac o ddarlithiau y Proffeswr Stowe.

'Dechreuai y darddeddfiad (*legislation*) drwy wneuthur ffynnonell fawr wreiddiol caethwasiaeth—dynladrad—yn drosedd marwol.

'Y mae y deddfiad fel y canlyn:—'Yr hwn a ladratao ddyn ac a'i gwertho, neu os ceir ef yn ei law ef, rhodder ef i farwolaeth.'

'Nid oedd gan hyny ond tair ffordd oddefol i gael caethweision. Yn gyntaf, gwirfoddol ymwerthiad dyn ei hun, yr hyn, yn sicr, nid yw yn dyfod dan y nodwedd o gaethwasiaeth anewyllysgar neu orfodol; a'r ail, trosiad o'r carcharorion a ddelid mewn rhyfel, i gaethiwed; a phrynu o fysg y cenedloedd.

'Gyda golwg ar wasanaeth yr Hebrëwr, dwy ymwerthiad ewyllysgar o hono ei hun—yr oedd y cyfryw i derfynu, trwy gyfraith y tir, yn mhen y saith mlynedd: felly y peth gwaethaf a ellir wneyd o hòno ydyw, cytundeb gwirfoddol i wasanaethu dros dymmor penodol.

'Gyda golwg ar y gweision a brynid o blith y cenedloedd, neu o fysg dyeithriaid yn y tir, yr oedd cyfraith yn darbodi i'w caethiwed derfynu unwaith bob deng mlynedd a deugain.

'Tybiwyd, drwy gymeryd golygiad anghysylltiedig ar un adran neillduol o'r deddflyfr Moesenaidd, bod yr Arglwydd yn cefnogi yn bendant i ymddwyn tuag at gaethwas a fyddai ddyeithrddyn neu estron, gyda mwy o lymder na chaethwas Hebreaidd. Ymddengys nad felly yr oedd yn bod oddiwrth yr enactau canlynol:—

'Bydded y dyeithr i chwi, yr hwn a ymdeithio yn eich plith, fel yr un a hanffo o honoch, a châr ef fel ti dy hun; *Lef.* xix. 34.

'Na orthryma, ac na flina y dyeithr: canys dyeithriaid fuoch chwithau yn nhir yr Aipht; *Ecsod.* xxii. 21.

'Na orthryma'r dyeithr; chwi a wyddoch galon y dyeithr;' *Ecsod.* xxiii. 9.

'Yr hwn ni dderbyn wyneb. Yr hwn a farna yr amddifad a'r weddw, ac sydd yn hoffi y dyeithr, gan roddi iddo fwyd a dillad; *Deut.* lx. 17, 18.

'Gwrandewch ddadleuon rhwng eich brodyr, a bernwch yn gyfiawn rhwng gwr a'i frawd, ac a'r dyeithr sydd gydag ef; *Deut.* i. 16.

'Melldigedig yw 'r hwn a wyro farn y dyeithr;' *Deut.* xxvii. 19.

'Yn hytrach na gwneuthur caethwasiaeth yn sefydliad gorthrymus gyda golwg ar y dyeithr, gwnaeth Duw hi yn drefniant yn yr hon y derbynid y cenedlddyn i'r wladwriaeth Iuddewig; addysgid ef yn ngwybodaeth ac addoliad y gwir Dduw, ac adferid iddo ei ryddid mewn amser.

'Yn y lle cyntaf, amddiffynai y gyfraith ef rhag trawsder personol. Buasai colli llygad neu ddant, trwy drawsder ei feistr, yn cymeryd y caeth yn rhydd odditan awdurdod ei feistr yn hollol, ac yn ei wneyd yn ŵr rhydd. Ac ymhellach na hyn, os buasai ymddygiad meistr tuag at gaethwas yn gyfryw ag a barai iddo redeg ymaith, darbodid na byddai i neb gynnorthwyo i'w adgymeryd ef, ond bod iddo gael trigo yn y fan a ddewisai o'r wlad, heb i neb ei folestu. Yn drydydd, yr oedd y gyfraith yn diogelu rhan dda o'i amser i'r caeth, at ei ewyllys a'i gyfleusdra ei hun; yr oedd pob seithfed flwyddyn i fod felly, a'r seithfed dydd o anghenrheidrwydd; *Ecsod.* xx. 10.

'Yr oedd y caethwas i gael y rhagorfraint o fyned i'r tair gŵyl fawr flyneddol, pan yr oedd holl wrywod y genedl i ymddangos ger bron Duw yn Jerusalem; *Ecsod.* xxxiv. 23.

'Cymerai pob un o'r gŵyliau hyn, fe dybir, tua thair wythnos o amser. Yr oedd y caethwas hefyd i gael ei dderbyn yn westwr yn y gŵyliau teuluaidd. Dywedir yn *Deut.* xii. 12, 'A llawenhewch ger bron yr Arglwydd eich Duw, chwi, a'ch meibion, a'ch merched, a'ch gweision, a'ch morwynion, a'r Lefiad a fyddo yn eich pyrth chwi.'

'Cyfrifa Dr. Barnes bod yr holl amser a ddiogelid i'r caethwas, yn gwneyd i fyny tua thair blynedd ar hugain o ddeg a deugain, neu yn agos i hanner ei amser.

'Drachefn, yr oedd y caethwas yn cael ei osod yn hollol gydraddol â'i feistr yn mhob peth a berthynai i grefydd.

'Yn awr, os ystyriwn bod Duw, yn amser Moses, yn Dduw ac yn frenin y genedl, a bod y berthynas wladwriaethol a'r un grefyddol yr un a'r unrhyw, fe ymddengys fod y meistr a'r caethwas yn gydraddol yn eu perthynas wladol â'r llywodraeth.

'Fel y canlyn y desgrifir y gymanfa genedlaethol arbenig a gynnelid o flaen marwolaeth Moses, yn *Deut.* xxix, pan elwid ar yr holl genedl, wedi gwneuthur adolygiad difrifol o'i hanesiaeth genedlaethol, i adnewyddu eu llw o ffyddlondeb teyrngarol i'w goruchaf Arglwydd a Barnwr.

'Ar yr achlysur hwn, anerchai Moses hwy fel hyn:—'Yr ydych chwi oll yn sefyll heddyw ger bron yr Arglwydd eich Duw; penaethiaid eich llwythau, eich henuriaid, a'ch swyddogion, a holl wŷr Israel, eich plant, eich gwragedd, a'th ddyeithr-ddyn yr hwn sydd o fewn dy wersyll, o gymynydd dy goed, hyd wehynydd dy ddwfr; i fyned o honot dan gyfammod yr Arglwydd dy Dduw, a than ei gynghrair ef, yr hwn y mae yr Arglwydd dy Dduw yn ei wneuthur â thi heddyw."

'Pa mor wahanol ydyw hyn i'r dadganiad pwyllog pendant a wnaeth Carolina ddeheuol, yn mherthynas i gyflwr caethwas Americanaidd!—'Nid yw y caethwas, yn gyffredinol, i'w olygu fel *yn gymhwys o fod yn perthynu i'r wladwriaeth*,—nid yw ef yn ddinesydd, ac nid yw yn y cymeriad hwnw yn gallu hawlio ei hamddiffyniad.'—"*Wheeler's law of Slavery*;" tudal. 243.

'Yn yr holl ordeiniadau crefyddol, y rhai, fel y gwelsom yn nghyfansoddiad y genedl, oeddynt ordeiniadau gwladol, yr oedd y caethwas a'r meistr yn ymgyfarfod ar dir o gydraddoldeb perffaith. Nid oedd dim o'r gwahaniaeth a berthynai i ddosbarth neu raddoliaeth. Nid oedd dim gwasanaeth penodol wedi ei appwyntio iddynt hwy, ar amserau neillduol, ar wahân oddiwrth y meistri. Nid oedd dim eisteddleoedd neillduol wedi eu darparu iddynt, i gadw i fyny yr ymsyniad eu bod yn ddosbarth israddol. Ni chedwid oddiwrthynt yr addysg a rydd gair Duw am hawliau cyfartal dynolryw.

'*Yn bummed*, Golygid bob amser, fel mater o anghenrheidrwydd, y byddai i'r caethwas, mewn amser, ddewis y grefydd Iuddewig a gwasanaeth Duw, ac ymgyflwyno yn ewyllysgar i fyned dan holl rwymedigaethau a gwasanaeth y cyfammod Iuddewig.

'Cofnoda Mr. Barnes, eiriau Maimonides, i ddangos fel yr oedd hyn yn cael ei ddeall yn gyffredinol gan yr Hebreaid:—

'Pa un bynag ai wedi ei eni o dan awdurdod Israelwr, ai wedi ei brynu o fysg y cenedloedd y byddo gwas, y mae ei feistr i'w dwyn ill dau i fewn i'r cyfammod.'

'Ond y mae yr hwn a aner yn tŷ i gael ei gyflwyno ar yr wythfed dydd; a'r hwn a bryner am arian, ar y dydd y pwrcaswyd, os na fydd y caethwas yn anfoddlawn. Oblegid os bydd i'r meistr bwrcasu caethwas mewn oed, ac yntau yn anfoddlawn, rhaid i'r meistr gydddwyn âg ef, a cheisio ei ennill trwy addysgiad, a thrwy gariad, a thiriondeb, am un flwyddyn. Wedi hyny, os bydd yn parhau yn anfoddlawn, y mae yn waharddedig i'w gadw tros fwy na blwyddyn: a rhaid i'r meistr ei anfon yn ol at yr estroniaid o'r lle y daethai; oblegid ni chymeradwya Duw Jacob unrhyw wasanaeth ond a fyddo o galon ewyllysgar.'—" *Maimon Hilcoth Miloth.*"

'*Y chweched* ardrefniant penodol gyda golwg ar y caethwas Hebreaidd ydoedd, *nad ellid byth mo'i werthu.* Ar y mater hwn sylwa Mr. Barnes fel y canlyn:—

'Gallai Hebrëwr brynu dyn dan amgylchiadau neillduol; ond wedi ei brynu, dyna ddiwedd ar y mater. Nid oes rhithyn o dystioliaeth i brofi ddarfod i un Hebrëwr erioed werthu caethwas; ac nid oes un darbodiad gyda golwg ar y fath beth yn nghyfansoddiad ffurflywodraeth y wladwriaeth. Dywedir am Abraham, bod ganddo weision a brynesid am arian; ond nid oes air o son ddarfod iddo erioed werthu un, ac nid oes son chwaith ddarfod i hyn erioed gael ei wneyd gan Isaac a Jacob. Yr unig anghraifft o werthiad o'r fath hwn ymhlith y patriarchiaid, ydyw y weithred hòno o eiddo brodyr Joseph, yr hon a ddelir i fyny yn wrthddrych o'r anghymeradwyaeth mwyaf, trwy yr hon y gwerthasant ef i'r Ismaeliaid. Rhoddir goddefiad yn neddf Moses i brynu caethwas, ond dim i'w werthu ef drachefn; ac y mae y ffaith nad oes y fath oddefiad wedi ei roddi, yn ddigon o brawf nad oedd hyny i fod. Pan ddygid ef i mewn i'r berthynas hòno, yr oedd yn sicr nad oedd un cyfnewidiad i fod, os na byddai i hyny gymeryd lle yn wirfoddol o'i du ef (Cymharer *Ecsod.* xx'. 5, 6); neu os na roddai ei feistr ei ryddid iddo, hyd yr amser hwnw nad oedd ymhell, a nodasai y gyfraith iddo fod yn rhydd. Nid oes ddarpariaeth yn nghyfraith Moses drwy yr hwn yr oedd gweision i gael eu cymeryd am ddyled y meistr, neu i gael eu rhoddi fel gwystlau, neu i gael eu traddodi i gadwraeth eraill, neu i gael eu rhoddi ymaith fel anrhegion. Nid oes dim dygwyddiadau o'r fath hyn yn cael eu crybwyll am danynt yn yr hanesyddiaeth Iuddewig. Y mae y gyfraith hon yn bendant gyda golwg ar y caethwas Hebreaidd, ac yr oedd egwyddor y gyfraith yn gymhwysiadol at y lleill oll. *Lef.* xxv. 42: 'Na werther hwynt fel caethweision.' Yn yr holl bethau hyn, yr oedd gwahaniaeth mawr ac amlwg, fel yn ddiammhau yr amcenid i fod, rhwng y cyfrif a wneid o weision, ac o feddiannau.' '*Inquiry,*' &c.: tudal. 133—136.

'Gyda golwg ar weithrediadau ymarferol y trefniant hwn, fel y dangosir hwy yn y dygwyddiad a grybwyllir yn yr hanes sanctaidd, y maent yn hollol yr hyn a ddysgwyliasem oddiwrth y

fath gorff o gyfreithiau. Er angharifft, cawn grybwylliad achlysurol yn y nawfed bennod o lyfr cyntaf Samuel, ddarfod i Samuel, pan ddaeth Saul a'i was ato, mewn rhag-ddysgwyliad y buasai i Saul gael ei goroni yn frenin, arlwyo gwledd fawr iddo, ac medd yr hanes, 'A Samuel a gymerth Saul a'i lanc, ac a'u dug hwynt i'r ystafell, ac a roddodd iddynt le o flaen y gwahodd-edigion.' Ni a ddarllenwn hefyd, yn 2 *Sam.* ix. 10, am was o dŷ Saul, yr hwn oedd ganddo etifeddiaethau helaeth, ac ugain gwas o'r eiddo ei hun. Yn 1 *Cron.* ii. 34, ni a gawn adroddiad o amgylchiad fel hyn;—'Ac nid oedd i Sesan feibion, ond merched: ac i Sesan yr oedd gwas o Aiphtiad, a'i enw Jarha. A Sesan a roddodd ei ferch yn wraig i Jarha ei was.' A ydyw hyn yn dwyn tebygoliaeth i'r gaethwasiaeth Americanaidd?

'Yr ydym yn canfod hefyd nad oedd y cysylltiad hwn yn cael edrych arno yn waradwyddus mewn un modd, oblegid cofrestrir ŵyr i'r wraig hon ymhlith cedyrn Dafydd; 1 *Cron.* xi. 41.

*Yn olaf*, Nid ydym yn synu wrth ganfod ddarfod i osodiadau Moses, mewn effaith, ddileu holl nodweddion caethwasiaeth, fel yr oedd wedi hollol ddarfod yn mysg yr Iuddewon yn hir cyn amser Crist. Gofyna Mr. Barnes

'Ar ba dystiolaeth y pwysa dyn i geisio profi bod caethwasiaeth o gwbl yn bod yn y wlad yn amser y prophwydi diweddaf — y Maccabeaid—neu pan ymddangosodd y Gwaredwr? Y mae digon o brofion ei fod yn hanfodi yn nhir Groeg, a Rhufain; ond pa dystiolaeth sydd ei fod yn hanfodi yn Judea? Mor belled ag y gellais i gael allan, nid oes dim profion i'w cael ei fod, nac yn llyfrau canonaidd yr Hen Destament, nac yn Josephus. Nid oes un cyfeiriad at gyfreithiau na defodau a gynnwysa ei fod yn hanfodi. Nid oes na bathodau na cherfiau yn ei dybio; nid oes unrhyw ffeithiau na ellir yn hawdd eu hegluro ar y dybiaeth fod caethwasiaeth wedi darfod.'

'Dygid dwy wrthddadl ymlaen yn erbyn y deongliadau a roddid ar y ddwy ddarbodaeth ddeddfol a nodwyd yn flaenorol.

'1. Dywedir bod y ddarbodaeth, 'Na ddyro at ei feistr was a ddiangodd atat ti oddiwrth ei feistr,' yn perthyn ond yn unig i weision a ddiangent o fysg y cenedloedd i wlad Israel.

'Cymerir y nodiadau canlynol ar y gyfran hon, allan o ddarlithiau y Proffeswr Stowe:—

'*Deut.* xxiii. 15, 16. Y mae y geiriau yn cyfansoddi deddfiad, fel pob deddfiad arall, ag sydd i'w deongli yn fanwl. Nid oes dim yn yr iaith i gyfyngu ei hystyr; ac nid oes dim chwaith yn hanesiaeth y werinyddiaeth Foesenaidd i gyfyngu y cymhwysiad o honi at achos caethion a ddiangent oddiwrth feistri estronol. Y mae y dybiaeth ei bod i gael ei chyfyngu felly yn hollol ddisail, ac mor belled ag y mae a wnelo y Beibl â'r pwnc, yn gwbl amddifad o brawf. Dywedir y buasai yn ynfydrwydd i Moses *enactio* y fath gyfraith, tra yr oedd caethwasiaeth

hanfodi yn mysg yr Hebreaid. Buasai felly, yn wir, pe amcan gweinyddiaeth Moses fuasai cynnal a pharhau caethwasiaeth. Ond os yr amcan oedd cyfyngu ac attal, ac yn y diwedd dileu caethwasiaeth, yr oedd y ddeddf hon yn gyfaddas ragorol i'r pwrpas. Mai amcan Moses ydoedd dileu, ac nid parhau caethwasiaeth, sydd yn berffaith amlwg oddiwrth holl gwrs ei weinyddiaeth ar y pwnc. Yr oedd pob caethwas i gael mwynhau yr holl ragorfreintiau crefyddol ag yr oedd gan blant ei feistr hawl iddynt. Yr oedd pob seithfed flwyddyn yn dwyn gollyngdod i'r caethwas Hebreaidd, a phob degfed flwyddyn a deugain yn dwyn rhyddid cyffredinol. Os buasai i'r meistr trwy ddyrnod damweiniol neu ddigofus amddifadu y caethwas o ddant, yr oedd y caethwas, drwy y weithred hono, yn rhydd am byth. Ac felly, gyda golwg ar y ddeddf dan sylw, os teimla y caethwas ei fod yn cael ei orthrymu, gallai ddianc; ac er nad oedd y meistr yn cael ei wahardd i'w adgymeryd os gallai, yr oedd pawb yn cael eu gwahardd i gynnorthwyo y meistr i wneyd hyny. Yr oedd y ddeddf hon, mewn ffaith yn gwneyd y gwasanaeth yn un gwirfoddol, a dyna yr hyn a amcanai Moses. Ymwnelai Moses â chaethwasiaeth yn hollol yr un fath ac âg amlwreiciaeth a rhyfel,—heb ei warafun yn uniongyrchol, efe a'i cyfyngai yn y fath fodd ac a'i dystrywiai. Yn lle tori i lawr y pren gwenwynig, efe a'i tynrwymai, ac a'i gadawai i farw o hono ei hun. Y mae rhaith yn mherthynas i hyntiau milwraidd, ag sydd yn hollol gyfatebol i'r rhaith hynod ar ffoedigaeth caethion. Pe buasai Moses yn amcanu meithrin ysbryd milwraidd yn yr Hebreaid, buasai y rheithiad yn un ffol dros ben; ond os ei amcan oedd llethu yr ysbryd hwnw, a gwneyd rhyfeloedd tramor agos yn anmhosibl, yr oedd y gyfraith yn hollol bwrpasol i'w amcan. Yr oedd yn gwneyd gwasanaeth milwraidd tramor yn un hollol wirfoddol mewn effaith, fel ag yr oedd cyfraith y caeth ffoedig yn gwneyd gwasanaeth teuluaidd yn beth gwirfoddol mewn effaith.

'Gwelir y gyfraith oll yn *Deut.* xx. 5—10. Darllener a chymharer hi yn ofalus â chyfraith y caeth ffoedig y cyfeiriwyd ati. Pan fyddai y gwŷr wedi eu trefnu yn barod i'r hynt filwrol, ar y pryd nodedig hwnw, pan fyddo calon y gwrolaf yn barod i lwfrhau, erchid i swyddogion y fyddin anerch y milwyr fel hyn:—

'Pa ŵr sydd a adeiladodd dŷ newydd, ac nis cysegrodd ef? eled a dychweled i'w dŷ, rhag ei farw yn y frwydr, ac i ŵr arall ei gysegru ef.

A pha ŵr sydd a blanodd winllan, ac nis mwynhaodd hi? eled a dychweled i'w dŷ, rhag ei farw yn y frwydr, ac i ŵr arall ei mwynhau hi.

A pha ŵr sydd a ymgredodd â gwraig, ac ni chymerodd hi? eled a dychweled i'w dŷ, rhag ei farw mewn rhyfel, ac i ŵr arall ei chymeryd hi.

Y llywiawdwyr hefyd a chwanegant lefaru wrth y bobl, ac a ddywedant, Pa ŵr sydd ofnus a meddal galon? eled a dychweled i'w dŷ, fel na lwfrhao efe galon ei frawd megys ei galon yntau.'

'Yn awr, cofiwch bod yr Hebreaid yn genedl o amaethwyr, yn gwbl felly; bod y filwriaeth yn gynnwysedig o wŷr ieuainc yn benaf, o anghenrheidrwydd, a bod pob dyn a adeiladasai dŷ newydd, ar na buasai eto yn byw ynddo, a phob dyn a blanasai winllan, ac na fwynhasai o'i ffrwyth, a phob un a ymgredasai â gwraig, ac oedd heb ei phriodi, a phob un a deimlai yn llwfr ac ofnus, yn cael caniatâd a gorchymyn gan y gyfraith hon i fyned adref. Pa nifer a fyddai yn debygol o aros ar ol? Yn neillduol, gan fod y llywiawdwyr, yn lle annog a chyffroi ysbryd milwraidd yn y bobl â rhagolygiadau o ogoniant ac enw, yn cael eu gorchymyn i gyhoeddi geiriau y gyfraith drachefn a thrachefn, y buasent yn debygol o farw yn y frwydr, ac na chawsent byth ddychwelyd adref; a dal yr ystyriaeth hon o'u blaen, fel pe buasai yr unig un gyfaddas i'w pwrpas. Mor dra chwithig yr ymddengys yr holl drefniad fel cyfraith filwraidd!—yn hollol yr un modd ag y mae y gyfraith Foesenaidd gyda golwg ar gaethion ffoedig, a'i deall yn ei chymhwysiad priodol helaethaf, i'w hystyried fel cyfraith caethiwed.

'Y mae yn eithaf amlwg mai amcan y gyfraith filwraidd hon oedd rhoddi attalfa ar ymgyrchion milwraidd; oblegid dan y gyfraith hon, yr oedd rhaid i'r cyfryw ymgyrchion fod yn rhai hollol wirfoddol; nid oedd neb i gael ei orfodi i'r fyddin. Yr un mor amlwg ydyw, mai amcan cyfraith y caethion ffoedig oedd rhoddi terfyn ar gaethiwed gorfodol; oblegid dan y gyfraith hòno, yr oedd raid i'r gwasanaeth fod yn un gwirfoddol, i raddau helaeth, a dyna yr hyn a amcanai y deddfwr. Nid oes dim posibl cyfyngu y gyfraith ar gyfrif ei hafresymoldeb, ond yn unig trwy brofi mai amcan y weinyddiaeth Foesenaidd ydoedd parhau caethwasiaeth, ac nid ei gyfyngu; a hyny nis gellir ei brofi, oblegid y mae yn eglur wrthwyneb i'r ffaith amlwg.

'Yr wyf yn dywedyd eto ynte, nad oes dim yn iaith y deddfiad hwn—nad oes dim yn y cysylltiad y saif ynddo—nad oes dim yn yr hanesiaeth Foesenaidd ar y mater hwn—i gyfyngu cymhwysiad y gyfraith at gaethion ffoedig, oddiwrth feistriaid o estroniaid—ond fod pob ystyriaeth, oddiar bob sail deg, yn ein harwain i benderfynu fel arall. Nid yw y cyfryw gyfyngiad ar ei chymhwysiad, ond hòniad disail yr esboniwr, yn ol ei archwaeth a'i ddymuniad ei hun, a dim arall. Yr unig gysgod o ddadl ieithyddol a allaf fi ganfod, a welir yn yr ymadrodd *atat ti*, yn y bymthegfed adnod. Gellir haeru bod y rhagenw *ti*, i'w ddeall mewn ystyr genedlaethol, ac nid personol, yn cynnwys ffoedigaeth oddiwrth ryw genedl arall at yr Hebreaid; ond ystyrier y gyfran ag sydd yn uniawn o flaen yr un dan sylw, a

sylwer ar y defnydd a wneir o'r rhagenw *ti* yn y drydedd adnod ar ddeg. Y mae yn eithaf amlwg bod y rhagenwau yn y deddfau hyn yn cael eu defnyddio gyda golwg ar y personau a gyferchir, ac nid mewn ystyr genedlaethol yn unig; anaml iawn, os byth, y gellir rhoddi yr ystyr a ofyna y ddau y cyfeiriwn ati iddynt.

'2. Dywedir bod y cyhoeddiad, 'A chyhoeddwch yn y wlad i'w holl drigolion, yn golygu y caethion Hebreaidd yn unig. Seilir yr haeriad hwn yn hollol ar y dyb nad oedd y caeth yn cael ei olygu, gan y gyfraith Hebreig, yn ddynsawd, yn ddinesydd o'r wladwriaeth, ac yn aelod cymdeithas; ond yr ydym wedi dangos bod cymynydd y coed a gwehynydd y dwfr, yn cael ei gydnabod fel y cyfryw yn ogystal a'i feistr; ac afresymol fyddai tybied ei fod yn cael ei gau allan mewn cyfraith a anerchai holl drigolion y wlad.

'Cadarnha Barnes y dyb hon mewn amryw dudalenau o ddyfyniadau o weithiau ysgrifenwyr Iuddewig, yr hyn a rydd lawn foddlonrwydd i unrhyw un a ddarlleno ei waith.

'Wrth adolygu yr oll a berthyna i'r gyfraith Hebreaidd ar gaethwasanaeth, ymddengys ei bod yn drefniant doeth iawn o addysgiant a graddol ryddhad. Ni all un dyn rhesymol ammheu, pe byddai i'r unrhyw gyfreithiau gael eu gosod, a'r unrhyw ymarferion i ffynu, gyda golwg ar gaethwasiaeth yn yr Unol Daleithiau, na byddai y caethiwed Americanaidd ar ben, i bob bwriad ac amcan ymarferol. Od oes un ammheuaeth o'r ffaith hon yn aros, ac os tybir eto bod y goddefiad o gaethwasiaeth ymhlith yr Hebreaid yn cyfiawnhau y gaethwasiaeth Americanaidd, yn ol pob tegwch dylai y prawf o wneyd y ddau drefniant yr un modd a'u gilydd gael ei wneuthur, yna caem weled beth fyddai y canlyniad.'

"Dyna fi wedi myned i'r pen," ebe James: "a beth a feddyliech o'r mater yn awr?"

"Meddwl 'rydw i," ebe F'Ewythr Robert, "bod d'esponiad di chwedi andwyo slafri 'r 'Merica am byth bothol berffaith, mi fase well iddyn nhw dewi son am Mosys o'r hanner, ddyliwn i. Mae Mosys yn troid yn 'u herbyn nhw i'r pen draw."

"Yr oeddwn i 'n meddwl am y gair hwnw, wrth wrandaw," ebe Risiart Ifan, 'A appeliaist ti at Cesar? at Cesar y cei di fyned!' Appelia y caethfeistri yn America at Moses a'i gyfreithiau, am blaid a nodded; ond erbyn myned â hwy a'u hachos i'r frawdlys hòno, y maent yn cael eu condemnio i'r eithaf, a gwell fuasai iddynt aros gartref o'r hanner, fel y sylwodd F'Ewythr Robert."

"Meddwl 'roeddwn innau am y gair ddywedodd Modryb Elin," ebe Mrs. Evans, "'Gwylian nhw!' ebe hi, 'rhag bydd i Moses, yn yr hwn y maent yn ymddiried droi 'n gyhuddwr ac yn

gondemniwr arnyn nhw '—felly y mae o wedi gwneyd. Yr oedd yn dda iawn gen i gael yr eglurhad a gawson ni, heno, ar hen gyfreithiau Moses; ac mi fydd yn dda iawn gen i gael o yn yr 'Aelwyd' eto, i ail fyned trosto, fel y gallwyf ei ddeall yn iawn."

"Yr oeddwn ninnau hefyd yn meddwl rhywbeth yn debyg i chwi," ebe Mrs. Harris, "ac yn gweled rhyw fwy o ddoethineb a gogoniant yn hen gyfreithiau Moses nag a welswn erioed o'r blaen. Wrth edrych arnynt yn y goleuni y gosodwyd hwy o'n blaen heno, y mae daioni a graslonrwydd a doethineb dwyfol i'w gweled yn cydlewyrchu yn brydferth iawn ynddynt. Nid oes dim yn y Beibl i gefnogi trawsder a chreulondeb yn y mesur lleiaf, ond yn hollol i'r gwrthwyneb—barn i'r gorthrymedig, trugaredd i'r amddifad, caredigrwydd i'r truan a'r dyeithr—ydyw ei lais ef trwyddo—cyflawnder y gyfraith wladwriaethol yn gystal a'r gyfraith foesol, ydyw cariad."

"Wel, Tomos, "be ydach chi yn i feddwl," ebe F'Ewythr Robert.

"Meddwl yn well am Moses nag erioed yr wyf," ebe Tomos Harris, "a meddwl fod y *slaveholders*, yn debyg iawn i'r hen Iuddewon, estalwm, yn gweiddi, 'dysgyblion Moses ydym ni—a had Abraham ydym ni.' Ac fel y dywedodd Crist wrthynt, 'Pe plant Abraham fyddech chwi, gweithredoedd Abraham a wnaech.' Yr oeddwn i 'n gwel'd fod gwaith y *slaveholders* yn rhedeg at Abraham a Moses yn beth ofer a ffol iddynt; fod yr hen batrierchied rheini yn ymwrthod â nhw, ond y mae arnaf fi frys i glowed be sy gan Modryb Elin i'w ddyweyd."

"Dyna sydd gen i i'w ddweyd," ebe Modryb Elin, "ei bod hi yn llawn bryd i ni fyn'd adref bellach. Ond mi dd'wedaf gymaint a hyn, fel y sylwodd un o honoch chwi o'r blaen, mod innau wedi gweled rhyw ogoniant o'r newydd yn y Beibl heno. Ychydig iawn oeddwn i wedi ddeall na'i glywed yn nghylch deddfau a barnedigaethau Moses o'r blaen; ni chlywais mo'nynt erioed yn cael eu trin yn y dull yna, beth bynag, tan heno; ac mae 'r peth yn eglur iawn erbyn i ddangos o hefyd. Yr oeddwn yn gweled rhyw wahaniaeth fel hyn rhwng y ddeddf foesol a'r deddfau eraill—bod y gyfraith foesol yn gofyn y cwbwl a ddyle y creadur fod, heb ganiatâu na goddef dim sydd ddrwg, nac yn rhith drygioni—perffeithrwydd fyn hi: a bod y cyfreithiau eraill wedi cymeryd y byd fel yr oedd, a dechreu arloesi ei ddrain a'i fieri, a braenaru y tir, i'w barotoi i dderbyn yr had da—myn'd yn raddol at wraidd ei bethau drwg o, gyda golwg ar eu codi nhw i fyny, a dyfetha yr holl bethau niweidiol a gwenwynig yn raddol. Gwyddai anfeidrol ddoethineb pa ffordd fyddai 'r oreu i ymwneyd âg ef er ei ddiwygio. Ond y fath ydyw calon ddrwg dyn, fel, os caiff ryw fath o sail i gasglu fod yr Arglwydd yn ei air wedi rhoi math o oddefiad i ryw ddrwg dan amgylch-

iadau neillduol, y cymer hi warant oddiwrth hyny i fyw yn y drwg hwnw, a cheisia ei amddiffyn o'r Beibl, wedi, yn gyntaf, fyn'd â'r drwg fil o raddau ymhellach nag oedd y pryd a'r amser y gwnaed y goddefiad. Dyna gaethiwed yr America yn fyrdd gwaeth, ac yn beth hollol wahanol i'r peth oedd yn amser Abraham a Moses, ac amcan cyfreithiau Moses, fel y clywsom, oedd gwasgu ar hwnw nes y buasai 'n rhwym o ddarfod mewn amser, a darfod a wnaeth; ond myn Crist'nogion America fod esiampl Abraham, a chyfreithiau Moses, o'u tu nhw i gadw a thrin eu caethion fel y mae nhw 'n gneyd. Ond ni waeth i bechaduriaid beidio a cheisio myn'd i'r Beibl i chwilio am noddfa, 'does yno yr un iddynt hwy i'w gael—un tlawd iawn ydyw o i fyned ato ar y pwrpas hwnw, ac un stiff iawn ydyw, os ceisith neb i droi o'i ffordd 'i hun. Y mae yn dangos noddfa i bechadur, ond nid oes ganddo yr un i bechod; mae am ladd hwnw yn mhob man, ac yn mhob peth, ac yn mhawb; ac ni ddianc pechod America ddim rhagddo yn hir iawn. Y mae y Beibl yn ei archolli bob tro y ceisiont hwy ganddo ddyweyd rhywbeth o'i blaid."

Ar hyn cododd y dyeithriaid i fyned i'w cartrefleoedd.

"Y mae 'r cwarfod 'rwan ar ben," ebe F'Ewythr Robert, "a mi gawson gwarfodydd da trost ben, a mi rydw i 'n cynig i ni gael un eto yn y'n tŷ nine 'n bur fuan. A mi 'rydw i 'n galw cwarfod i gael 'i gynal yn y'n tŷ ni wsnos i heddyw, a rhaid i bob un sydd yma falu am ddwad iddo fo yn brydlon hefyd—erbyn deg o'r gloch yn y bore. Oes gynthoch chi 'run ffair y diwrnod hwnw, Risiart, ai oes?"

"Mi ddywed yr hen Almanac yma," gan ei dynu o'i logell, ac wedi edrych iddo—"Nac oes," ebe fe, "gallem ni ddyfod am a wn i; ond beth ddywed Ann yma, am hyny?"

Cytunasant oll i fyned i'r cyfarfod i Hafod y Ceiliogwydd, ac yna ymadawsant, wedi talu diolch i'r cadeirydd.

---

## NOSON XIX.

"RHAID i ni gael rhoid tro trw 'r 'Caban heno, James," ebe F'Ewythr Robert wedi i'w gyfeillion ddyfod i mewn ac eistedd i lawr, "yr ydan i chwedi 'n cadw o hono fo es tro bellach."

"Pa le mae Jacki heno?" gofynai James.

"Mae Jacki chwedi myn'd i'r efel, gida'r nos yma, i weithio'r arad newydd, mae arno fo helynt rywinol hefo hi ddydd a nos. Un digri iawn ydi Jacki, druan,—mae o yn bur ddyniwed. Mi ddeyda i ti stori am dano fo 'rŵan. Mi 'roedd Cati chwedi deydyd 'rhw 'chylldod o bethe wrtho fo, pen oedden ni acw ddydd Sadwrn, a mysg pethe erill, mi aethon i son am y ffyrdd

hyarn a'r cyrbyde tân yma; a mi ddeydodd Cati yn sobr iawn, mi ddyliwn, bod y ffordd hyarn yn myn'd heibio i wal mynwent yn rhwle yn sir Fon, a bod sŵn yr *ingen* a'r *trên*, pen ddaetho nhw y ffordd hòno 'r tro cynta, chwedi chrynud y meirw oedd yn y bedde yn y fynwent hono, ag iddyn nhw godi a rhedeg i ffwrdd bod yg un un—na welodd neb byth monyn nhw; a bod un ceffyl ono chwedi chrynud cimin nes y troes o yn fuwch. A'r peth gwirion yn gofyn i'w fodryb, chwedi i ni ddwad adre, oedd hyny yn wir; ac erbyn i ni wasgu arno fo, mi welson bod y llanc wedi coelio 'r cwbwl."

"Ond wfft i chwi Cati!" ebe Mrs. Harris, "sut yr ydych yn gallu dyfeisio pethau fel yna, mewn difrif?"

"Mae rhyw stori wel ene yn ddigon dyniwed, neith hi ddim drwg i neb," ebe Cati.

"Neith hi ddim daioni i ti beth bynag," ebe Modryb Elin; fel 'rydw i wedi deyd wrthat ti lawer gwaith, pe bawn i nes er hyny, mi ei i ddweyd anwiredd gwaeth o'r diwedd, os gwnei di gellwair llawer â pheth fel ene."

"Mae gwrioneb Jacki yn brofedigeth i roges wel Cati neyd sport o hono fo," ebe F'Ewythr Robert, "ond rhaid i ni bellach fyn'd ati hi, Jemi."

"Wel, ebe James, "ni a awn heno i dalu ymweliad â'n hen gyfaill, F'Ewythr Tomos, a theulu St. Clare."

Un hynod o ddiofal am ei arian a'i amgylchiadau oedd St. Clare, fel y gwelsom o'r blaen. Adolph fuasai goruchwyliwr y tŷ cyn hyn, yr hwn oedd yn llawn mor ddiofal ac esgeulus a'i feistr, a rhyngddynt eu dau yr oedd gwastraff ac afradlonedd yn eu llawn rwysg. Edrychai Adolph ar feddiannau ei feistr fel yr eiddo ef ei hunan, a defnyddiai hwy at ei wasanaeth ei hun, fel y teimlai ar ei galon. Edrychai Tomos ar draul wastraffus goruchwyliaeth y tŷ gyda gradd o anesmwythder a gofid, a thaflai awgrymiadau cynnil yn achlysurol.

Nid hir iawn y bu St. Clare heb ganfod ei wir werth a'i deilyngdod, a gosododd ef yn brif oruchwyliwr ar ei dŷ. Yr oedd Adolph yn hynod o anfoddlawn i golli yr awdurdod a'r anrhydedd hòno, ac achwynai yn chwerw o'r herwydd.

"Na, na, Adolph," ebe St. Clare, "gad Tomos yn llonydd. Nid wyt ti yn deall ond yr hyn sydd arnat ti dy hunan ei eisieu. Y mae Tomos yn deall gwerth pethau a gwerth arian; ac fe fydd diwedd ar yr arian o dipin i beth, os na edrychwn ni ati hi."

Ymddiriedai ei feistr diofal y cwbl i Tomos; estynai bapyr iddo i'w newid, heb gymaint ag edrych arno i weled pa swm a gynnwysai. Dodai y newid drachefn yn ei logell heb feddwl am rifo yr arian, na gofyn gair yn eu cylch. Yr oedd Tomos fel hyn mewn sefyllfa brofedigaethus iawn i ymddwyn yn ano-

nest, ac ni allasai dim ond symledd ei natur, ei gydwybodolrwydd a'i grefydd, ei gadw yn bur a gonest, dan y fath demtasiwn. Teimlai ef y rhwymedigaeth gryfaf i ymddwyn yn fanwl-onest, oddiwrth yr ymddiried llwyr a roddid iddo. Yn hyn yr oedd yn hollol wahanol i Adolph, druan, yr hwn a ddefnyddiai y rhyddid llawn a gawsai dros hir amser, i foddio ei fympwyon ffol a gwastraffus. Byddai St. Clare ei hun yn gofidio yn drwm weithiau wrth edrych ar hyn, a theimlai ei fod ar fai mawr i ddyoddef y fath beth yn ei weision,—ei fod yn anghyfiawn ac yn beryglus tuag atynt, ac iddynt hwy eu hunain. Ond edrych tros y cwbl a wnai, heb wneyd un ymdrech, ond yn anfynych iawn, i ddiwygio pethau. Edrychai Tomos ar ei feistr ieuanc prydferth, llawen, gyda chymysg deimladau o barch, serch, a phryder tadol. Nad oedd ef byth yn darllen y Beibl, byth yn myned i le o addoliad—ei fod yn arfer cellwair gydag unpeth a phobpeth a ddeuai yn ffordd ei ffraetheg (*wit*); ei fod yn arfer treulio hwyr ei Sabbothau yn yr *opera* neu y chwareudý; ei fod yn arfer mynychu gwin-gyfeddachau, a chlybiau, a swperau, yn amlach o lawer nag y buasai ddymunol—yr oeddynt oll yn bethau a allai Tomos eu gweled, a sylwodd arnynt yn gystal a neb, ac argyhoeddid ef trwyddynt nad oedd ei feistr ddim yn Gristion; eto buasai yn anhawdd ganddo ddweyd hyny wrth neb arall, ond yn unig mewn gweddi wrth ei Dad nefol yn y dirgel.

Un tro, wedi i St. Clare fod allan ar nos Sabboth mewn cyfeddach, dychwelai adref rhwng un a dau yn y boreu, mewn cyflwr o feddwdod. Cynnorthwyai Tomos ac Adolph ef i'w wely. Yr oedd Adolph yn mwynhau y peth fel digrifwch, ac yn chwerthin yn galonog wrth weled Tomos yn cymeryd y peth mor ddifrifol.

"Wel, Tomos, beth ydych yn sefyll i ddysgwyl am dano," ebe St. Clare, y boreu dranoeth, wedi iddo erchi rhyw negeseuon i'w ofal, wrth weled Tomos yn aros fel pe buasai rhywbeth ar ei feddwl, "Ai nid yw pob peth yn iawn, Tomos?"

"Mae arna i ofn nad ydyw, misar!" ebe Tomos, mewn agwedd ddifrifol.

Dodai St. Clare ei bapyr ar y bwrdd, a'i gwpanaid goffi o'i law, ac edrychai ar Tomos.

"Wel, Tomos, beth ydyw y mater? yr ydych yn edrych mor brudded ag arch."

"Fi 'n teimlo yn bur anhwylus, misar: fi 'n wastad meddwl bod misar yn da i bawb."

"Wel, Tomos, ai ni bum felly? dowch yn awr, beth sydd arnoch eisieu? mae arnoch eisieu cael rhywbeth, mi feddyliwn, a dyna y rhagymadrodd."

"Misar yn da iawn wrtha i yn wastad; fi dim byd i gwyno

am dano ar y pen hwnw; ond y mae *un* nat ydi misar ddim yn da wrtho fo."

"Hai, Tomos, beth yn y byd sy'n darfod i chwi? d'wedwch o allan; beth sydd ar eich meddwl?"

"Y bore heddyw, rhwn un a dau, y daru mi feddwl y peth; mi feddylis ar y mater; tydi misar dim yn da wrtho 'i hun."

Dywedai Tomos hyn â'i gefn at ei feistr, a'i law ar gnap y drws. Teimlai St. Clare ei wyneb yn poethwrido; ond efe a chwarddai.

"O! ai dyna y cwbl, ai ie?" ebe fe yn llawen.

"Y cwbl!" ebe Tomos, gan droi yn ddisymwth tuag ato, a syrthio ar ei liniau o'i flaen. "O! fy anwyl fisar ifanc, fi 'n ofni collir y cwbwl, y *cwbwl*—corff ac enaid. Y llyfr da'n deyd, 'fe frath fel y sarff ac a biga fel y neidr,' misar anwyl!

Yr oedd llais Tomos yn boddi gan ei ddagrau, fel y llefarai.

"Yr ynfyd gwan gwirion genych!" ebe St. Clare, â'r dagrau yn ei lygaid yntau, "codwch i fyny Tomos, nid wyf fi yn werth i wylo o'm hachos."

Ond ni chyfodai Tomos, ond edrychai gyda golwg ymbilgar ar ei feistr.

"Wel, nid äf fi byth ond hyny at yr ynfydrwydd melldithiol, Tomos," ebe St. Clare; "ar fy anrhydedd yr wyf yn sicrhau i chwi. Ni allaf wybod paham na buaswn wedi gadael y peth yn hir cyn hyn. Byddwn bob amser yn dirmygu fy hunan o'r herwydd; felly yn awr Tomos: sychwch eich dagrau, ac ewch ynghylch eich negesau—dowch, dowch, dim bendithio, nid wyf fi mor ryfeddol ddaiònus eto," ebe fe, fel y tyner wthiai Tomos i'r drws. "Dyna, Tomos, yr wyf yn gwystlo fy anrhydedd i chwi, na chewch fy ngweled yn y dull hwnw eto." Ar hyn aeth Tomos ymaith gan sychu ei lygaid, mewn teimladau boddhaol iawn.

"Mi a gadwaf fy ngair âg ef hefyd," ebe St. Clare wrtho ei hun, fel y cauai y drws ar ei ol.

Ac efe a wnaeth hyny hefyd, oblegid nid oedd ymollwng i ruseddau o'r fath hyny yn demtasiwn gref iddo un amser.

"Wedi hyn rhydd y bennod hon i ni hanes lled faith a manwl o brofedigaethau a thrafferthion Miss Ophelia, wedi iddi ymaflyd yn ei swydd o olygu tŷ St. Clare, na fyddai o un dyben, hwyrach, i mi roddi adrodiad manwl o hono i chwi," ebe James. Yr oedd yn perthyn i dylwyth y gwasanaethyddion hen goges negroaidd, o'r enw Dina; ac un hynod iawn oedd hi. Y hi oedd meistres y gegin, ac yr oedd yn rhyfeddol o eiddigeddus tros ei hawdurdod; ni fynai i neb ymyraeth dim yn y mesur lleiaf â thalaeth ei llywodraeth hi. Pan ddaeth Miss Ophelia yno i arolygu a threfnu pethau, cafodd y lle mewn cyflwr gr- ynus o annhrefn—pob peth ar draws eu gilydd, ac yn un pe-

o gymysgedd—yr holl gypyrddau, a'r silffau, a'r droriau, yn dryblith diderfyn ac annosbarthol, heb elfen yn ei lle. Dechreuai gwestiyno Dina ar y peth hwn a'r peth arall, ac edrychai hithau yn hynod o anfoddog ar y *pretender*, a phenderfynai ynddi ei hun na chaffai un mesur o ddiwygiad a gynnygiai ddyfod byth yn gyfraith a defod yn ei theyrnas hi. Ni fu yr un Tori na Phabydd, na Phuseyad erioed yn fwy tynymlynol wrth hen ddefodau, gosodiadau, a thraddodiadau ei dadau, nag oedd Dina wrth ei hen ddulliau a'i defodau ceginol a chogyddol. Dychrynai rhag unrhyw ddefod na dull newydd ar ddim, nac o wneyd dim, yn llawn cymaint ag y dychrynai Col. Sibthorp, druan, rhag y rheilffyrdd a'r Arddangosiad. Mawr y drafferth a'r boen a gafodd Miss Ophelia i gael rhyw ychydig o drefnusrwydd ar dryblith y gegin; ei hen ffordd a fynai Dina! Yr oedd yn annichonadwy i ddwy annhebycach i'w gilydd gydgyfarfod. Yr oedd Miss Ophelia yn gymaint dros drefnusrwydd—pob peth yn ei le, a'i le ei hun i bob peth; ei amser at bob peth, a phob phob peth at ei amser, ag ydoedd Dina y ffordd arall—pob peth ar draws eu gilydd, fel y dygwyddent ddisgyn. Wrth edrych arni yn coginio yn nghanol llanastr o annhrefn ac aflawenwch, gallesid meddwl na allasai neb byth archwaethu yr ymborth ar ei hol. Er hyny, ond gadael iddi gael ei ffordd a'i hamser ei hun, hi a ddarparai giniaw o'r fath oreu o goginiad, a fu ar fwrdd un pendefig. Gwyddai Dina nerth ei galluoedd coginawl yn gystal a Modryb Cloe; ond yr oedd Modryb Cloe yn llawer mwy destlus a threfnus yn ei gwaith na hi.

Gosododd Miss Ophelia holl ystafelloedd y tŷ mewn iawn drefn am unwaith, ond buan y cafodd y gofid o weled fod dirywiad a syrthiad yn ol drachefn i'r hen ddefodau yn cymeryd lle.

"Nid oes dim y fath beth a chael dim tebyg i drefn yn y teulu hwn," ebe hi yn achwyngar wrth St. Clare un diwrnod.

"Yn siwr iawn hyny," ebe yntau. "Ni chymerech y peth mor ysgafn, pe byddech yn olygydd tŷ."

"Fy anwyl gares, byddai cystal i chwi ddeall ar unwaith ein bod ni y meistri yn wahanedig i ddau ddosbarth—gorthrymwyr a gorthrymedig. Y rhai o honom sydd o natur dda, ac yn casbau arfer llymdoster, ydym yn gorfod cymeryd i fyny â llawer o anghyfleusderau. Os ydym am gadw haid anwybodus, ddiddysg o bobl yn y wladwriaeth, er mwyn ein cyfleusdra ein hunain, rhaid i ni ddwyn y canlyniadau. Gwelais ambell un, drwy ryw fedrusrwydd neillduol, a allai gynnyrchu trefn a rheol heb arfer llymder, ond nid wyf fi yn gyfryw un; ac felly, yr wyf wedi gwneyd fy meddwl i fyny er's hir amser i adael i bethau fyned fel yr elont. Ni fynwn i'r trueiniaid gael eu curo a'u baeddu, a rhwygo eu cnawd, a hwy a wyddant hyny; a gwyddant yn dda fod pen y ffon yn eu dwylaw hwy eu hunain."

"Ond myned ymlaen yn y dull annhrefnus hwn, heb ofal am na lle, nac amser, na rheol gyda dim oll!"

"Fy anwyl Vermont, chwychwi breswylwyr y gogleddbarth ydych yn gosod pris anferth ar amser! Pa beth yn y byd ydyw gwerth amser i un sydd ganddo fwy ddwywaith o hono nag a ŵyr pa beth i'w wneuthur âg ef? A chyda golwg ar drefn a rheol, lle nad oes dim i'w wneuthur ond gorweddian ar y glwth, a darllen, nid yw y gwahaniaeth o awr yn gynnarach neu ddiweddarach at foreubryd neu giniaw o nemawr bwys. Yn awr, dyna Dina, hi a wna giniaw rhagorol—*soup, ragout, roast fowl, dessert, ice-creams*, a chwbl—a hi a grea y cwbl allan o dryblith, i lawr yn y gegin. Y mae yn syndod genyf feddwl fel y mae hi yn gallu darbod! Ond, y nefoedd fawr! pe byddem yn myned i lawr yna, a gweled yr holl fygu, a'r curo o gwmpas, a hwrli bwrli y ddarpariaeth, ni fwytaem damaid byth wedi hyny! Fy nghares garedig, na wnewch gynnyg y fath beth a myned i'r golwg; y mae yn fwy peth na phenyd Pabaidd, ac ni wnai fwy o les na hwnw chwaith. Ni wnewch ddim ond colli eich tymher, a dyrysu Dina. Gadewch iddi fyned ymlaen yn ei ffordd ei hun."

"Ond, Augustine, ni wyddoch chwi y fath drefn a gefais i ar bethau."

"Yn gwybod, yn wir! Ai nid wyf yn gwybod bod y *rolling-pin* o dan ei gwely, a chrafell y pêrgnau (*nuttmegs*) yn ei llogell gyda'i thybaco—bod triugain o wahanol *ffeiliau siwgr*, un yn mhob twll a chornel drwy y tŷ—ei bod yn golchi dysglau ac yn eu sychu â'i napcyn un diwrnod, ac â darn o hen bais y diwrnod arall! Ond pen draw y cwbl yw, hi a wna giniaw ardderchog, a choffi rhagorol, a rhaid i chwi ei barnu fel y bernir rhyfelwyr a gwladweinyddion—wrth *ei llwyddiant*."

"Ond y gwastraff, a'r draul!"

"O, wel! clowch i fyny bob peth a alloch, a chadwch yr agoriad. Rhowch bethau allan fesur y dognau, a pheidiwch byth ag ymofyn ynghylch y gweddillion—dyna'r ffordd oreu."

"Y mae hyn yn boenus iawn i mi, Augustine. Yr wyf yn ofni nad yw y gweinidogion yn hollol onest. A ydych yn sicr y gellir ymddiried iddynt?"

Chwarddai St. Clare wrth weled gwyneb sobrddwys Miss Ophelia, fel y gofynai y cwestiwn.

"O, fy nghares!" ebe fe, "mae hyna yn rhy dda. Gonest!—fel pe buasai yn beth a allesid ei ddysgwyl! Gonest!—wel nac ydynt—wrth reswm! Paham y byddent? Pa fodd yn y byd y byddent felly?"

"Paham na ddysgwch iddynt fod?"

"Dysgu! Pa fodd y dysgwyliwch i mi wneyd y fath beth? Yr wyf yn un tebyg iawn i wneyd hyny! Gyda golwg ar Marie

y mae ynddi hi ddigon o ysbryd yn siwr ddigon i ladd planigfa gyfan, pe gadawn iddi gael ei ffordd i drafod pethau; ond ni allai hi byth dynu y castiau twyllodrus allan o honynt."

"A oes neb gonest o honynt?"

"Wel, y mae ambell un yma ac acw, y rhai a wnaeth natur mor berffaith syml, cywir, a ffyddlawn, fel na all y dylanwad gwaethaf eu llygru. Ond, chwi a welwch, bod y plentyn negroaidd yn dechreu gweled ac yn teimlo, pan ar fron ei fam, nad oes un llwybr yn agored iddo ef ond twyll a chyfrwysedd. Ni all fyned ymlaen ar hyd un ffordd arall gyda'i rieni, ei feistriaid, a'i gydweinyddion. Y mae cyfrwysder a thwyll yn dyfod yn bethau hollol anghenrheidiol iddo. Nid yw yn deg dysgwyl pethau amgenach oddiwrtho; ac ni ddylid ei gosbi o'u plegid. Gyda golwg ar onestrwydd, cedwir y caeth yn y cyflwr hwnw o ddibyniaeth, a phlentynrwydd, fel na ellir peri iddo ystyried a theimlo hawliau meddiannol, neu nad oes ganddo gystal hawl a'i feistr i'w bethau, os gall eu cymeryd. O'm rhan i, ni allaf weled pa fodd y gallant fod yn onest. Y mae y fath un a Tomos yma yn—yn wyrth foesol!"

"Pa beth a ddaw o'u heneidiau?" ebe Miss Ophelia.

"Nid fy mater i yw hyny, am a wn i," ebe St. Clare. "Yr wyf fi yn adrodd i chwi ffeithiau perthynol i'r bywyd hwn. Y ffaith yw, fod yr holl hil yn gyffredinol yn cael eu hystyried fel wedi eu diofrydu trosodd i'r diafol, er ein lles ni, yn y byd yma, pa fodd bynag y try pethau allan yn y byd arall!"

"Y mae y fath beth yn arswydus ofnadwy!" ebe Miss Ophelia. "Dylai fod arnoch gywilydd o honoch eich hunain!"

"Ni wn i ddim am hyny; yr ydym mewn cwmpeini da," ebe St. Clare, "fel y mae teithwyr y ffordd lydan yn gyffredin. Edrychwch ar fawrion a bychain, dros y byd cyfan, a'r un fath y cewch eu bod—y dosbarth isaf yn cael eu mathru gorff ac enaid at wasanaeth yr uchaf. Felly y mae yn Lloegr, ac felly y mae yn mhob man; ac eto y mae holl Gred yn codi i fyny mewn dychryn, wrth ein gweled ni yn gwneyd y peth mewn dull ychydig yn wahanol iddynt hwy eu hunain."

"Nid felly y mae yn Vermont?"

"O, wel, yn Lloegr Newydd, ac yn y taleithiau rhyddion, yr ydych yn well na ni, rhaid i mi addef. Ond dyna y gloch! deuwch, fy nghares, gadewch i ni adael heibio ein rhagfarnau lleol am enyd, a myned at ein ciniaw."

Rywbryd yn y prydnawn, pan oedd Miss Ophelia gyda rhyw orchwyliaeth yn y gegin, gwaeddai rhai o'r plant—

"Ho! Ho! dyma Prue yn dwad, dan chwrnu, fel y bydd hi bob amser."

Ar hyn, dyma wraig ddu, dal, esgyrnog, i fewn yn y gegin, â basged ar ei phen, a bara brwd a theisenau ynddi.

"Ho, Prue! a mi ddaethoch?" ebe Dina.

Tynai Prue ei basged i lawr, ac eisteddai, gan osod ei phenelin ar ei glin, a'i phen ar hyny, a gruddfanai allan—

"O! 'r taid! fi d'muno fi marw!"

"Paham y dymunech hyny?" ebe Miss Ophelia.

"I fod allan o 'nhrueni," ebe y wraig, heb godi ei golwg oddiar y llawr.

"Paham rhaid i chwithe feddwi 'nte, a gneyd helynt, Prue?" ebe morwynig bert o *quadroon*, yr hon a chwareuai â'i llaw ei phâr o glustdlysau cwrel ar y pryd.

"Galle doi dithe i'r un peth un o'r dyddie yma," ebe Prue. "Bydde da gin i dy wel'd di, mi fydde hefyd; ono mi bydde da gin ti gael dyferyn, fel finne, i anghofio d' ofid."

"Dowch, Prue," ebe Dina, "gadewch i ni weled y'ch bara? Dyma missis, mi dâl hi am danyn nhw."

Cymerai Miss Ophelia nifer o dorthau allan o'r fasged.

"Mae tocyne yn 'rhen siwg acw, ar ben y silff," ebe Dina. "Jake, dring i fyny, ac ystyn o."

"Tocynau—i ba beth y maent da?" gofynai Miss Ophelia.

"Byddwn ni 'n prynu tocyne gin i mistar hi, a mi fydd hithe 'n dwad â bara i ni yn 'u lle nhw."

"A mi fyddan yn cyfri 'r tocyne a'r arian, pen elw i adre, i ydrach fydd pob peth yn iawn; a 'sna fyddan nhw, mi hanner laddan fi!" ebe Prue.

"Mi fyddan yn gneyd yn 'u lle 'ninion," ebe Jané, yr hon a geryddasai Prue am feddwi, "os byddwch chi 'n cym'ryd 'u harian nhw i feddwi. Dyna fel y bydd hi 'narfer gneyd, missis."

"A dyna na i hefyd; fedra i dim byw 'run ffordd arall—yfed ac anghofio 'ngofid."

"Yr ydych yn bur ddrygionus, ac yn bur ffol," ebe Miss Ophelia. "Cymeryd arian eich meistr i wneyd anifel o honoch eich hun!"

"Mae hyny 'n digon tebig, missis; ond fi gna fo, gna mi gna. O! 'r taid! fi d'muno fi marw, ac allan o ngofid!" ac ar hyn hi a gyfododd, a dododd ei basged ar ei phen, a dechreuai ymsymud tua'r drws yn arafaidd; cyn myned allan, taflodd olwg ar Jane, yr hon oedd fyth yn trin ei chlustdlysau.

"Ti 'n meddwl bod ti yn ladi braf hefo rhei nene—ti 'n ysgwyd dy ben, ac yn ydrach yn dirmygus ar bawb. Wel, hidia dim, mi gelli di fyw i fyn'd yn gr'adur tlawd, methedig, fel fi. Fi 'n gybeithio 'r Arglwydd byddi di hefyd, 'rydw i hefyd; ono mi geir gwel'd ys na nei di yfed—yfed—yfed—dy hun i drueni; a dy *sarfio* di 'n *right* fydde fo hefyd!" ac yna gadawodd yr ystafell, ac aeth ymaith.

Yr oedd ein hen gyfaill Tomos yn y gegin yn ystod yr ymddyddanion uchod, ac aeth allan ar ol yr hen wraig i'r heol.

Gwelai hi yn myned yn ei blaen, gan dynu ochenaid drom yn awr ac eilwaith. O'r diwedd, hi a gymerodd ei basged i lawr, a dodai hi ar risyn o flaen drws tŷ, a dechreuai daclu rhyw hen hugan oedd ganddi dros ei hysgwyddau.

"Mi garia eich basged am dipyn," ebe Tomos yn dosturiol.

"Pa'm gnae chi hyny?" ebe y wraig. "Fi dim isio help."

"Yr ydych yn 'mddangos yn claf, neu mewn trallod, neu rwbeth," ebe Tomos.

"Fi dim yn sal," ebe y wraig yn sarug.

"Mi dymunwn," ebe Tomos, yn ddifrifol, "mi dymunwn fedru 'ch pyrswadio chi i beidio yfed; ydach chi dim yn gwybod 'i fod o 'n y'ch dystrywio chi gorff ac ened?"

"Fi 'n gw'bod mod i 'n myn'd i'r poene," ebe y wraig, yn sur-llyd. "Rhaid i chi dim deyd hyny i mi. Fi 'n hyll—fi 'n drwg—fi 'n myn'd i'r poene rhag blaen. O! 'r taid! fi 'n d'muno b'aswn i ono."

Arswydai Tomos glywed y geiriau dychrynllyd hyn yn cael eu llefaru gyda 'r fath ddifrifwch sarugaidd.

"Yr Arglwydd gymero drugaredd arnoch chi, g'radur tlawd! Glowsoch chi 'rioed son am Iesu Grist?"

"Iesu Grist!—pwy ydi o!"

"Yr Arglwydd ydyw!" ebe Tomos.

"Fi 'n meddwl fi clowed am 'r Arglwydd, a'r barn, a'r poene. Fi clowed pethe felly."

"Ond ai ni deydodd neb wrthoch chi am 'r Arglwydd Iesu Grist, 'rhwn a'n carodd ni bechaduried tlodion, ac fu farw troson ni?"

"Fi gwbod dim am hyny," ebe y wraig. "Carodd neb 'rioed monaf fi 'rcl i f' hen ŵr i farw."

"P'le cywsoch chi 'ch dwyn i fyny?" ebe Tomos.

"Yn Kentuck. 'Roedd dyn yn cadw fi i fagu plant at y farchnad, a fo 'n 'u gwerthu nhw fel y doen nhw 'n digon o faint; ac yn diwedd, fo gwerthu finne i fysnachwr, a mi daru misar sy gin i 'rŵan prynu fi gin hwnw."

"Beth barodd i chi gymryd at yr 'rferiad drygionus o yfed?"

"I gael i mi myn'd o ngofid. Mi oedd gin i un plentyn wedi i mi ddwad yma. 'Roedd o 'n beth bach del iawn! a mi 'roedd missis yn ffond iawn o hono fo 'n dechre; fydde fo byth yn crio —yr oedd yn iach a lysti. Ond mi aeth missis yn sal, a finne 'n tendio arni hi; a mi ges i *fever*, a mi sychodd y mrone i, a mi giriodd y plentyn nad oedd dim ond y croen am 'r esgyrn, a ni phryne missis dim llaeth iddo fo. Hi deyd gallwn i borthi o â'r un bwyd pobol erill yn fwyta; a mi 'roedd y plentyn yn cirio, ac yn crio, ac yn crio dydd a nos, a mi aeth missis i ddechre gymryd yn 'i erbyn o, a deyd nad oedd o dim ond croesni; hi 'n

gw'llysio iddo fo farw; a ni adawe hi ddim i mi gymryd o 'r nos, am i fod o 'n y nghadw i yn effro, ac yn gneyd fi nad oeddwn i ddim gwerth, medde hi. Gnaeth i mi gysgu yn 'run *room* a hi, a rhoid y plentyn i fyny yn y *garret*, ac ono mi griodd 'i hun i farwoleth un nosweth; do, mi ddaru; a mi gymris inne at yfed, i gadw 'i swn o 'n crio o nghlustie! Do, mi neis—ac yfed na i! Gna, mi na, tawn i 'n myn'd i'r poene am hyny! Misar deyd wrtha i ca i fyn'd ono, finne 'n deyd mod i ono eisys."

"O! y cryadur druan!" ebe Tomos; "ai ni ddeydodd neb 'rioed wrthoch chi fel y carodd Iesu Grist chi, ac y bu o farw trostoch chi? Ai ni ddeydodd neb y gnae o 'ch helpio chi, ac y gellwch chi fyn'd i'r nefoedd, a chael 'smwythdra yn y diwedd?"

"Fi 'n debig iawn fyn'd i'r nefoedd," ebe y wraig; "ai nid ono mae'r bobol wnion yn myn'd? Myddyliwch beth py caen nhw fi ono! Mi fydde gwell gin i fyn'd i'r poene, a chael gwared o misar a missis; mi fydde hefyd," ebe hi, gan godi ei basged ar ei phen, a myned ymaith.

Troai Tomos yn ei ol tua'r tŷ, mewn synfyfyrdod pruddaidd. Ar y cyntedd, cyfarfu âg Efa bach, â choronbleth o flodau ar ei phen, a'i llygaid yn tanbeidio gan foddineb.

"O! Tomos! dyma lle yr ydych. Mae yn dda genyf eich gweled. Tada yn dweyd y gellwch gymeryd y merlynod allan, a myned â mi am dro yn fy ngherbyd newydd," ebe hi, gan ymaflyd yn ei law. "Ond beth ydyw 'r mater, Tomos?—yr ydych yn edrych yn brudd."

"Yr wyf yn teimlo 'n anhwylus, Miss Efa," ebe Tomos, yn bruddaidd; "ond mi a geisiaf y pethau yn barod i chwi."

"Ond dywedwch i mi, Tomos, beth ydyw y mater? Mi a'ch gwelais yn siarad â'r hen Prue anynad."

Adroddai Tomos hanes yr hen wraig i Efa. Ni thorodd allan mewn syndod na wylofain, fel y gwnai plant eraill. Trodd ei hwynebpryd yn welw, ac eisteddai dwysder dwfn yn ei llygad. Dododd ei dwylaw ar ei monwes, ac ocheneidiai yn drwm.

"Tomos, raid i chwi ddim ceisio y ceffylau allan," ebe hi. "Nid wyf fi am fyned allan."

"Paham felly, Miss Efa?"

"Mae'r pethau hyn yn suddo i nghalon i, Tomos," ebe hi; "ydynt, y maent yn suddo i nghalon i!" ebe hi drachefn, yn ddifrifddwys. Ar hyn, troes oddiwrth Tomos, ac aeth i'r tŷ.

"Druan oedd dy galon anwyl di!" ebe F'Ewythr Robert. "Gwyn fyd na fase pob calon yn debig iddi hi; mi fase yma lai o ddryge a gofidie yn y byd yma fil can' mil o weithie, tase hi felly. Wyddoch chi am bwy 'roeddwn i 'n meddwl," ebe F'Ewythr Robert, drachefn, "wrth wrando hanes y Dina hòno? Am Cadws y 'Fotty; mae rhwbeth yn debig iawn i'w gilydd

yn y ddwy. Un fudur, aflawen, ddireswm ydi Cadws; mae o 'n ddigon o bregeth i un dyn i fyw ono i'w gwel'd hi â'r hen wlanen hòno o gwmpas 'i phen, a'i gwyneb a'i dwylo cin ddued a'r simdde, a'i dillad hi i gid, mi allen sefyllt 'u hinen gin faw. Ni olchodd hi mo'i dillad na'i gwyneb es pymtheng mlynedd, 'dwi'n siwr o hyny. Ond wedi 'r cwbwl, mi fydd gin Cadws cystal bara a menyn a neb yn y wlad yma. Fydde dim posib i neb fedrud byta un tamed ddele o'i dwylo hi, tae o 'n gwbod am Cadws; ond cadwch chi Cadws o'r golwg, a pheidiwch meddwl am dani, mi ddyliech na ddaru chi 'rioed brofi gwell bara a menyn."

"Mi a glywais lawer un yn sylwi yr un fath a chwi o'r blaen am Cadws," ebe Mrs. Harris. "Ni fum i erioed yn profi tamaid o fwyd yn ei thŷ hi; felly, ni wn i fy hun ddim am dano fo, a 'dallwn i byth feddwl am lyncu tamaid yn y fath le; mi fyddwn i yn methu bwyta gartref am ddiwrnodiau ar ol bod yno, pan awn yno ar neges; ond mi glywais aml un yn dweyd na buont erioed yn profi gwell bara ac ymenyn. Ond waeth er hyny, wfft i ferched budron! Mae nhw 'r pethau gwrthunaf ar y ddaear. Fyddai raid i neb fod yn fudr, er bod yn dlawd, mae 'r dwr yn rhad; ond elfen rhyw fath o bobl ydyw budreddi. Chwi welwch eraill drachefn, er eu bod yn dlodion, y maent bob amser yn lanwaith. Dyna Hanna, o'r Gwyndy, wyddoch; y mae hi yn ddigon tlawd, druan, ond y mae hi a'r plant bob amser mor laned eu crwyn a'u dillad, er nad oes ganddynt ond dillad digon gwaelion, a phe byddent newydd ddyfod o'r olchfa. Mae glendid yn ei fratiau yn fil hawddgarach na budreddi yn ei sidanau."

"Mi 'rydach chi 'n deyd y gwir yn inion, Marged bach," ebe F'Ewythr Robert. "Mi 'rydw i 'n cofio Cadws cin iddi hi briodi, a 'd oedd 'run bincen falchach na hi yn y wlad yma, ond chwedi iddi hi unweth gael gŵr, mi 'llyngodd 'i hun yn chwiaden fudur, anolygus, yn inion deg. Mi fase 'n o chwith gin Wmffre feddwl, ystalwm, y base fo 'n byw 'nghanol y fath faw ac aflawenwch; ond mae o chwedi cynfino bellach, debic cin i, a 'mollwn i'w chalyn hi. Mae llawer un 'run fath a hi; mi fyddan wel y pin yn y papyr yn hogenod ifinc, ac yn troi allan yn wragedd mochynedd trost ben; 't oes dim rhyfedd yn y byd fod 'u gwŷr nhw yn cysau cartre', ac yn troi 'n afradlon; pw gysur sy i gael yn agos atyn nhw. Dene wraig wel Hanna, 'roeddech chi 'n son am dani hi, mae 'n bleser i chi droi i'w thŷ hi; mae hi yn 'i gadw fo mor lanweth yn wastad; pob peth yn 'i le, a phob peth mor loyfed—ni cheith 'run llwchyn roid i droed i lawr yn y tŷ. Ewch ono pen fynoch chi, mi fydd hi wrthi hi yn golchi, ne 'n trwsio ac yn taclu dillad y gŵr a'r plant, ne 'n rhwbio 'r 'chydig ddodren sy gynthi hi, ne 'n *whitewasio* 'r

p'rwydydd, ne rwbeth. Mi fydde cythrel o ddrwg mewn dyn fel gŵr Hanna, tae o'n troi 'n afradlon. 'Does gin 'r un dyn yn y wlad yma gartre bach mwy cysurus."

"Y mae merched budron eu cyrff, ac yn eu tai," ebe Modryb Elin, "yn bur gyffredin, os nad bob amser, yn rhai anynad, blin, tuchanllyd, eu tymherau hefyd; cwyno a chlwcian ydyw eu gwaith nhw beunydd: anaml y gwelwch chwi wraig lân, dwt, daclus, o'r tu arall, nad ydyw yn un siriol a hawddgar ei thymher. Yn bur gyffredin, y mae y rhai budron yn rhai diog, diddaioni, er nad bob amser felly. Dyma Cadws; y mae hi yn un weithgar a diwyd, er ei bod hi yn ddidrefn; mi feder hi wneyd gwaith, ac mi gwneith o hefyd yn ei ffordd hi. Yr oedd yr hen bobl yn arfer dweyd, mai ynghanol baw yr oedd casglu arian, ac mae Cadws wedi credu yr athrawiaeth, ac mae 'r gair ei bod hithau ac Wmffre yn casglu yn arw ynghanol y budreddi."

"Wel, yn wir," ebe Thomas Harris, "mi fydde well gen i heb arian, os bydde raid i mi gymryd budreddi i'w canlyn nhw. Os na alla i gael arian heb faw, aed yr arian a'r baw i ganlyn eu gilydd i Wmffre a Cadws, o'm rhan i. Mi fum i 'n ddiweddar trwy gym'dogaethe 'r chwareli, yn sir Gaernarfon, ac yn galw yn nhai cryn lawer o honyn nhw; ac yn wir, mi fydde 'n werth i ddyn fyn'd ono i'w gwel'd nhw yn un pwrpas; mae 'n iechyd i galon dyn fyn'd i'w tai nhw. Y maent yn ddigon glân a thaclus i groesawu y frenines. Y mae ganddynt, yn gyffredin, y dodrefn mwyaf destlus, ond eithaf syml; ac y maent mor laned a'r aur, ac mor loewed a'r awyr. Gallech eu cymeryd yn lle drychau i wisgo am danoch o'u blaen."

"Mae mwy o rinwedd, ïe, ac o grefydd, mewn glanweithdra, nag y mae llawer o bobl wedi feddwl fod," ebe Modryb Elin. "Y mae y Beibl yn dysgu hyn, fel pob peth da arall, i ni. Y mae llawer o gyfreithiau Moses yn cymhell glanweithdra; a fedra i ddim meddwl yn uchel iawn am grefydd pobl afler, fudron: nid yw hyny yn ddim clod i'w crefydd nhw, beth bynag."

"Tae heb ddim crefydd yn perthyn i'r mater, mae cysur bowyd yntho fo," ebe F'Ewythr Robert. "Fedra i ddim dyallt sut mae pobol yn medrud byw 'nghanol baw a budreddi—aflendid yn 'u tai, ar 'u dillad, ac ar 'u cnawd. Dene Rolant o'r Cwm Budr, 'rŵan, ond allech chi hau winwins ar 'i dalcen a'i wyneb o, gimin o dewdwr o bridd a baw sydd arno fo. 'Tae chi 'n myn'd â fo i'r afon, ac yn 'i olchid o 'n lân, 'dw i'n siwr y bydde hi 'n llwyd am bythefnos ar 'i ol o."

"Wel, hai! Robert! rhaid i chwi gael myn'd tros bob terfynau yn wastad," ebe Modryb Elin.

# NOSON XX.

"WYT ti chwedi darfod hefo'r Prue hono?" gofynai F'Ewythr Robert, pan oedd James ar ddechreu ei adroddiad am y noson hon.

"Nac ydwyf," ebe James. "Y mae genyf ychydig i'w adrodd yn mherthynas i'r hen druanes annedwydd hono eto, y diwedd truenus y daeth iddo, ac y mae ei gwaed hi yn llefain o'r ddaear am ddialedd a dystryw ar y trefniant ofnadwy o gaethwasiaeth, fel llaweroedd eraill a lofruddiwyd ganddo."

Yn mhen ychydig ddyddiau wedi yr amgylchiadau a adroddais i chwi neithiwr, daeth gwraig arall gyda 'r bara yn lle yr hen Prue. Yr oedd Miss Ophelia yn y gegin ar y pryd. "Taid!" ebe Dina, "be sy wedi dwad o Prue?"

"Ni ddaw Prue o gwmpas byth eto!" ebe y wraig.

"Pa'm hyny?" ebe Dina, "Nid ydyw wedi marw, a ydyw?"

"Wyddon ni ddim yn siwr, y mae hi i lawr yn y seler," ebe y wraig, gan daflu ei golwg ar Miss Ophelia. Wedi i Miss Ophelia gymeryd y bara, aeth Dina ar ol y wraig i'r drws.

"Beth sydd wedi darfod i Prue?" ebe hi.

Ymddangosai y wraig fel yn awyddus, ac eto yn ofnus i siarad; ac atebai mewn tôn ddystaw arwyddocaol,—"Wel rhaid i chwi beidio dyweyd dim wrth neb. Darfu Prue feddwi drachefn, a mi aethon â hi i lawr y seler, ac ono ddaru nhw i gadael hi trwy'r dydd; a mi clowis nhw 'n deyd bod y cilion wedi myned i mewn iddi, a'i bod wedi marw."

Cododd Dina ei dwylaw i fyny; a chan droi, gwelai Efangeline fach yn sefyll gerllaw iddi, â'i llygaid dwysion yn orlawn o arwyddion arswyd, a phob dyferyn o waed fel wedi cilio o'i gwefusau a'i gwynebpryd.

"Och!" ebe Dina, "Y mae Miss Efa yn syrthio mewn llewyg; y fath anffawd oedd iddi glywed yr hanes 'chrydus!"

"Na ni syrthiaf i lewyg Dina," ebe y plentyn, "A phaham na ddylaswn i gael clywed y peth? Nid yw yn gymaint peth i mi glywed am dano, ag oedd i Prue druan ei ddyoddef."

"O'r anwyl! dydi storis fel hyn ddim yn bethe i ladis tyner fel chwi, y maent yn ddigon i'ch lladd!"

Ocheneidiai Efa drachefn, ac elai i fyny y grisiau yn arafaidd ei chamrau, a dwys ei theimladau.

Holai Miss Ophelia Dina yn fanwl am amgylchiadau y stori a ddywedasai y wraig wrthi. Ac adroddai Tomas yntau yr hanes a gawsai gan Prue y dydd o'r blaen.

"Och! rhag y ffieidd-dra—y mae yn arswydus ddychrynllyd!" ebe hi fel yr elai i mewn lle yr oedd St. Clare yn darllen ei bapyr.

"Pa ddrwg sydd wedi dygwydd yn awr?" ebe fe.

"Pa beth? Wel, y mae y bobl yma wedi fflangellu Prue i farwolaeth," ebe Miss Ophelia, gan adrodd yr amgylchiadau.

"Yr oeddwn yn meddwl mai hyny fyddai y diwedd rywbryd," ebe St. Clare, a throai at ei bapyr drachefn.

"Yn meddwl felly?" ebe Miss Ophelia. "Ai nid oes genych neb swyddogion i edrych ar ol y fath bethau?"

"Tybir yn gyffredin fod gofal am yr eiddo, a'r ennill oddiwrtho, yn ddigon o ddiogelwch yn yr achos. Os bydd pobl yn dewis dystrywio eu meddiannau eu hunain, ni allaf fi weled beth sydd i'w wneyd iddynt. Ymddengys bod y greadures dlawd yn lleidr ac yn feddwyn, ac felly nid ellir ennill nemawr o deimlad yn ei hachos."

"Y mae peth fel hyn yn annyoddefol—y mae 'n echrydus. Augustine, bydd yn sicr o dynu dialedd arnoch!"

"Fy nghares anwyl, nid myfi a'i gwnaeth, ac ni allaswn wrtho. Mi a'i hattaliaswn pe gallaswn. Os bydd i bobl farbaraidd, fwystfilaidd fel hyn *actio* fel hwy eu hunain, beth sydd genyf fi help? Y mae ganddynt gyflawn awdurdod, ac nid ydynt yn gyfrifol am dani. Ni fyddai ceisio cyfryngu yn y fath achos o un defnydd; nid oes genym un gyfraith o ddim gwerth ymarferol ar y mater. Y peth goreu a allwn wneyd, ydyw, cau ein llygaid a'n clustiau, a gadael llonydd iddo—dyna'r unig feddyginiaeth sydd genym."

"Pa fodd y gellwch gau eich llygaid a'ch clustiau? Pa fodd y gellwch adael y fath bethau yn llonydd?"

"Fy nghares anwyl, beth ydych yn ei ddysgwyl? Dyma epil o bobl israddol, anhyddysg, ddioglyd, gyndyn, wedi eu taflu heb gytundeb nac ammod, yn hollol i ddwylaw y fath ddynion ag ydyw y rhan fwyaf yn ein byd ni—dynion heb nac ystyriaeth na hunan-lywodraeth—dynion nad oes ganddynt hyd yn nod ystyriaeth oleuedig am eu llesiant eu hunain, oblegid dyna fel y mae mwy na hanner dynolryw. Ac mewn gwladwriaeth gyfansoddedig o'r fath hon, beth a all dyn o deimladau dyngarol ac anrhydeddus ei wneyd, ond cau ei lygaid a chaledu ei galon gymaint a allo? Ni allaf brynu pob adyn truenus a welaf.—Ni allaf unioni camwri pob gorthrymedig yn y fath ddinas a hon. Y cwbl a allaf wneyd ydyw cadw allan o'r golwg gymaint a fo modd."

Yr oedd gwynebpryd hawddgar St. Clare wedi cymylu am foment ar hyn o bryd; ac edrychai fel yn anesmwyth ei feddwl; ond yn y fan ebe fe, dan wenu yn siriol,—

"Dowch fy nghares, peidiwch a sefyll yna fel drychiolaeth, ni chawsoch ond yn unig gipdremiad trwy y llen; anghraifft o'r hyn sydd yn cymeryd lle yn mhob man trwy y byd, mewn rhyw ddull neu gilydd. Pe byddem yn myned i syllu a thremio ar drueni bywyd, ni fyddai genym galon i ddim yn y byd. Byddai

yn debyg fel pe baem yn myned i edrych yn rhy fanwl i holl amgylchiadau cegin Dina;" yna y gorweddai ar y *sofa*, ac at ei bapyr âg ef drachefn.

Eisteddai Miss Ophelia hithau, a thynai allan ei gwnïadwaith ac eisteddai wrtho mewn digofaint llidiog, a gweuai, a gweuai, a thra y myfyriai, ennynai y tan, a thorodd allan o'r diwedd:—

"Yr wyf yn dyweyd i chwi, Augustine, ni allaf fi fyned tros bethau yn y modd yna, os gellwch chwi. Y mae yn ffieidd-dra ynoch chwi i amddiffyn y fath drefniant—dyna fy meddwl i."

"Beth yn awr," ebe St. Clare, gan edrych i fyny, "ati hi eto, ai ie?"

"Yr wyf yn dweyd ei fod yn berffaith ffieiddiol ynoch i amddiffyn y fath drefniant!" ebe Miss Ophelia, gyda llais grymusach nag o'r blaen.

"Y fi ei amddiffyn, fy anwyl gares? Pwy erioed a ddywedodd i mi ei amddiffyn?" ebe St. Clare.

"Wrth gwrs yr ydych yn ei amddiffyn; yr ydych yn gwneyd, chwi y deheuwyr. Pa fodd y mae caethion genych, os nad ydych yn amddiffyn y trefniant?"

"A ydych chwi mor blentynaidd a meddwl nad oes neb yn y byd yma yn gwneyd dim ond yr hyn a feddyliant ei fod yn iawn? Ai ni fyddwch chwi, neu ai ni ddarfu i chwi erioed wneyd dim ond a farnech oedd yn gwbl yn ei le?"

"Os byddaf, mi fydd yn edifar genyf o'i herwydd, yr wyf yn gobeithio," ebe Miss Ophelia, gan chwareu eu gweill gydag egni mawr.

"Felly byddaf finnau," ebe St. Clare, gan bilio ei *orange;* "yr wyf yn edifarhau beunydd o'r herwydd."

"Paham yr ydych yn dal i wneyd y peth ynte?"

"Ai ni ddarfu i chwithau un amser ddal ymlaen yn y drwg wedi i chwi edifarhau o'r herwydd, fy nghares?"

"Wel, ddim ond pan fyddwn yn cael fy nhemtio yn fawr iawn," ebe Miss Ophelia.

"Wel, yr wyf finnau yn cael fy nhemtio yn fawr iawn, a dyna ydyw fy aflwydd."

"Ond byddaf fi yn wastad yn penderfynu diwygio, ac y peidiaf," ebe Miss Ophelia.

"Wel, mi fum innau yn penderfynu yn ol ac ymlaen, er ys deng mlynedd bellach," ebe St. Clare; "ond yr wyf wedi methu dyfod trwyddi, rywfodd. A ydych chwi wedi ymryddhau oddiwrth eich holl bechodau, fy nghares."

"Fy nghâr, Augustine," ebe Miss Ophelia, yn ddifrifol, gan ollwng ei gwaith ar ei glin, "yr wyf yn addef fy mod yn haeddu i chwi ddwyn ar gof i mi fy ffaeleddau. Yr wyf yn gwybod fod y pethau a ddywedasoch oll yn wir; nid oes a'u teimla yn fwy nag wyf fi. Ond ymddengys i mi wedi 'r cwbl fod rhyw wahaniaeth

rhyngof fi a chwi. Yr wyf yn meddwl y torwn ymaith fy mraich ddeheu yn hytrach na dal a pharhau o ddydd i ddydd i wneyd y peth a ystyriwn yn ddrwg. Ond wedi 'r cwbl, y mae fy ymddygiadau yn aml mor anghyson â'm proffes fel nad wyf yn synu eich bod yn dannod."

"O! fy nghares garedig," ebe St. Clare, gan eistedd i lawr, a gogwyddo ei ben ar ei glin, "peidiwch a siarad mor arswydus ddifrifol yn awr! Chwi a wyddoch o'r goreu y fath fachgen coeglyd didda a fum bob amser. Byddaf yn hoffi eich procio chwi fyny ambell waith, dyna y cwbl—i gael eich gweled chwi yn myn'd o ddifrif. Yr wyf yn meddwl eich bod yn dda iawn dros ben—yn arswydus dda; bydd y meddwl am eich daioni yn fy lladd i 'n lân!"

"Ond y mae hwn yn fater sobr, fy machgen," ebe Miss Ophelia, gan osod ei llaw ar ei dalcen.

"Arswydus felly!" ebe fe, "ac mi——wel, ni byddaf byth yn hoff o siarad yn ddifrifol ar hin boeth fel hyn hefo'r *mosquitoes* yma, a phob peth, ni all dyn ymgodi i unrhyw hediadau uchelion ar unrhyw foesol-bwnc. Ac yr wyf yn credu," ebe fe, gan gyfodi i fyny yn ddisymwth—"dyna ddamcaniaeth yrŵan! Yr wyf yn deall yn awr pa fodd y mae cenedloedd gogleddol bob amser yn fwy rhinweddol na'r rhai deheuol—yr wyf yn gweled y mater drwyddo."

"O! Augustine, y mae rhyw ferw rhyfedd yn eich pen."

"Ai tybed?" wel, fe allai fod; ond mi a fyddaf ddifrifol am unwaith yn awr; ond rhaid i chwi estyn i mi y fasged *orange*—bydd yn anghenrheidiol fy 'nghynnal i â photelau, a'm cysuro âg afalau,' os bydd i mi wneyd y fath ymdrech a hon. Yn awr," ebe fe, gan ymaflyd yn y fasged, "mi a ddechreuaf. Pan fyddo anghenrhaid ar ddyn, wrth gwrs amgylchiadau bywyd, i ddal dau neu dri dwsin o'i gydbryfed dynol mewn caethiwed, y mae parch dyladwy i farn cymdeithas yn gofyn ——."

"Nid wyf yn gweled eich bod yn dyfod yn ddim mwy difrifol," ebe Miss Ophelia.

"Aroswch, yr wyf yn dyfod ymlaen, chwi a gewch glywed. Y mater yw hyn, yn fyr, fy nghares," ebe fe, â'i wynebpryd yn ymwisgo mewn agwedd bur sobr a difrifol. "Ar y cwestiwn o gaethwasanaeth, ni all fod, yr wyf yn meddwl, ond un farn. Y planwyr sydd yn gwneyd arian oddiwrthi—y clerigwyr, y rhai y mae planwyr ganddynt i ofalu am eu boddhau—gwladweinyddion, y rhai a geisiant lywodraethu trwyddi, a allant blethu a phlygu iaith a moesddysg i'r fath raddau ag i beri syndod i'r byd at eu cywreinrwydd—gallant dreisio natur, a'r Beibl, a phobpeth arall ymron, i'r gwasanaeth o'i hamddiffyn; ond wedi 'r cwbl nid ydynt hwy eu hunain, na'r byd, yn credu yn y peth yr un mymryn mwy yn y diwedd. Peth o'r diafol ydyw, dyna 'r gwir noeth

am dani; ac ymddengys i mi ei fod yn anghraifft bur hynod i ddangos beth fedr y gŵr hwnw ei wneyd yn ei *line* o."

Gollyngai Miss Ophelia ei gwaith, ac edrychai mewn syndod; a St. Clare gan fwynhau yr olwg ar ei synedigaeth, a elai ymlaen—

"Yr ydych yn ymddangos fel yn synu; ond os cewch fi unwaith at y mater, mi a af trwyddo ac a wnaf fynwes lân o hono. Y peth melldigaid hwn—melldigedig gan Dduw a dyn, pa beth ydyw? Diosgwch ef o'i holl addurniadau, dilynwch ef hyd wreiddyn a sylwedd y cwbl, a pha beth ydyw? Wel hyn, gan fod fy mrawd Quashy yn anwybodus ac egwan, a minnau yn ddeallus a chryf; a chan y gwn pa fodd, ac y medraf ei wneuthur, yna gallaf ddwyn ymaith yr oll a fedd, a'i gadw, a rhoi iddo ef yr hyn a deimlwyf ar fy nghalon i ganiatâu iddo. Pa beth bynag fyddo yn rhy galed, rhy aflan, rhy annymunol, genyf fi, mi a roddaf Quashy i'w wneyd. Gan nad wyf fi 'n caru gweithio, fe gaiff Quashy weithio yn fy lle! Am fod yr haul yn fy llosgi i, caiff Quashy aros yn yr haul. Caiff Quashy ennill arian, a minnau eu gwario. Rhaid iddo ef wneyd fy ewyllys i, ac *nid* ei ewyllys ei hun, holl ddyddiau ei fywyd trancedig; ac fe gaiff hyny o siawns i fyned i'r nefoedd yn y diwedd, a fyddo yn gyfleus i mi ganiatâu iddo. Dyna y peth a olygaf fi ydyw caethwasanaeth. Mi a heriwn un dyn ar y ddaear i ddarllen ein deddfau caethiwed, fel y maent ar ein deddflyfrau, a gwneyd un peth arall o honi. Siarad am gamarfer caethwasiaeth! pw! ffolineb—y peth ei hun ydyw sylwedd yr holl gamarferion: a'r unig reswm na suddai y wlad o dano, fel Sodom a Gomorra, ydyw, ei fod yn cael ei arfer yn annhraethol well nag ydyw ynddo ei hun. O dostur, a rhag cywilydd, am ein bod yn ddynion wedi ein geni o wragedd, ac nid yn fwystfilod rheibus, nid yw llawer o honom—ni feiddiwn, ac ni fynem lawn ymarfer yr holl awdurdod a ddyry ein cyfreithiau barbaraidd yn ein dwylaw. A'r hwn sydd yn myned bellaf, ac yn ymddwyn waethaf, nid yw yn myned mor bell ag y mae ein cyfreithiau yn caniatâu iddo."

Yr oedd St. Clare, tra y llefarai, yn rhodio yn ol ac ymlaen ar hyd yr ystafell. Ymddangosai ei wynebpryd prydweddol fel yn llosgi gan angerdd ei deimladau. Yr oedd ei lygaid gleision mawrion yn tanio; ysgogai ei freichiau gydag yni yn ddiarwybod iddo ei hun. Ni welsai Miss Ophelia ef erioed yn y dymher hon o'r blaen.

"Yr wyf yn tystio wrthych," ebe fe, gan sefyll o flaen ei gares, "nad yw o un dyben yn y byd i deimlo ar y mater hwn; ond gallaf sicrhau i chwi y bu amserau yr oeddwn yn meddwl, pe buasai yr holl wlad yn suddo, ac yn claddu yr holl gamwedd a'r trueni hwn allan o'r golwg, y buaswn yn foddlawn i suddo gyda

hi. Pan fyddwn yn teithio yma a thraw ar ein hafonydd, ac ar hyd y wlad. ac yn meddwl bod pob anghenfil, dirmygus, isel-wael o ddyn a gyfarfyddwn, yn cael caniatâd gan ein cyfreithiau i fod yn arglwydd cwbl-gyflawn ar gynnifer o wŷr, gwragedd, a phlant, ag a allai dwyllo, ladrata, neu hudo digon o arian i'w prynu—pan welwn y fath ddynion yn perchenogi plant truain digymhorth, a gwragedd a genethod ieuainc—byddwn yn teimlo yn barod i felldithio fy ngwlad, i felldithio dynoliaeth!"

"Augustine! Augustine!" ebe Miss Ophelia, "yr ydych wedi dywedyd digon. Ni chlywais erioed yn fy mywyd ddim byd tebyg i hyn yn cael ei ddywedyd hyd yn nod yn y Gogledd."

"Yn y Gogledd!" ebe St. Clare, gyda chyfnewidiad disymwth yn ei agwedd, ac ymddangosiad cyffelyb i'w agweddiad diystyr arferol. "Pw! y mae eich cymdeithion gogleddol yn waed-oerllyd; yr ydych chwi yn oeraidd gyda phob peth! Ni ellwch chwi felldithio i fyny ac i lawr fel nyni, pan ddechreuom arni yn iawn."

"Wel, ond y cwestiwn ydyw, ——" ebe Miss Ophelia.

"O! ie, y cwestiwn yw, a chwestiwn caled ydyw, yn siwr ddigon! Pa fodd y daethoch chwi i'r cyflwr hwn o bechod a thrueni? Wel, mi a atebaf yn yr hen eiriau da a arferech ddysgu i mi ar y Sabbothau gynt. Mi a ddaethum iddo trwy genedliad naturiol. Yr oedd fy nghaethweision yn eiddo fy nhad, a'r hyn sydd fwy, yn eiddo fy mam, ac yn awr y maent yn eiddof fi, hwynthwy a'u had, yr hwn sydd yn ymddangos yn debygol o fod yn lliosog. Daeth fy nhad yma o Loegr Newydd, fel y gwyddoch, ac yr oedd yn ddyn pur gyffelyb i'ch tad chwi—yn hen Rufeinwr trwyadl, cywir-onest, boneddigaidd, âg ewyllys anhyblyg. Ymsefydlodd eich tad chwi yn Lloegr Newydd, i lywodraethu ar greigiau a cheryg, a threisio moddion cynnaliaeth o natur wyllt anial; ymsefydlodd fy nhad innau yn Louisiana, i lywodraethu ar wŷr a gwragedd, a threisio ei gynnaliaeth o honynt hwy. Fy mam," ebe fe, gan godi i fyny, a rhodio at arlun oedd yn crogi ar bared yr ystafell, a syllu arno gydag wynebpryd yn pelydru gan deimlad o barchedigaeth gwresog, "*yr oedd hi yn ddwyfolaidd!* Peidiwch ag edrych arnaf fel yna!—chwi a wyddoch beth wyf yn feddwl! Yr oedd, y mae yn debyg, yn farwol o enedigaeth; ond mor belled ag y gellais weled erioed, nid oedd dim o ddelw gwaeledd a ffaeledd dynol ynddi; a dywed pob un sydd yn ei chofio, ag oedd yn ei hadnabod, pa un bynag ai caeth ai rhydd, gweinidog, cydnabod, neu berthynas, yr un peth am dani. Y fam hòno, fy nghares, ydoedd y cwbl a safai rhyngof fi a hollol anffyddiaeth, er's blynyddau. Yr oedd yn wir ddelw o'r Testament Newydd, yn ffaith fywiol, ag yr oedd ei gwirionedd, a'i gwirionedd yn unig, yn eglurhad arni. O! fy mam! fy mam!" ebe St. Clare, gan guro

ei ddwylaw ynghyd, wedi ei orchfygu gan ei deimladau, ac yna gan ymattal yn ddisymwth, rhodiai yn ol, ac eisteddai i lawr.

"Gefeilliaid oedd fy mrawd a minnau, a dywedant, chwi a wyddoch, fod gefeilliaid yn ymdebygoli i'w gilydd; ond yr oeddym ni yn dra gwahanol yn mhob peth. Yr oedd ganddo ef lygaid duon, tanllyd, gwallt du fel y fran, ffurf-wyneb grymus, Rhufeinaidd, a phrydweddiant gwineulawn. Minnau â llygaid gleision, gwallt euraidd, delweddiant Groegaidd, a phryd teg. Yr oedd ef yn weithgar a chraffus, minnau yn freuddwydiol a hwyrdrwm. Yr oedd ef yn garuaidd i'w gyfeillion a'i gydraddolion, ond yn sarhaus, tra-arglwyddaidd, a chaled tuag at ei israddolion, ac yn hollol annhrugarog tuag at unrhyw un a'i gwrthwynebai. Yr oeddym yn wŷr cywir ein dau; efe oddiar falchedd ac ëondra, a minnau oddiar ryw fath o neillduedd dychymygol. Yr oeddym yn caru ein gilydd rywbeth yn debyg fel y gwna bechgyn yn gyffredin; efe oedd hoffder ein tad, a minnau oedd ddymuniant llygaid fy mam.

"Yr oedd ynof ryw ddwys dyner deimlad gyda golwg ar bob mater, nad oedd fy nhad ac yntau erioed wedi gallu ei ddeall, ac â'r hwn ni allent gydymddwyn. Ond gallai fy mam; ac felly, pan fyddwn wedi cwerylu âg Alfred, ac yr edrychai fy nhad yn wgus arnaf, arferwn fyned i ystafell fy mam, ac eistedd i lawr yn ei hymyl. Yr wyf yn cofio yn awr am ei golwg, gyda ei gruddiau gwelwon, a'i llygaid dyfnion, tyner, dwysion, a'i gŵn gwŷn—gwisgai wŷn bob amser—a byddwn yn wastad yn meddwl am dani, pan ddarllenwn yn y Dadguddiad am y saint wedi eu gwisgo mewn llian main, gwŷn a glân. Yr oedd ynddi lawer iawn o athrylith, o ryw fath neu arall, yn enwedig mewn miwsig, ac arferai eistedd wrth ei horgan, a chwareu hen beroriaeth ardderchog yr Eglwys Babaidd, a chanu gyda llais tebycach i'r eiddo angel na'r eiddo marwol wraig; dodwn innau fy mhen ar ei glin, ac wylwn, breuddwydiwn, a theimlwn—O! yn annarluniadwy!—pethau nad oedd genyf iaith i'w desgrifio!

"Nid oedd y pwnc o gaethwasiaeth erioed wedi ei ystyried y pryd hyny, fel y mae yn awr; nid oedd neb wedi breuddwydio bod dim niwed ynddo.

"Yr oedd fy nhad yn bendefigydd o'r groth. Credaf iddo, mewn rhyw sefyllfa o gynfodoliaeth, fod yn perthyn i'r radd uchelaf o ysbrydion, ac iddo ddwyn holl falchedd ei urdd gydag ef i'r byd hwn; oblegid yr oedd yn reddfol ynddo, wedi ei gau yn ei esgyrn, er ei fod o haniad isel, ac heb fod yn perthyn i un teulu uchelwaedog. Yr oedd fy mrawd wedi ei genedlu ar ei ddelw yn hollol.

"Yn awr, chwi a wyddoch nad oes gan un pendefigydd, yn un wlad trwy y byd, ddim dynol gydymdeimlad tuallan i gylch penodol mewn cymdeithas. Yn Lloegr, y mae y llinell derfyn

mewn un lle; yn Burma, mewn lle arall; ac yn America, mewn lle arall drachefn: ond nid yw pendefigydd y gwledydd hyny byth yn myned tros y llinell hòno. Yr hyn a fyddai yn galedi a thrallod mawr o fewn cylch ei ddosbarth ei hun, nid yw ond peth hollol ddibwys—mater o anghenrheidrwydd, mewn cylch arall. Llinell wahaniaethol fy nhad ydoedd lliw y croen. Ni fu un dyn erioed yn fwy cywir a charedig yn mysg ei gydradd; ond ystyriai y negroaid, o bob graddau a lliwiau, fel y ddolen gydiol rhwng dyn ac anifel, a thynai ei holl syniadau o gyfiawnder neu garedigrwydd oddiwrth y dybiaeth hon. Tybiaf, yn sicr, pe buasai rhywun yn gofyn iddo yn bendant, pa un a oedd ganddynt eneidiau anfarwol neu beidio, y buasai, ar ol petruso a hymio, yn dweyd, oes. Ond nid oedd fy nhad yn poeni fawr ar ei feddwl ynghylch pethau ysbrydol; nid oedd ganddo un math o syniadau crefyddol, ymhellach na math o barch i Dduw, fel penaeth y boneddigion.

"Wel, yr oedd fy nhad yn gweithio tua phum cant o negroaid; ac yr oedd yn ŵr o *fusnes* i'r dim; yr oedd pob ysgogiad wrth drefniant caeth a rheolaidd, nad oedd dim gwyro oddiwrtho i fod yn y mesur lleiaf. Yn awr, os ystyriwch fod y fath drefniant i gael ei weithio allan gan fagad o lafurwyr dioglyd, ysgafala, difedr, y rhai na chawsent erioed yn eu bywyd eu dwyn dan ddylanwad un cymhelliad i ddysgu gwneyd dim, ond llechian, fel y dywedwch chwi yn Vermont, a chwi a welwch y byddai amgylchiadau yn dygwydd yn fynych yn ei blanigfa a ymddangosent yn arswydus ofnadwy i blentyn tyner deimlad o'r fath ag oeddwn i.

"Heblaw y cwbl, yr oedd ganddo arolygwr—adyn mawr, tal, esgyrnog, trymddwrn, o feibion Vermont, (begio 'ch pardwn)—yr hwn a aethai trwy brentisiaeth reolaidd mewn dideimladrwydd a mileinigrwydd, ac a gymerasai ei raddu i'r gwaith. Ni allasai fy mam erioed ei oddef, na minnau chwaith; ond ennillasai hollol ddylanwad ar fy nhad; a'r dyn hwn oedd penaeth llywodraethol y lle.

"Plentyn bychan oeddwn i y pryd hwnw; ond yr oedd genyf ryw gariad yr amser hòno, fel yn awr, at bob graddau o ddynoliaeth—math o duedd at fyfyrio y natur ddynol yn mhob ffurf o honi. Byddwn yn fynych yn y cabanau, ac yn mysg llafurwyr y maes lawer iawn; ac yr oeddwn yn sefyll yn uchel iawn yn eu ffafr, 'a thywelltid pob math o gwynion i'm clustiau, adroddwn innau hwynt i fy mam, a rhyngom ein dau, ni a ffurfiem bwyllgor i ystyried cwynion, ac unioni camwri. Attaliasom a ffrwynasom lawer o greulonderau, a llawen ystyriem ein bod yn gwneyd llawer iawn o ddaioni, hyd nes, fel y dygwyddai yn fynych, i'm sel fy nghario yn rhy bell. Cwynai Stubbs wrth fy nhad na allai efe lywodraethu y dwylaw, ac y buasai raid iddo roddi ei le i

fyny. Yr oedd fy nhad yn briod cariadus a thirion, ond yn ddyn na ysgogasai erioed oddiwrth ddim a dybiasai ei fod yn angheuraheidiol; ac felly, efe a osododd ei draed fel craig rhyngom ni a'r gweithwyr caethion. Dywedodd wrth fy mam, mewn dull eithaf tirion a pharchus, ond cwbl benderfynol, ei bod hi i gael yr holl lywodraeth dros weinidogion y tŷ, ond na allai efe oddef un ymyriad â materion y gweithwyr allan. Efe a'i parchai hi uwchlaw pob bod dynol; ond dywedasai yr un peth yn hollol wrth Mair y Forwyn ei hun, pe y daethai hi ar ffordd ei drefniant.

"Byddai mam, weithiau, yn ymresymu âg ef, ac yn ceisio cyffroi cydymdeimlad ynddo. Gwrandawai yr appeliadau mwyaf cyffrous gyda'r moesgarwch mwyaf, ond hollol ddideimlad.

"'Y mae y cwbl yn dyfod i hyn,' efe a ddywedai; 'a raid i mi ymadael â Stubbs, neu ei gadw? Y mae Stubbs yn berffeithrwydd mewn dyfalwch, a gonestrwydd, fel goruchwyliwr effeithiol, yn llaw at *fusnes* i'r dim, ac mor ddynolgar a'r cyffredin. Ni allwn gael perffeithrwydd mewn pob peth; ac os cadwaf ef, rhaid i mi gefnogi ei ddysgyblaeth tuag at y dynion, er y gall rhyw bethau annymunol ddygwydd yn awr ac eilwaith. Y mae llymder achlysurol yn hanfodol yn mhob llywodraeth. Bydd rheolau cyffredinol yn gwasgu yn galed ar amgylchiadau neillduol.' Ymddengys yr ystyriai fy nhad y gosodiad olaf yna fel un diwrthddadl a phenderfynol ar bob achos o lymder dysgyblaeth. Wedi y dywedai gymaint a hynyna, efe a orweddai ar y *sofa* yn gyffredin, fel gŵr wedi myned trwy ei *fusnes*, ac ymollyngai i huno, neu cymerai ei bapyr i ddarllen, fel y dygwyddai.

"Y ffaith yw, yr oedd gan fy nhad y dalent hòno a'i cymhwysai i fod yn wladweinydd (*statesman*). Gallasai ranu Poland mor hawdd a dosbarthu *orange*, neu fathru Iwerddon mor dawel a dideimlad ag un dyn byw. Rhoddodd fy mam yr ymdrech i fyny o'r diwedd mewn anobaith. Ni wybyddir byth hyd y dydd olaf pa faint a deimla calonau tyner fel yr eiddo hi, y rhai a deflid yn ddigymhorth hollol i'r hyn a ymddengys iddynt hwy yn llynclyn o drawsder a chreulondeb, ond yr hyn nid yw yn ymddangos felly i neb o'u hamgylch. Bydd bywyd y cyfryw rai yn oes o drallod ac ing, yn y fath fyd uffernig-anian ag ydyw hwn. Nid oedd ganddi ddim i'w wneyd ond ceisio maethu ei phlant yn ei golygiadau a'i hegwyddorion ei hunan. Wel, wedi y cwbl a ddywedwch ynghylch addysgu a meithrin plant, hwy a dyfant i fyny yn hollol y peth ydynt wrth naturiaeth, ac nid dim arall. Yr oedd Alfred yn bendefigydd o'r cryd; ac fel y tyfai i fyny, yr oedd ei holl syniadau a'i deimladau yn gogwyddo yn reddfol y ffordd hòno; aeth holl addysgiadau fy mam gyda'r gwynt. Am danaf fi, suddasant yn ddwfn i'm calon. Ni ddarfu iddi erioed wrthwynebu yn uniongyrchol ddim a ddywedai fy

nhad, na dangos yn bendant ei bod yn meddwl yn wahanol iddo. Ond gwasgodd â holl nerth ei natur ddofn, ddifrifol, nes y llosgai ei ffordd i'm henaid, y syniad o ardderchogrwydd a gwerth yr enaid dynol gwaelaf. Edrychwn yn ei hwyneb gyda math o ddifrif-arswyd pan gyfeiriai weithiau tua'r ser yn yr hwyr, ac y dywedai wrthyf, 'Edrychwch acw, Augustine! bydd yr enaid distadlaf, gwaelaf, o'n caethion yn y lle hwn, fyw wedi i'r holl ser acw ddiffoddi am byth—byddant fyw cyhyd a Duw!'

"Yr oedd ganddi amryw hen arluniau gwychion, un yn neillduol, o Iesu Grist yn rhoddi ei olwg i'r dall. Byddai edrych ar hwnw yn cael argraff ddwys arnaf. 'Edrychwch ar hwna, Augustine,' meddai; 'cardotyn tlawd, heintus, oedd y dall; gan hyny, ni fynai y Gwaredwr ei iachau o bell! Galwodd ef ato, a *dododd ei ddwylaw arno.* Cofiwch hyn, fy machgen.' Pe cawswn fyw i dyfu i fyny o dan ei meithriniaeth, hi a'm llanwasai â syniadau a theimladau—ond, O! nis gwn â pha beth! Gallaswn fod yn sant, yn ddiwygiwr, yn ferthyr—ond, och! och! gadewais gartref pan nad oeddwn ond tair ar ddeg oed, ac ni welais hi byth drachefn!"

Yna dodai St. Clare ei ben ar ei ddwylaw, ac ni ddywedai air dros rai mynydau. Yn mhen ychydig, efe a edrychai i fyny, ac elai ymlaen.

"Y fath sothach tlawd, gwael, ydyw yr oll a elwir yn rhinwedd dynol! Gan mwyaf, nid yw ddim ond mater o hydred a lledred, a sefyllfa ddaearyddol, ynghyd â thymheredd naturiol. Nid yw y rhan fwyaf o hono ddim amgen na dygwyddiad! Er esiampl, ymsefydla eich tad chwi yn Vermont, mewn tref, lle y mae pawb, mewn ffaith, yn rhydd a chydraddol; daw yn aelod eglwysig a diacon; ac mewn amser efe a ymuna â chymdeithas gwrthgaethiwed, a golyga ni yn y Deheu yn ychydig amgen na barbariaid. Eto, nid yw yn mhob peth ond eilun o'm tad i, o ran cyfansoddiad, tueddfryd, ac ymarferion. Yr wyf yn ei weled yn nawsio allan mewn hanner cant o bethau—yr un ysbryd cryf, tra-awdurdodol, anhyblyg. Chwi a wyddoch o'r goreu pa mor anhawdd fyddai perswadio rhai dynion yn eich pentref chwi i gredu nad ydyw Squire Sinclair yn ystyried ei hun uwchlaw iddynt hwy. Syrthiodd ei goelbren ar amserau gweriniaethol; ond pendefigydd o galon ydyw, fel oedd fy nhad, yr hwn a lywodraethai ar bump neu chwe' chant o gaethion."

Teimlai Miss Ophelia duedd i wrthwynebu y darluniad hwn, a gollyngai ei gwaith o'i dwylaw i ddechreu ar ei dadl, ond attaliai St. Clare hi.

"Mi a wn bob gair a fwriedwch ei ddywedyd. Nid wyf yn dywedyd eu bod yn hollol yr un fath, mewn ffaith. Dygwyddai un syrthio i sefyllfa lle yr oedd pob peth yn gweithio yn erbyn ei dueddiadau naturiol, a'r llall lle yr oedd pob peth yn gweithio

yr un ffordd a hwy; ac felly, troai y naill allan yn hen werin-iaethwr cyndyn, cadarn, a phenderfynol: a'r llall yn hen unbenog cyndyn, uchelfrydig. Pe buasai y ddau yn berchenogion plan-igfeydd yn Louisiana, buasent mor debyced i'w gilydd a dwy belen wedi eu bwrw yn yr un *fold*."

"Y fath blentyn anmharchus o'i rieni ydych!" ebe Miss Ophelia.

"Nid wyf yn meddwl dim yn anmharchus am danynt," ebe St. Clare. "Chwi a wyddoch nad yw hybarchu yn beth yr wyf yn dueddol iawn iddo. Ond i fyned yn ol at fy hanes,—

"Pan fu farw fy nhad, efe a adawodd yr holl feddiannau rhyngof fi ac Alfred, i gael eu rhanu fel y cytunem ni â'n gilydd. Nid oes dyn yn anadlu ar ddaear Duw yn fwy anrhydeddus a charuaidd tuag at ei gydraddolion nag Alfred. Cytunasom yn rhagorol gyda golwg ar y meddiannau, heb i gymaint ag un gair na theimlad anfrawdol ddygwydd rhyngom. Ymgymerasom i gario gwaith y blanigfa ymlaen ynghyd, ac Alfred, yr hwn oedd yn feddiannol ar gynheddfau a theimladau ddwywaith cryfach at y fath orchwyl na'r eiddof fi, a ddaeth yn blanigwr gwresog, a llwyddiannus anghyffredin.

"Ond dwy flynedd o brawf a'n llwyr argyhoeddodd na allwn i fod yn gyfranog yn y gorchwyl hwnw. Meddu bagad o saith gant, y rhai na allwn eu hadnabod yn bersonol oll, na theimlo dyddordeb personol yn eu hachos—i'w prynu, eu gyru, eu cadw, eu porthi, eu gweithio, fel cynnifer o dda corniog, eu tori i lawr, a'u haddysgu yn rheolau y trefniant manylaf, astudio y modd cynnilaf y gellid eu cadw i ddal gyda'u llafurwaith, yr anghen-rheidrwydd am yrwyr ac arolygwyr, y fflangell fyth-anghen-rheidiol, y moddion cyntaf a diweddaf, a'r unig un hefyd i'w harfer; yr oedd yr holl beth trwyddo yn annyoddefol adgas a ffiaidd yn fy ngolwg i. A phan feddyliwn am yr uchel gyfrif a wnelai mam o un enaid tlawd, ymddangosai hyd yn nod yn ddychrynllyd ac ofnadwy.

"Ynfydrwydd perffaith ydyw siarad fod y caethion yn mwyn-hau eu sefyllfa yn eithaf da! Ni allaf byth aros y diflasdod brwnt a draetha rhai o'ch gogleddwyr. Ewyllysiant wenieithio i ni, yn eu sel i'n hesgusodi yn ein pechodau. Gwyddom ni oll bethau amgenach. Dywedwch i mi fod un dyn byw a gara weithio o doriad y dydd hyd wyll yr hwyr, o dan lygad meistr, heb ryddid i ollwng allan gymaint ag un teimlad na syniad, na fydd yn gyfrifol am dano, a hyny yn barhaus o ddydd i ddydd, am ddau bâr o huganau, ac un pâr o esgidiau y flwyddyn; a hyny o fywioliaeth mewn ymborth ac achles, a fyddo yn ddigonol i'w gynnal mewn cyflwr y gallo weithio. Y dyn allo dybied y gall bodau dynol, fel rheol gyffredin, ymdeimlo mor gysurus yn y cyflwr hwnw ag mewn rhyw sefyllfa arall, dymunwn iddo

wneyd prawf o'r peth ei hun. Mi a brynwn y fath gi a hwnw, ac a'i gweithiwn ef gyda chydwybod dawel."

"Yr oeddwn yn meddwl bob amser," ebe Miss Ophelia, "eich bod chwi, bawb o honoch, yn cymeradwyo y pethau hyn, ac yn meddwl eu bod yn iawn yn ol yr ysgrythyr."

"Ffolineb! Na, nid ydym wedi suddo mor isel a hyny eto. Ni cheisia Alfred, yr hwn sydd yn gymaint gormeiliwr ag un a rodiodd y ddaear, ei amddiffyn yn y ffordd yna; na, efe a saif yn dalog a hoew ar yr hen dir da a pharchus hwnw, *hawliau y cryfaf;* a dywed ef, ac yn eithaf rhesymol hefyd, nad yw planwr Americanaidd ddim ond gwneyd mewn un dull, y peth a wna y bendefigaeth Seisnig, a'r goludogion, â'r dosbeirth isaf; hyny yw, eu cymeryd a'u defnyddio, gnawd ac esgyrn, gorff ac enaid, at eu cyfleusderau eu hunain. Ceisia ef amddiffyn y naill a'r llall, ac o leiaf y mae yn *gyson* i'm tyb i. Haera na ddichon cyflwr o goethder uchel hanfodi, heb gaethiwo y werin mewn rhyw ddull, mewn enw neu mewn gweithred a gwirionedd. Rhaid fod dosbarth isel, meddai, i'w ddiofrydu i lafur a chaledwaith, ac i gaethiwed natur anifeilaidd; ac y mae y dosbeirth uchaf hyny yn cael mwy o seibiant a chyfoeth, i gyrhaedd golygiadau a dealltwriaeth eangach, fel y delo yn arweinydd a chyfarwyddwr i'r llall. Felly yr ymresyma ef, o herwydd ei fod wedi ei eni yn bendefigydd fel y dywedais."

"Pa fodd yn y byd y gellir cymharu y ddau beth â'u gilydd?" ebe Miss Ophelia. "Nid yw y llafurwr Seisnig yn cael ei werthu, ei fasnachu, ei gymeryd oddiwrth ei deulu, ei fflangellu."

"Y mae yn gymaint wrth ewyllys ei feistr, a phe byddai wedi ei brynu ganddo. Gall y caethfeistr fflangellu ei gaethwas i farwolaeth. Gall y llall ei newynu i farwolaeth. Gyda golwg ar ddyogelwch teuluaidd, y mae yn anhawdd dywedyd pa un ydyw y gwaethaf—i weled plant dyn yn cael eu gwerthu, ynte edrych arnynt yn cael eu newynu gartref."

"Ond nid yw yn un math o esgusawd dros gaethwasiaeth i ddywedyd nad ydyw yn waeth na rhywbeth drwg arall."

"Nid oeddwn yn crybwyll y peth fel rheswm i'r pwrpas hwnw. Addefaf ymhellach, bod ein dull ni yn sarhad mwy ysgeler ar iawnderau dynoliaeth, i brynu dyn fel ceffyl, edrych ei ddannedd, profi ei gymalau, ei osod i ymblygu, a cherdded, a rhedeg; ac yna, cytuno a thalu am dano. Cynnal maelwyr, eppilwyr, a masnachwyr mewn cyrff ac eneidiau dynol, ac fel hyn yn gosod y peth o flaen golwg y byd gwareiddiedig mewn ffurf mwy dynodol; er nad yw y peth o ran ei natur wedi y cwbl ond yr un; hyny yw, trawsddefnyddio un dosbarth o ddynion at wasanaeth a budd un arall, heb olwg yn y byd ar iawnderau a buddioldeb y dosbarth a drinir felly ei hun."

"Ni feddyliais erioed o'r blaen am y mater yn y goleu hwn," ebe Miss Ophelia.

"Wel, mi a ymdeithiais beth yn Lloegr, ac edrychais dros lawer iawn o ystadegau o gyflwr eu dosbeirth isaf, ac yr wyf yn meddwl yn wir na ellir gwrthbrofi Alfred, pan y dywed, fod ei gaethion ef yn well allan na dosbarth mawr o boblogaeth Lloegr. Chwi a welwch oddiwrth hyn, nad ydyw Alfred yr hyn a elwir yn feistr caled; nac ydyw. Y mae yn arglwyddaidd a llym at yr hyn a gyfrifir yn anufudd-dod; efe a saethai ddyn i lawr, mor rhwydded ag y saethai garw, os gwrthwynebai ef. Ond yn gyffredin, efe a ymffrostia yn fod ei gaethion ef yn cael eu porthi a'u cynnal yn dda.

"Pan oeddwn gydag ef, mi a wesgais arno yr anghenrheidrwydd o wneyd rhywbeth er eu haddysgu; ac er mwyn fy moddhau i, efe a geisiodd gapelwr, ac arferai eu cateceisio ar y Sabboth. Ond credwn ei fod yn meddwl yn ei galon, y buasai yn llawn cymaint o ddaioni iddo osod athraw i ddysgu ei gŵn a'i geffylau. A'r ffaith yw, bod y meddwl a gaffo ei wenwyno a'i anifeleiddio o'r bru, gan ddylanwad drwg, yn cael ei orfodi i dreulio pob dydd mewn caledwaith, yn gyfryw na ellir gwneyd fawr o argraff arno drwy ychydig o oriau o addysg ar y Sabboth. Gallai athrawon yr Ysgolion Sabbothol yn mysg poblogaeth y gweithfeydd yn Lloegr, ac yn mysg y dwylaw ar y planfeydd yn ein gwlad ein hunain, ddwyn tystiolaeth i wirionedd hyn, yno ac yma. Ond eto, y mae rhai eithriadau nodedig i'w cael yn ein plith, oddiwrth fod y negro o naturiaeth yn fwy agored i dderbyn argraffiadau crefyddol, na'r dyn gwyn."

"Wel," ebe Miss Ophelia, "pa fodd y darfu i chwi roddi i fyny eich sefyllfa fel planigwr?"

"Wel, darfu i ni gyd-dynu ymlaen am dymmor, hyd oni welodd Alfred, yn amlwg, nad oeddwn i yn gymhwys i'r bywyd hwnw. Efe a dybiai ei bod yn beth enbyd, wedi iddo ddiwygio, cyfnewid a gwellhau pob trefniadau, er mwyn fy nhawelu, fy mod fyth yn anesmwyth. Y gwir yw, wedi 'r cwbl, y PETH ei hun oeddwn i yn gasau—defnyddio y gwŷr a'r gwragedd hyny, parhau eu cyflwr o anwybodaeth, o israddiaeth, caethiwed a llygredigaeth—yn unig er mwyn gwneyd arian i mi!

"Heblaw hyny, yr oeddwn yn arfer cyfryngu bob amser mewn achosion o ddysgyblaeth. Gan fy mod fy hunan yn un o'r rhai diocaf o feibion dynion, yr oedd genyf ormod o gydymdeimlad â'r diog; a phan roddai y creaduriaid truain ffol geryg yn ngwaelod eu basgedi cotwm, er mwyn eu gwneyd i bwyso; neu y llanwent eu sachau â phridd, a chotwm yn y genau, ymddangosai i mi yn beth mor hollol debyg i'r hyn a wnaethwn fy hunan pe buaswn yn eu lle, fel na allwn ac na fynwn oddef iddynt gael eu fflangellu am hyny. Felly, gan hyny, gosodid terfyn ar bob dysgyblaeth blanfaol; a daeth Alfred a minnau i'r un penderfyniad ag y daeth fy nhad a minnau flyneddau o'r blaen.

Felly efe a ddywedodd wrthyf, fy mod yn ferchedaidd fy serch-iadau, ac na wnawn byth mo 'r tro at *fusnes*; a chynghorodd fi i gymeryd yr eiddo oedd yn y banc, a'r palas perthynol i'r teulu yn New Orleans, a myned i ysgrifenu prydyddiaeth, a gadael iddo ef drin y blanfa. Felly ymadawsom, a daethum i yma."

"Ond pa fodd na buasech yn rhyddhau eich caethion?"

"Wel, nid oeddwn i fyny â hyny. Eu cadw fel offerynau i wneyd arian o honynt, ni allaswn ar un cyfrif; eu cadw i'm helpio i wario arian, nid oedd yn ymddangos yn beth gwrthyn, chwi a welwch. Yr oedd rhai o honynt yn hen weinidogion yn y teulu, o'r rhai yr oeddwn yn bur hoffus. Y rhai ieuangaf oeddynt blant y rhai hynaf. Yr oeddynt oll yn bur foddlawn i'w sefyllfa."

Yma ymattaliai, a rhodiai yn ol ac ymlaen mewn agwedd fyfyriol.

"Bu amser," ebe fe, "pan oedd genyf gynlluniau a gobeithion i wneuthur rhywbeth yn y byd hwn mwy na rhwyfo mewn gwagedd. Yr oedd genyf ryw ddrychiolaeth o awyddfryd i fod yn fath o gaeth-ryddhäwr—i lanhau fy ngwlad enedigol oddiwrth y brycheuyn du hwn. Y mae pawb dynion ieuainc yn teimlo rhyw ias cyffelyb, ryw brydiau, y mae yn debyg genyf; ond wed'yn —"

"Ond paham na buasech yn gwneyd," ebe Miss Ophelia. "Ni ddylasech edrych yn ol wedi rhoddi eich llaw ar yr aradr."

"O wel, nid aeth pethau ymlaen gyda mi fel yr oeddwn yn dysgwyl, ac mi gefais yr anffortun o fyw fel y gwnaeth Solomon. Y mae yn debygol ei fod yn elfen anghenrheidiol i'n doethineb ein dau; ond rywfodd neu gilydd, yn lle dyfod yn weithredydd effeithiol ac yn adgenedlydd cymdeithas, myfi a ddaethum i fod megys dernyn o bren marw ar wyneb dwfr, yn cael fy nghludo a'm hyrddio yma ac acw yn ol dygwyddiad a damwain. Bydd Alfred yn fy nwrdio bob tro y cyfarfyddom, ac yr wyf yn addef ei fod yn cael y trechaf arnaf; oblegid y mae efe yn gwneyd rhywbeth mewn gwirionedd. Y mae ei fywyd yn effaith briodol ei olygiadau, tra nad yw yr eiddo fi ond oferwagedd dirmygus."

"Fy nghâr anwyl, a ellwch chwi fod yn foddlawn i dreulio amser eich prawf yn y fath fodd?"

"Yn foddlawn! Ai nid oeddwn yn dywedyd i chwi fy mod yn ffieiddio y fath fywyd? Ond i ddyfod yn ol at y pwnc—yr oeddym yn son am fater y rhyddhau yma. Nid wyf yn meddwl bod fy nheimladau i yn mherthynas i gaethwasiaeth yn rhai hynod. Byddaf yn cyfarfod â llawer o ddynion, ag ydynt yn meddwl am dano yn eu calonau yn debyg fel yr wyf finnau. Y mae y wlad yn gruddfan dano, ac er mor waethed ydyw i'r caethwas, y mae yn waeth, os dim, i'r meistr. Nid oes eisieu

drych i allu gweled bod dosbarth lliosog o bobl israddol, anwybodus, llygredig, a difoes, yn gwneyd niwed i ni, yn gystal ag iddynt hwy eu hunain. Ni all pendefigion a mawrion Lloegr weled a theimlo y peth fel nyni; oblegid nad ydynt hwy yn ymgymysgu â'r dosbarth a orthrymir ganddynt fel yr ydym ni yn arferol o wneyd. Y maent yn ein tai, yn gymysg â'n plant, ac yn ffurfio eu meddyliau a'u teimladau yn gynt nag y gallwn ni wneyd, oblegid y maent yn epil o bobl ag y mae plant yn hoff iawn o honynt, ac o ymdebygu iddynt. Pe na buasai Efa, yn awr, yn rhyw beth mwy angelaidd na'r cyffredin, buasai wedi ei hanrheithio. Gallem mor rhesymol adael y frech wen i gynniwair yn eu plith, a meddwl bod ein plant yn ddiogel rhag ei chael oddiwrthynt, a'u gadael yn ddiaddysg a halog eu moesau, a meddwl na bydd i'n plant gael eu llygru gan eu dylanwad. Eto y mae ein cyfreithiau yn gwahardd yn bendant a hollol bob trefniant effeithiol a phwrpasol i roddi addysg iddynt; ac y maent yn gwneyd yn gall yn hyny hefyd; oblegid gwnewch unwaith ond dechreu, ac addysgwch un genedlaeth o honynt yn iawn, a dyna gaethwasiaeth wedi darfod am dani byth. Os na byddai i ni roddi eu rhyddid iddynt, hwy a'i cymerent."

"Ond beth ydych yn feddwl fydd diwedd hyn?" ebe Miss Ophelia.

"Ni wn i. Un peth sydd sicr—y mae cyffro yn mysg y gwerinoedd trwy y byd; ac y mae cyfnewidiad i ddyfod yn fuan neu 'n hwyrach. Y mae yr un peth yn gweithio yn Ewrop—yn Lloegr, ag sydd yn y wlad hon. Arferai mam son wrthyf am fil blyneddau sydd i ddyfod, pan fydd i Grist deyrnasu, a phob dyn i fod yn rhydd a hapus; a hi a'm dysgodd pan oeddwn yn blentyn, i weddïo, 'Deled dy deyrnas.' Byddaf yn meddwl weithiau fod yr holl sŵn, a chynhwrf, ac ocheneidio, a gruddfan, ag sydd yn mysg yr esgyrn sychion, yn rhagarwyddo fod y peth y soniai hi am dano ar ddyfod. Ond pwy a oddef ddydd ei ddyfodiad ef!"

"Augustine, mi a fyddaf yn meddwl weithiau nad ydych yn bell o deyrnas Dduw," ebe Miss Ophelia, gan ollwng ei gweuadwaith, ac edrych yn bryderus ar ei châr.

"Diolch i chwi am eich barn dda am danaf; ond i fyny ac i lawr y mae gyda mi—i fyny at borth y nef mewn damcaniaeth, i lawr hyd lwch y ddaear mewn ymarferiad. Ond dyna y gloch yn ein galw at dê. Gadewch i ni fyned, ac na ddywedwch eto na ddarfu i mi erioed yn fy mywyd siarad yn gwbl ddifrifol."

Wrth y bwrdd tê, cyfeiriai Marie at amgylchiad Prue. "Yr wyf yn ofni, fy nghares," ebe hi, "y tybiwch ein bod oll yn farbariaid."

"Yr wyf yn barnu hwnw yn dro barbaraidd," ebe Miss Ophelia; "ond nid wyf yn meddwl eich bod oll yn farbariaid er hyny."



SCIPIO YN YMLADD A'R GWAEDGWN.

"Wel, yn awr," ebe Marie, "mi a wn yn dda ei bod yn anmhosibl cyd-ddwyn â rhai o'r creaduriaid hyn. Y maent mor ddrygionus—ni ddylent gael byw. Nid oes genyf fi rithyn o gydymdeimlad yn y fath achosion. Pe ymddygent fel y dylent, ni ddygwyddai pethau o'r fath."

"Ond, mama," ebe Efa, "yr oedd y greadures druan yn anhapus—dyna barai iddi yfed."

"O, yn wir! fel pe buasai hyny yn rhyw esgus! Yr wyf finnau yn anhapus yn bur fynych. Yr wyf yn meddwl fy mod i yn cael profedigaethau mwy nag a gafodd hi erioed. Dim ond am eu bod hwy mor ddrwg y mae pethau o'r fath yn dygwydd. Y mae rhai o honynt na ellwch byth eu tori i fewn trwy un math o lymder. Yr oedd gan fy nhad ddyn, yr wyf yn cofio, ag oedd mor ddiog, fel y rhedai ymaith rhag gweithio, a gorweddai i lawr yn y llwyni, a lladratai, a gwnai bob math o ddrygau. Daliwyd, a fflangellwyd y dyn hwnw laweroedd o weithiau, ond ni wnaeth erioed ddim daioni iddo; ac o'r diwedd, efe a ymlusgodd ymaith, er ei fod mor fethiant fel mai prin y gallasai ymsymud, ac a fu farw yn y llwyn. Nid oedd un math o achos ganddo, oblegid yr oedd dynion fy nhad yn cael eu trin yn dirion bob amser."

"Mi 'roedd dy dad yn 'mgenach na 'thdi 'nte, os oedd o'n dirion wrthyn nhw," ebe F'Ewythr Robert—"yr hen faeden front gen ti."

"Mi dorais i un i fewn unwaith," ebe St. Clare, "ag y methasai yr holl feistriaid a'r arolygwyr wneyd dim yn y byd o hono."

"Y chwi!" ebe Marie. "Wel mi fyddai yn dda genyf wybod pa bryd y gwnaethoch chwi erioed ddim o'r fath beth!"

"Wel, yr oedd yn ddyn cryf cawraidd; yn Affricaniad genedigol; ac ymddangosai fod y duedd reddfol at ryddid yn gref anghyffredinol ynddo. Yr oedd yn llew Affricanaidd trwyadl—Scipio y galwent ef. Ni allai neb wneyd dim yn y byd o hono: a gwerthid ef o law i law, hyd nes prynodd Alfred ef o'r diwedd, gan y meddyliai y gallai ei drin. Un diwrnod efe a darawodd yr arolygwr i lawr, ac ymaith âg ef i'r llwyni. Yr oeddwn i yn dygwydd bod ar ymweliad âg Alfred ar y pryd; canys yr oedd hyny wedi i ni ymadael â'n gilydd. Yr oedd Alfred wedi cythruddo yn fawr iawn; ond dywedais wrtho mai ei fai ef ei hun yn hollol ydoedd, a chynnygiais wystlo âg ef faint a fynai y gallwn i dori y dyn i fewn; ac o'r diwedd cytunwyd, os gallem ei ddal, y cawn wneyd prawf arno. Felly hwy a godasant chwech neu saith o ddynion, gyda chŵn a gynau, i'w hela. Mi all dynion, chwi wyddoch, deimlo yr un modd wrth fyned i hela dyn ag wrth hela carw; yr oeddwn yn teimlo yn bryderus fy hun, er fy mod yn ymgymeryd â'r gorchwyl fel math o gyfryngwr, os byddai iddo gael ei ddal.

"Wel, aeth y cŵn ymlaen dan sawrio, a chyfarth, a chwrnu; ac o'r diwedd, daethom ar ei draws. Efe a redodd ac a neidiodd mor chwimwth a'r ewig, a gadawodd ni ymhell o'i ol am gryn amser; ond o'r diwedd, daliasom ef mewn tewlwyn o goed *cane;* yna troes i ymladd, a bu yn galed iawn ar y cŵn: lladdodd dri o honynt â'i ddyrnau moelion. Saethid ef i lawr, fodd bynag, a syrthiai yn waedlyd ac archolledig wrth fy nhraed. Edrychai y truan yn fy wyneb, ac yr oedd dynoliaeth ac anobaith yn ei wyneb. Cedwais y cŵn a'r dynion oddiwrtho, a hawliais ef fel fy ngharcharor. Cefais lawn waith i'w hattal rhag ei saethu; dadleuais am fy margen, a gwerthodd Alfred ef i mi. Wel, mi a'i cymerais mewn llaw, ac mewn pythefnos, yr oeddwn wedi llwyddo i'w wâreiddio, a'i gael mor ufudd-ymostyngar ag y gallai calon ddymuno."

"Beth yn y byd a wnaethoch iddo?" ebe Marie.

"Yr oedd yr oruchwyliaeth yn eithaf seml. Mi a'i cymerais i'm hystafell fy hun, a dodais ef mewn gwely da, trinais ei glwyfau, a gwasanaethais arno fy hunan, hyd nes y daeth uwch ben ei draed drachefn. Ac mewn amser, gwnaethum bapyrau rhyddhad iddo, a dywedais wrtho y gallasai fyned i'r man y mynai."

"A aeth efe ymaith?" ebe Miss Ophelia.

"Naddo, fawr! Rhwygodd y creadur gwirion y papyr, a gwrthododd yn deg ymadael oddiwrthyf. Ni fu genyf erioed ffyddlonach a gwell gwas—gallaswn ymddiried unrhyw beth iddo. Efe a gofleidiodd Gristionogaeth mewn amser, a daeth mor addfwyn a phlentyn. Arferai arolygu fy etifeddiaeth ar y llyn, a rhagorol y gwnaeth hefyd. Collais ef ar ymweliad cyntaf y colera. Mewn ffaith, rhoes ei fywyd i lawr drosof fi; canys bum yn glaf i farwolaeth agos; a phan oedd pawb arall wedi cilio draw mewn dychryn, ymdrechai Scipio fel cawr drosof, a dygodd fi megys i fywyd o safn angeu. Ond y truan, cymerwyd yntau yn glaf yn union wed'yn, ac nid oedd modd ei achub. Ni theimlais fwy o golled ar ol neb erioed."

Yr oedd Efa yn dynesu nes-nes at ei thad, fel yr adroddai yr hanes, ac yn gwrandaw gyda'r dyddordeb dwysaf. Wedi iddo orphen yr hanes, taflodd ei breichiau am ei wddf, ac ymdorodd i wylo a llefain.

"Efa, blentyn anwyl! beth ydyw y mater?" ebe St. Clare, fel yr oedd holl ffurf dyner y plentyn yn dirgrynu gan orddwysder ei theimladau. "Ni ddylai y plentyn gael clywed pethau o'r fath hyn," ebe fe; "y mae yn rhy wanaidd i'w dal."

"Nac wyf, tada," ebe Efa; gan ymattal ac ymbwyllo gyda y fath benderfyniad hunan-lywodraethol ag oedd yn syndod i'w weled mewn plentyn o'i hoed hi. "Nac wyf ddim yn *nervous*, ond y mae pethau fel yna *yn suddo i'm calon.*"

"Beth ydych yn feddwl wrth ddweyd felly, Efa?"

"Ni fedraf ddweyd i chwi, tada; yr wyf yn meddwl llawer iawn o feddyliau. Hwyrach y gallaf ddweyd i chwi ryw ddiwrnod."

"Wel, meddyliwch chwithau arni hi, fy anwylyd, a pheidiwch a wylo i ofidio eich tada," ebe St. Clare. "Edrychwch yma, y fath eirynen brydferth a gefais i chwi."

Cymerai Efa hi o law ei thad, dan wenu; ond yr oedd rhyw grebychiad gewynol yn barhaus i'w weled yn ei gwefusau.

Gwahoddodd ei thad hi allan, ac yn fuan ymgododd ei hysbryd i'w londer arferol wrth chwareu gyda'i thad ar hyd y neuadd.

"Yr wyf fi wedi blino yn adrodd, a chwithau wedi blino yn gwrandaw, mae yn debyg," ebe James; "yr ydych yn ddystaw iawn i gyd, er's meityn."

"Blino 'n gwrando!" ebe F'Ewythr Robert, "na choelia i 'n wir—'d oes yma neb yn blino, paid a meddwl, dae ti 'n gyru arni hi trw 'r nos, tan y bore."

"Ni yraf fi ddim chwaneg arni hi heno," ebe James. "Mae yn y bennod yma eto ychydig o hanes am F'Ewythr Tomos, ac Efa bach, yn ceisio ysgrifenu llythyr adref at Modryb Clöe, ac fel y daeth St. Clare ar eu traws hwy, ac y darfu iddo addaw ysgrifenu llythyr tros F'Ewythr Tomos at ei deulu, yr hyn hefyd a wnaeth efe y noson hòno.

"Dyna finnau wedi myned tros fy stori, am heno," ebe James. "Os oes genych ryw sylwadau i'w gwneyd arni, traethwch hwy."

"Mae 'r dyn ene, St. Clare, yn fy synud i," ebe F'Ewythr Robert. "Mi 'roedd llond 'i ben o o sens, a llond 'i galon o o d'nerwch a theimlad hefyd. Bachgen 'i fam oedd o, a bachgen 'i dad oedd 'i frawd o, a geneth 'i thad oedd Efa bach hefyd. Mi fase Mrs. Marie 'n c'maru 'n well o'r hanner hefo 'i frawd o nag efo fo, ond mi 'roedd hwnw hefyd yn rhy dda i'w bath hi."

"Prin y gallwn i gytuno â'i syniadau o yn mhob peth," ebe Mrs. Harris; "yn enwedig lle y mae o'n dyweyd fod dyn yn tyfu i fyny yn orthrymwr creulon, neu yn ddyngarwr caredig, yn ol ei ansawdd naturiol o'r bru, ac mai dyna y peth a fydd er pob addysg a hyfforddiant a gaffo. Golygai ei fod ef ei hun a'i frawd yn ffeithiau pendant er profi hyn. Y mae honyna yn athrawiaeth na allaf fi mo'i llyncu yn hollol, rywsut."

"Yn wrionedd i—mi 'roedd pob peth oedd o 'n ddeydyd yn myn'd i lawr wel *slip down* gin i," ebe F'Ewythr Robert; "os oedd ymbell i flewyn yntho fo, chlowis i ddim byd oddwrtho fo —ddaru mi ddim tagu, 'rydach chi 'n gwel'd."

"Yr oeddwn innau wedi craffu ar y sylw ddarfu chwi nodi," ebe Modryb Elin. "Bod gwahaniaeth rhwng ysbryd a thymherau naturiol y naill blentyn a'r llall o'r groth, sydd ry eglur i'w wadu; ond pa un a ellir ddim gwneyd rhyw beth amgen a

blentyn na'r hyn ydyw o naturiaeth felly, trwy ddysgyblaeth ac addysg, sydd beth arall."

"Ië," ebe Mrs. Harris, "ond a ydych yn meddwl fod y gwahaniaeth a nodai efe rhwng y naill blentyn a'r llall wrth naturiaeth—un wedi ei eni âg ysbryd a thuedd falch, uchelfrydig, a sarhaus ynddo; a'r llall o ysbryd a thuedd dosturiol, garuaidd, a dyngarol? Yr wyf finnau yn credu fod gwahaniaeth rhwng tymherau naturiol plant, wrth naturiaeth; ond bod rhai yn cael eu geni o dueddiadau moesol at ddrygioni, ac eraill at rinwedd, sydd yn beth na allaf fi mo'i gredu, rywfodd. Nid yw gwahanol dymherau naturiol yn bethau drwg na da ynddynt eu hunain, hwyrach."

"Yr ydych chwi 'n myn'd i ddwr dyfn iawn 'rŵan, Marged bach," ebe Modryb Elin; "rhaid i ni gymeryd gofal, neu mi foddwn eill dwy; gwell i ni adael rhyw bynciau fel hwnyna yn llonydd; mae 'r dynion mawr a dysgedig yma yn methu cydweled arnyn nhw, mae hi yn wybodaeth ry ryfedd i ni ynte, yn sicr. Ond dyna fel y byddem ni yn cael ein dysgu, wyddoch—fod pob dyn yn cael ei eni i'r byd yn yr un cyflwr a sefyllfa, ein bod ni wedi syrthio fel deilen i'r un pwll o drueni yn Adda, ac fe ddywed yr apostol ein bod ni oll yn blant digofaint wrth naturiaeth."

"Wel, hwyrach mai gwell ydyw i ni droi yn ein holau, a cheisio am y lan gynted y gallom ni," ebe Mrs. Harris.

"Mi fyddyliwn inne hyny, yn wir!" ebe F'Ewyrth Robert; "ne' 's ydach chi am fentro i'r dwr, ni ddo i a Tomos ddim ar y'ch hole chi, tae chi 'n boddi—'tawn ni ddim i byryglu 'n hines ar y'ch *cownt* chi—a wn ni Tomos."

"Mae yn ymddangos i mi fod gwahaniaeth dirfawr rhwng dynion a'u gilydd wrth naturiaeth," ebe James. "Y mae rhywbeth, ni a allwn feddwl, yn fwy manteisiol i grefydd a rhinwedd yn nghyfansoddiad naturiol, ac ansawdd meddyliau a thymherau rhai dynion, na'u gilydd. Ni wn i ddim pa gyfrif ellir ei roddi am beth felly."

"Y mae dyn yn greadur addysg," ebe Modryb Elin; "a dylid wrth ei addysgu, gymeryd gofal a sylw manwl ar ei dymher a'i nwydau, a chymhwyso yr addysg ato yn ol hyny. Nid yn yr un dull y gellir myned at bob calon, er gwneyd argraff, ac ennill dylanwad arni; ond y mae rhyw ffordd i fyn'd at bob un. Ydych chwi yn cofio fel y darfu i St. Clare wareiddio, dofi, ac ennill y dyn du hwnw, wedi i bawb arall erioed fethu gwneyd dim o hono fo trwy ei drin o yn arw. Mi doddodd calon hwnw dan ddylanwad cariad a thynerwch. Mi fyddaf fi yn meddwl bod gwahanol dymherau, a gwahanol gyfansoddiadau a nwydau, yn bethau hollol anghenrheidiol i fywyd a dedwyddwch cymdeithas yn y byd. Pe bai pawb o honom ninnau yr un ysbryd

a thymher a'n gilydd, mi fuasai cymdeithas fel pwll o ddwr marw, llonydd, heb fod yn dda i ddim. Wrth fod gwahaniaeth rhyngom ni a'n gilydd, yr ydym yn dyfod yn anghenrheidiol y naill i'r llall, a chymdeithas yn ymasio yn ei gilydd, fel telymau a morteisiau. Ni welsoch chwi erioed ryw lawer o gariad rhwng gŵr a gwraig, os byddai y ddau yn debyg iawn i'w gilydd o ran synwyr a gwybodaeth, ac ansawdd tymherau."

"Wel, debic cin i mai dene rheswm dy fod di a finne chwedi byw mor g'riadus efo 'n gilidd cyd o amser," ebe F'Ewythr Robert. "Mi 'rwyt ti 'n cael d'ystyried (a mi 'rwyt ti 'n meddwl hyny dy hun, hefyd) yn wraig bwyllog, gall, a gw'bodus iawn, a finne 'n rhw ffrwtyn gwyllt ac anw'bodus; ond sut bynag, mi 'rydan ni chwedi cytuno 'n o lew hyd yma; ond a deyd y gwir i ti, mi 'rydw i 'n meddwl ff' hun cin galled a th'dithe, bob mymryn; ond mi 'rwyt ti 'n gw'bod mwy, ac yn 'rafach dy dymher na fi, chware teg i ti hefyd."

"Yr ydych yn myned oddiwrth y pwnc, o hyd," ebe James, ac yn troi i philosopheiddio ar wahanol gyfansoddiadau a thymherau, yn lle trin y mater sydd dan sylw yn deg."

"Ha! ha!" ebe F'Ewythr Robert; "ni fyddylis i ddim mod i 'n philos'phydd o'r blaen; mi 'rydw i 'n fwy dyn, dybygwn i, nag oeddwn i 'n w'bod mod i."

"Yr wyf yn meddwl mai gadael y pwnc, fel y sylwodd Modryb Elin, fyddai goreu i ni," ebe Mrs. Harris. "Y mae yn ymddangos ei fod yn rhy ddwfn ac yn rhy ddyrus i ni allu gwneyd dim o hono."

"Beth mae Rhisiat yma'n feddwl o hono fo?" ebe F'Ewythr Robert. "Dowch, Rhisiat; 'rydach chi 'n ddistaw arw heno."

"'Y ffol, tra tawo, a gyfrifir yn ddoeth,'" ebe Risiart; "a thewi ydyw 'r doetha i minnau ar bwnc fel yna. Ond yr oeddwn i 'n gwel'd St. Clare, fel pe buasai yn tori ei hunan i lawr, pan oedd o yn cymharu ei dad ei hun â thad Miss Ophelia. Dywedai mai dau o'r un ysbryd oeddynt yn hollol, a phe buasent wedi eu gosod yn yr un amgylchiadau, mai yr un fath yn hollol yr ymddygasent—y gwnaethai tad Miss Ophelia, yr hwn, yn Lloegr Newydd, oedd yn werinwr cryf, ac yn wrthwynebwr cadarn i gaethwasiaeth, gystal *despot* a chaethbleidiwr a'i dad ef, pe buasai ei goelbren wedi syrthio yn Louisiana; ac y gwnaethai ei dad yntau werinwr a gwrthbleidiwr caethwasiaeth i'r byw, pe dygwyddasai ymsefydlu yn Vermont. Y mae hynyna, mi feddyliwn, yn milwrio yn erbyn y syniad arall y cyfeiriech ato—nad oes modd, trwy unrhyw addysg, wneyd dim o ddyn, ond yr hyn a fyddo wrth naturiaeth, o'r groth, ac yn erbyn yr hen ddiareb Gymreig, 'Trech natur na dysg.' Trech oedd dysg, a dylanwad amgylchiadau, a moddion dysgeidiaeth ydyw amgylchiadau, yn ol athrawiaeth St. Clare ei hun, gyda golwg ar y ddau ŵr hyny."

"Ië; ond yr oedd ef yn dyweyd yr un pryd," ebe James, "mai yr un oedd y ddau yn hollol o ran eu hysbryd;—fod tad Miss Ophelia yn gymaint pendefigydd, o ran ei ysbryd, ag oedd ei dad ef, ond fod gwahanol amgylchiadau wedi rhoddi cyfeiriad gwahanol i dueddiadau naturiol y naill a'r llall. Ond am dano ef, St. Clare, a'i frawd, Alfred, er iddynt gael eu cydfagu ar yr un aelwyd, ac yn yr un amgylchiadau, eu bod yn tyfu i fyny yn bur wahanol o ran eu hysbryd a'u tueddiadau; un yn bendefigydd uchelfrydig a thräarglwyddaidd o'r groth, a'r llall yn ddyngarwr tyner-galon, yr un modd."

"Tybio yr wyf fi, wedi 'r cwbl, mai wedi iddynt adael y groth, rywbryd, y daeth y naill a'r llall i feddu eu gwahanol ysbrydoedd a thueddiadau," ebe Risiart; "mai yfed yr ysbryd a'r tueddiadau hyny a wnaeth y naill a'r llall o honynt, rywfodd neu gilydd; ac mai nid pethau gwreiddiol yn nghyfansoddiad pob un oeddynt."

"Chwi ellwch *dybio*," ebe James; "ond pa gyfrif a ellwch roddi am y dybiaeth?"

"Fe allai y gallem roi cyfrif am y peth fel hyn, mewn rhan," ebe Modryb Elin. "Y mae y gwahaniaeth oedd rhwng y ddau fachgen yn cyfateb yn hollol i'r gwahaniaeth oedd rhwng y tad a'r fam. Bachgen ei dad oedd un, a bachgen ei fam oedd y llall. Braidd y gwelwch dad a mam byth yn cymeryd serch neillduol at yr un plentyn, oni bydd hwnw yr unig blentyn iddynt; os na fydd ond dau ganddynt, cymer y fam at un, a'r tad at y llall, agos bob amser. Y mae Isaac a Rebeca yn siamplau o dadau a mamau yn gyffredinol yn y peth hwn. Dealla plentyn yn fore iawn yn serch pa un ai ei dad ai ei fam y bydd yn sefyll uchaf, a ffurfir delw yr un a ennillo ei galon felly arno. Cymerodd tad y ddau yna serch neillduol at un, a ffurfiodd ef ar ei ddelw; a'r fam, drachefn, at y llall, a ffurfiodd hithau yntau yr un modd ar ei delw hi. Yr egwyddor gryfaf mewn bod ydyw cariad, i ennill dylanwad, a gwneyd argraff ar y galon ddynol. Ddarfu chwi sylwi mor wahanol yr oedd St. Clare yn siarad am ei dad ragor ei fam? Y mae yn amlwg nad oedd ganddo fo ddim amgen na rhyw barchedigaeth oerllyd tuag at goffadwriaeth ei dad, ond ni allai son am ei fam na byddai ei holl enaid yn cynneu yn fflam o deimlad serchoglawn. Buasai tôn ei frawd yn wahanol iawn, yn sicr—ei dad fuasai ei eilun ef—pe buasem ni yn cael ei glywed ef yn siarad am danynt hwy. Ymdrechai y ddau fachgen i ymdebygu bob un i wrthddrych neillduol ei serch—serch ag oedd wedi ei chenedlu yn mynwes y naill a'r llall, gan serch a hoffder neillduol y tad at un, a'r fam at y llall. Unwaith y llwyr enniller y galon ddynol i garu unrhyw wrthddrych, nid oes terfyn ar ddylanwad y gwrthddrych hwnw arni. Y mae cariad yn gryf fel angeu, fel y dywed Solomon."

"*Well done*, Modryb Elin," ebe James; "dyna rywbeth i'r pwrpas, o'r diwedd; yr oeddwn i yn dysgwyl o hyd y daethai rhyw oleu ar y mater."

"Mi 'roeddwn inne 'n disgwyl am Solmon, es meitin byd," ebe F'Ewythr Robert. "Mi fu 'n hir iawn heb 'neyd 'i 'mddan'-osiad y tro yma, ond mi ddoeth allan o'r diwedd. Mi setlith Neli bob pwnc, os ceith hi afel ar Solmon."

"Yr ydwyf yn methu eich *setlo* chwi hefo Solmon, na neb arall," ebe Modryb Elin. "Pa un a ddarfu i mi *setlo* 'r pwnc yna yn iawn neu beidio, ni wn i ddim. Fe allai y buasai 'r ddau frawd yn wahanol eu hysbryd a'u tueddiadau, yn y pethau y soniai St. Clare am danynt, yn annibynol ar ddylanwad y tad a'r fam; ond hyn a allwn ni fod yn sicr o hono, na ddaeth y naill na'r llall byth i fod yn Gristion, os daethant felly, heb ryw ddylanwad o'r nefoedd—y geni oddiuchod. Faint bynag o wahaniaeth sydd rhwng dyn a dyn, yn eu cyfansoddiad naturiol, a faint bynag o wahaniaeth a wna addysg ac amgylchiadau rhwng y naill a'r llall, nid oes ond gras Duw a ddichon gyfnewid y galon a gwneyd dyn yn greadur newydd yn Nghrist Iesu; ond eto, addysg grefyddol ydyw y moddion a ddefnyddia yr Ysbryd Glân i effeithio y cyfnewidiad mawr."

"Wel, Marged, be ydach chi 'ni feddwl?" ebe F'Ewythr Robert. "Neith 'sponiad Elin y tro, 'bygech chi?"

"Na wn i, yn siwr, F'Ewyrth Rhobet," ebe Mrs. Harris; "rhaid i ni ei gymeryd o nes caffom ni ei well o; a meddwl yr wyf fi fod rhywbeth ynddo fo. Beth ydych chwi yn feddwl, Risiart Evans?"

"Meddwl ei fod o 'r goreu allwn ni gael heno, beth bynag," ebe Risiart; "a'i bod hi 'n bryd i ni fyned adref bod ag un."

Ac ar hyn ymadawsant.

---

# NOSON XXI.

"Ydi dy dad a dy fam chwedi gwrthgilio heno?" gofynai F'Ewythr Robert, pan ddaeth James i fewn yr hwyr hwn.

"Y maent o leiaf yn esgeuluso 'u cydgynnulliad heno," ebe James; "y maent yn anfon eu gwasanaeth atoch chwi a Modryb Elin, ac yn addaw y deuant ryw noswaith arall yn fuan."

"Mae arna i ofn na fedrwn ni ddim myned ymlaen yn iawn hebddyn nhw," ebe 'r hen ŵr, "ond rhaid i ni neyd gore gallom ni."

Ar hyn, deuai Rhys Puw, y teiliwr, a Dafydd, y saer, i mewn, a mawr oedd llawenydd yr hen ŵr o'u gweled.

"Wel Rhys," ebe fe, "mhle buost ti rhollt amser yma, ynt oeddet ti chwedi addo dwad yma i ydrach am dana i cyn hyn."

"Prysur iawn fum i o hyd, F'Ewyrth Rhobet," ebe Rhys, "faswn i yn y myw oes yn cael egwyl i ddwad."

"Felly 'n wir, a mi 'r wyt ti 'n dal i yrud ar y nodwydd, a'r siswrn, a'r ŵydd, a'r labwt o hyd? Ddaru ti byth bwytho brest gwasgod neb wrth i siwmp o chwedyn debic cin i—Ah ?"

"Tewch a son am hyny F'Ewyrth," ebe Rhys, "cha i byth lonydd am y tro hwnw,—dene sy gynthyn nhw ymhob ty lle bydda i'n myn'd; mae arna i ddigon o flys pwytho tafod Cati yma—fase dim son am y peth oni bae hi."

"Base'n wir," ebe Cati, "ynd oedd James wedi 'ch gweld chi o mlaen i, a mi fase fo'n siwr o'i roid o yn yr 'Aelwyd,' taswn i heb ddeyd 'run gair. Mi roedd yn dda iawn gin i gael y sclem hono arnoch chi hefyd, does 'r un gwaeth na chi am hel sclems ar bobol erill yn y wlad yma: mi fydd yn anos gynoch chi son am droie trwstan pobol bellach.

"Os ca i rw dro trwstan arnat ti, mi gei di weld peth arall," ebe Rhys.

"Da i byth mor drwstan ag yr aethoch chi, beth bynag," ebe y llall.

"Ar draws y cwbl Rhys," ebe F'Ewythr Robert, "glowist ti byth py sut mae Pharo Neco yn dwad ymlaen hefo'r cbyddion? Ydi o'n medrud gneyd rhwbeth o honyn nhw tybed? Ran hyny, be fedr Pharo Neco na neb arall neyd o'u bathe nhw?"

"Na wn i'n siwr, be feder o neyd o honyn nhw," ebe Rhys, "mae'n debyg y ceith o ddigon o waith; 'rydw i'n dallt fod lotie mawr o honyn nhw i gael eu gyru iddo fo o bob man, wedi i bobol wel'd adnod Rhobet Dafydd."

"Mae gin ine lot yn fy meddwl i fynd i'w calyn nhw, pen fyddan nhw'n cwchyn," ebe F'Ewythr Robert.

"Tydi'r cybyddion ddim yn leicio adnod Pharo Neco ar gyfri'n y byd," ebe Dafydd.

"Nag ydyn debic cin i Dafydd," ebe F'Ewythr Robert, "mae arnyn nhw dipin o ofn Pharo Neco, rwi'n coelio."

"Mi ddeyda i chi sut y mae hi," ebe Dafydd. "Mae hwn a'r llall yn cael eu henwi gan bobol, fel rhai i'w traddodi i Pharo Neco, a mae hyny'n myn'd i'w clustie hwythau, a tydyn nhw ddim yn leicio hyny ar gyfrif yn y byd, a mae nhw'n troi'n grefyddol iawn, ac yn condemnio adnod Rhys fel cellwer annuwiol. Mae'r gwahaniaeth yma rhwng meddwyn a chybydd:—ffwl ydyw'r meddwyn yn bur gyffredin, a mi clowch o'n ymffrostio yn ei ddrwg yn amal, fel y dywedodd Paul, 'eu duw yw eu bol, a'u gogoniant yn eu cywilydd.' Llechgi yw y cybydd;—y mae o am guddio a gwadu ei ddrwg; fyne fo ddim i neb feddwl ei fod o'n gybydd, a mae o'n digio'n arw iawn os clyw o fod neb yn ei

amheu fo, ei fod o'n gybydd, yn enwedig os bydd o'n broffeswr crefydd."

"Waeth iddyn nhw beidio gwaeddi cellwer annuwiol ar yr adnod," ebe Rhys, "mi roedd yr hen ŵr a'i deydodd hi 'n llawer duwiolach na neb o honyn nhw"

"Wyt ti meddwl fod rhai o honyn nhw'n dduwiol, Rhys?" ebe F'Ewythr Robert.

"Wn i ddim am hyny," ebe Rhys, "mae llawer o honyn nhw yn cymryd arnyn hyny, beth bynag."

"Nid oes i'r cybydd mwy na'r meddwyn 'ran yn nheyrnas Crist a Duw,' medd y gair," ebe Modryb Elin. "Ond dylem ni fod yn gynnil a gochelgar iawn rhag rhoi barn ehud ar neb; gallwn ni gondemnio fel cybyddion, yn ein hanwybodaeth, rai nad ydynt felly mewn gwirionedd, ac felly wneyd cam â chenedleth ei blant ef; am y meddwyn, mae o allan ar y maes agored i bawb i'w weled a'i adnabod o."

"Mi rydw i'n gweld ffordd newydd i'w cael nhw allan rwan," ebe F'Ewythr Robert, "pob un welwch chi'n digio wrth adnod Pharo Neco, mi ellwch dyngu i fod o'n gybydd. Ond druan o honot ti, Rhys, mi rwyt ti chwedi tynud drwg yn dy ben, chei di byth weithio pwyth i'r un cybydd eto am dy gast."

"Fydd hyny ddim yn llawer o golled i mi," ebe Rhys, "fyddan nhw'n namser ddim yn fodlon i dalu 'r un faint a phobol erill am waith, a mi fyddan am stwffio rhwbeth yn lle arian yn wastad; a chewch chi ddim byd yn i le, mewn mesur na phwyse gynthyn nhw, ond mi fynan y crogbris am dano fo; rhaid i mi roid mwy na phris y farchnad yn wastad am ŷd iddyn nhw, a rhw ail ŷd fydd o'n y diwedd, a than y mesur hefyd; a felly am flawd, a menyn, a phobpeth."

"Mi rwyt ti'n deyd y gwir, Rhys bach, bob gair, felly mae nhw, ond does i ti ddim byd i neyd, ond danwon dy gwyn at Pharo Neco, a gadel rhyntho fo a nhw. Tyr'd James, mi rydan ni yn colli'r amser—gad i ni fynd i'r 'Caban' bellach."

"Wel y mae genyf hanes pur ddyddorol, fel y dywedant, i'w adrodd i chwi heno," ebe James, "a dyma fo."

Un bore, fel yr oedd Miss Ophelia yn brysur gyda'i galwedigaethau teuluol, clywai lais St. Clare yn galw arni wrth droed y grisiau.

"Dowch i lawr yma, fy nghares," ebe fe, "y mae genyf rywbeth i'w ddangos i chwi."

"Beth ydyw?" ebe Miss Ophelia, gan brysuro i lawr â'i gwniadwaith yn ei llaw.

"Yr wyf wedi gwneuthur pwrcas at eich tylwyth,—edrychwch yma," ebe St. Clare: a chyda'r gair, efe a arweiniai ymlaen eneth negroaidd, tuag wyth neu naw oed.

Yr oedd yn un o'r rhai duaf o'i hilgerdd. Symudai ei llygaid

crynion, dysglaer, gan belydru fel cnapiau o wydr, gyda thremion diorphwys ar bob peth o'i deutu yn yr ystafell. Ei genau yn hanner agored gan syndod at ryfeddodau parlwr y meistr newydd; a dangosai bar o ddannedd mor wynion ag ifori. Ei gwallt gwlanog a safai yn gydynau bychain gwahanedig, ymhob ffurf yn y byd. Dynodiant ei hwynebpryd oedd yn fath o gymysgedd hynod o bertrwydd a chyfrwysdra, a rhyw ddelweddiad hynod o ddwysder a difrifwch o'r fath fwyaf alaethus, megys gorchudd dros y llall. Yr oedd wedi ei gwisgo â hugan deneu, budr, wedi ei wneyd o sachlian, a safai yn bruddwylaidd, â'i dwylaw ymhleth o'i blaen. Yr oedd rhywbeth yn ddyeithrol a rhyfedd yn ei holl ymddangosiad. Rhywbeth, fel y sylwai Miss Ophelia wedi hyny, "mor ddiraddiol," fel y llanwyd y foneddiges ddestlus hono â brawychdod, a chan droi at St. Clare, ebe hi,—

"Augustine, i ba beth yn y byd y dygasoch y peth yna yma?"

"I chwi i'w haddysgu, yn siwr iawn, a'i hyfforddi yn mhen y ffordd y dylai rodio ynddi. Tybiwn ei bod yn anghraifft go hynod o'i hiliogaeth. Tyr'd Topsi," ebe fe, gan roddi chwibianad fel y gwna dyn i alw sylw ei gi, "dyro gân i ni yrŵan, a dangos i ni sut y byddi di'n dawnsio."

Pelydrai y llygaid duon, gwydrog, gyda math o ddigrifwch direidus, a dechreuai daro peroriaeth negroaidd, gyda llais clir, gwichianllyd, a chadwai yr amser gyda'i dwylaw a'i thraed, gan droi o gwmpas, clapio ei dwylaw, a churo ei gliniau ynghyd, a gwneyd pob math o ystumiau gwylltion, a chynmyrchu rhugldrwst yn ei gwddf, a gwneyd yr holl seiniau rhyfedd a berthynant i beroriaeth yr hil negroaidd; ac yn y diwedd, wedi rhoddi llam-drosben (*summerset*), neu ddwy, a roddai hir doniad derfynol, mor hynod ac annaearol ag ysgrech yr agerbeiriant, hi a safai yn sydyn ar y *carped*, â'i dwylaw ymhleth, a'r agweddiad mwyaf ffugsancteiddiol o ddiniweidrwydd a difrifwch ar ei hwyneb, yr hwn a dorid yn unig gan y cipdremion direidus a saethent ar ledtraws o gonglau ei llygaid.

Safai Miss Ophelia yn ddystaw, wedi ei gorlenwi â syndod brawychus.

Ymddangosai St. Clare fel yn mwynhau yr olwg ar ei gares, a chan droi at yr eneth, efe a ddywedai—

"Topsi, dyna eich meistres newydd. Yr wyf yn eich rhoddi i fyny iddi hi; edrychwch chwi ati, i ymddwyn yn dda."

"Gna misar," ebe Topsi, gyda difrifwch santeiddiol, a'i llygaid direidus yn ysmician fel y llefarai.

"Yr ydych i fod yn eneth dda, Topsi, deallwch," ebe St. Clare.

"O! ydw, misar," ebe Topsi, gydag ysmiciad arall, a'i dwylaw yn mhleth, yn hynod ddefosionol.

"Yn awr, Augustine, beth yn y byd ydyw hyn?" ebe Miss Ophelia. "Y mae eich tŷ eisioes mor lawn o'r pläau bychain

hyn, fel na all dyn roi ei droed ar lawr heb sathru ar rai o honynt. Pan godwyf i fyny yn y boreu, caf rai o honynt yn cysgu o'r tu ol i'r drws; gwelaf ben du arall yn ymwthio allan o dan y bwrdd; un arall yn gorwedd ar *fat* y drws; ac y maent yn mopio, ac yn baeddu, ac yn ysgyrnygu arnoch rhwng y rheiliau, ac yn llamsachu ar hyd llawr y gegin! I ba beth yn y byd y dygech hon yma eto?"

"Oni ddywedais mai i chwi, i'w haddysgu? Yr ydych yn wastad yn pregethu ynghylch addysgu. Meddyliais y buaswn yn eich anrhegu â dysgybl o'r fath yma, fel y caffech *dreio* eich llaw arni, i'w dwyn hi i fyny yn yr iawn ffordd."

"Nid oes arnaf fi mo'i heisieu, yr wyf yn sicr; y mae genyf eisioes fwy i'w wneuthur gyda hwy nag a allaf ddyfod i ben âg ef."

"Dyna fel yr ydych chwi, Gristionogion, yn wastad! Chwi a godwch gymdeithas, ac a anfonwch ryw genadwr truan i fyned i dreulio ei fywyd yn mysg y fath greaduriaid a hyn. Ond dangoswch i mi un o honoch a gymerai un ato i'w dŷ, ac a ymgymerai â'r llafur i'w addysgu a'i oleuo ei hun? Na; pan ddelo i'r pwynt hwnw—O! y maent yn aflan a diflas, ac y mae yn ormod o drafferth a gofal, ac felly ymlaen!"

"Chwi a wyddoch, Augustine, na ddarfu i mi ddim meddwl am y peth yn y goleu yna," ebe Miss Ophelia, gan larieiddio ei thôn. "Wel, gallai y byddai yn wir waith cenadol," ebe hi, gan edrych yn fwy ffafriol ar y plentyn.

Yr oedd St. Clare wedi cyffwrdd â'r prif dant. Yr oedd cydwybodolrwydd Miss Ophelia yn effro bob amser.

"Ond," hi a ychwanegai, "ni allaswn yn fy myw weled yr anghenrheidrwydd am bwrcasu yr un hon—y mae digon o honynt yn eich tŷ, chwi wyddoch, i gymeryd i fyny fy holl amser a'm sciL."

"Wel, ynte, fy nghares," ebe St. Clare, gan ei chymeryd o'r neilldu; "mi a ddylwn erfyn eich maddeuant am fy areithiau gweigion wrthych. Yr ydych mor rinweddol wedi 'r cwbl, fel nad oedd yr anghen lleiaf am danynt. Ond y ffaith yw, yr oedd y plentyn hwn yn perthyn i bâr o greaduriaid meddwon, ag ydynt yn cadw math o westdy ar y ffordd y byddaf yn arferol o fyned bob dydd; ac yr oeddwn wedi diflasu ei chlywed hi yn ysgrechian, a hwythau yn ei baeddu ac yn ei rhegi bob amser. Y mae rhywbeth ynddi hefyd, y gellid meddwl fod modd gwneyd rhywbeth o honi. Chwi a wyddoch nad oes gen i ddawn na medr at beth felly; ond mi a hoffwn i chwi wneyd prawf arni."

"Wel, mi a wnaf yr hyn a allwyf," ebe Miss Ophelia; a dynesai at ei dysgybl newydd, yn debyg, fel y meddyliech am rywun yn dynesu at bryf copyn du, ond tybio fod ganddo amcan caredig ato.

"Y mae yn aflan arswydus, ac yn hanner noeth," ebe hi.

"Wel, cymerwch hi i lawr y grisiau, a gwnewch i rai o honynt ei golchi, a'i gwisgo."

Cymerai Miss Ophelia hi i lawr i'r gegin.

"Fi dim gallu gwel'd be oedd ar Misar St. Clare eisio gin *nigger* arall," ebe Dina, gan edrych ar y newydd-ddyfodiad gyda golwg anfoddog. "Fyna i mo'ni hi o gwmpas y nhraed, fi gw'bod hyny."

"Pah!" ebe Rosa a Jane, gydag adgasrwydd; "rhaid iddi hi gadw allan o'n ffordd ni! Beth yn y byd oedd ar misar eisio gin un arall o'r *niggers* aflan yma, fedrwn ni mor dallt!"

"I ffwrdd â chi! Dim mwy o *nigger* na chithe, Miss Rosa," ebe Dina, yr hon a deimlai y sylw yn sarhad arni hi ei hun. "Chi meddwl 'chinen yn bobol 'wnion, chithe dim gwyn na du. Fi gwell bod y naill ne'r llall."

Canfu Miss Ophelia nad oedd neb yn y gwersyll a ymgymerai â'r gorchwyl o olchi a gwisgo Topsi; ac felly, gorfu arni wneyd ei hun, gydag ychydig o gymhorth anewyllysgar a sarugaidd gan Jane.

Yr oedd yn orchwyl y byddai ei ddarlunio yn fanwl yn ferwindod i glustiau y tyner-foethus. Mewn ffaith, y mae lliaws yn byw ac yn marw yn y byd hwn, mewn sefyllfaoedd ag y byddai yn ormod i deimladau eu cydfarwolion hyd yn nod i wrandaw ar ddesgrifiad o honynt. Yr oedd Miss Ophelia yn feddiannol ar ysbryd penderfynol cryf, ac aeth trwy ei gorchwyl anhawdd yn gyflawn, er, y mae yn rhaid addef, nid gydag ewyllysgarwch mawr; oblegid goddefgarwch oedd y nod uchaf y gallai ei hegwyddorion ei chario iddo. Pan welodd ar gefn ac ysgwyddau y plentyn y creithiau mawrion, a'r ysmotiau duon, y rhai oeddynt nodau annileadwy y trefniant y cawsai ei magu dano hyd yn hyn, ymgyfodai teimlad o dosturi yn ei mynwes.

"Edrychwch yna!" ebe Jane, gan bwyntio at y creithiau, "onid yw y rhein yna yn dangos fath un ydi hi? Mi gawn waith braf hefo hi, 'rwy'n gwel'd. Y mae 'n gas gen i y *niggers* bach yma! mae nhw mor adgas! N'wn i be daru misar 'i phrynu hi!"

Yr oedd yr un fach y cyfeirid ati yn clywed yr holl nodiadau hyn, a gwrandawai mewn agwedd druanaidd a gwylaidd, ond ar yr un pryd, taflai dremion craffus, yn awr ac eilwaith, ar yr addurniadau a wisgai Jane yn ei chlustiau. O'r diwedd, ar ol ei gwisgo yn weddus, a thori ei gwallt, a'i threfnu, sylwai Miss Ophelia, gyda gradd o foddlonrwydd, ei bod yn edrych yn fwy Cristionogol nag o'r blaen, a dechreuai feddwl am gynllun i'w haddysgu.

Wedi eistedd i lawr o'i blaen, hi a ddechreuai ei chwestiyno.

"Beth yw eich oed, Topsi?"

"Fi dim gw'bod, missis," oedd yr ateb.

"Ddim yn gwybod eich oed? Ai ni ddywedodd neb hyny i chwi erioed? Pwy oedd eich mam?"

"Fi 'run fam 'rioed!" ebe 'r plentyn.

"Yr un fam erioed? Beth ydych yn feddwl? Pa le ganwyd chwi?"

"Fi 'rioed cael geni," ebe Topsi, drachefn, gyda 'sgyrnygiad a ymddangosai mor ddyeithrol, fel, pe buasai Miss Ophelia yn un o ewynau gweiniaid, y buasai yn ddigon i'w brawychu; ond nid oedd Miss Ophelia yn gyfryw, ond yn gref ac ëofn, ac ebe hi, gyda gradd o lymder—

"Ni wiw i chwi fy ateb i yn y modd yna, blentyn; nid chwareu â chwi yr wyf fi. Dywedwch i mi pa le y ganwyd chwi, a phwy oedd eich tad, a'ch mam?"

"Fi dim wedi geni 'rioed," ebe Topsi, yn fwy penderfynol fyth; "fi dim tad a mam 'rioed, na dim byd. Ces magu gin 'snachwr, efo llawer erill. 'Rhen Modryb Sue fydde 'n ydrach ar 'n hol ni."

Yr oedd yn eithaf amlwg bod y plentyn yn ddifrifol; ac ebe Jane, tan chwerthin—

"'R anwyl, missis! mae llaweroedd o honyn nhw. Bydd y 'snachwrs yn 'u prynud nhw, pen fydda nhw 'n fychin, i'w dwyn i fyny at y farchnad."

"Pa gyhyd y buoch byw gyda 'ch meistr a'ch meistres?"

"Fi dim gw'bod, missis."

"Dyn byw! missis; y *negroes* gwael yma—'dallan nhw ddim deyd; wyddan nhw ddim byd am amser," ebe Jane; "wyddan nhw ddim be ydi blwyddyn, wyddan nhw ddim mo'u hoed 'u hinen."

"A glywsoch ddim son erioed am Dduw, Topsi?"

Edrychai y plentyn yn synedig.

"A wyddoch chwi pwy a'ch gwnaeth chwi?"

"Neb, am dim wn i," ebe y plentyn, gyda chwerthiniad, a ymddangosai fod y drychfeddwl yn rhoddi cryn ddifyrwch iddi, oblegid ymwinciai ei llygaid, ac ychwanegai,—

"Fi tyfu o'r llawr, debic cin i. Fi dim meddwl neb gneyd fi 'rioed."

"A fedrwch chwi wnïo?" ebe Miss Ophelia; gan feddwl troi yr ymddyddan at rywbeth mwy dealladwy iddi."

"Na fedra, missis."

"Beth fedrwch chwi wneyd? Beth fyddech yn arfer wneyd i'ch meistr a'ch meistres?"

"Nol dwr, golchi llestri, a rhwbio cyllill, a *thendio* ar bobol."

"A oeddynt yn dda wrthych?"

"Debic cin i 'u bod nhw," ebe y plentyn, gan graffu ar Miss Ophelia yn ffelgar.

Ar hyn, rhoddai Miss Ophelia ben ar yr ymddyddan, a chyfodai i fyny. Yr oedd St. Clare yn sefyll â'i bwys ar ei chader hi o'r tu ol.

"Y mae yna dir newydd, fy nghares," ebe fe; "rhoddwch eich egwyddorion i mewn ynddo; nid oes yna lawer o waith chwynu."

Yr oedd golygiadau Miss Ophelia ar addysg, fel ar bob peth arall, yn hynod o fanwl a phenodol, ac o'r fath ag oedd yn ffynu yn Lloegr Newydd tua chanrif yn ol, ac sydd eto yn arferedig mewn rhai parthau neillduedig o'r wlad. Gellid eu cynnwys mewn pur ychydig o eiriau—dysgu y plant i fod yn astud pan y byddid yn siarad â hwy—dysgu y catecism iddynt, a darllen a gwnïo—a'u chwipio, os ceid hwy yn euog o ddyweyd anwiredd. Ac er, o anghenrheidrwydd, wedi y ffrwd o oleuni sydd yn awr wedi ei dywallt ar addysg ac addysgu, bod yr hen drefn wedi ei gadael yn bell bell ar ol, eto y mae yn ffaith anwadadwy ddarfod i'n neiniau fagu meibion a merched lled wychion o dan yr hen oruchwyliaeth, fel y gall llawer o honom gofio a thystio. Beth bynag, ni wyddai Miss Ophelia am ddim arall i'w wneyd, a chan hyny, hi a ymroddodd i'r gorchwyl o addysgu y baganes fechan yn y modd goreu a allai.

A yr hanes ymlaen i fynegu am y drafferth a gymerai Miss Ophelia i addysgu Topsi yn ngwahanol alwedigaethau y tŷ. Cymerai hi gyda hi i'w hystafell, a rhoddai addysg ac hyfforddiant fanwl iawn yn y gelfyddyd o gyweirio gwely; rhoddai esiampl iddi drwy gyweirio gwely ei hun, a pheri iddi hithau edrych a dal sylw.

Safai Topsi yn sobr sanctaidd hynod, gerllaw iddi, o'r tu ol, ac addawai yn grynedig i wneyd pobpeth yn ol y cynllun a osodid o'i blaen; a dywedir ei bod yn hynod o esgud i ddysgu y cyfryw bethau.

Wedi i Miss Ophelia fyned trwy yr orchwyliaeth ei hun, tynai ddillad y gwely ymaith drachefn, a galwai ar Topsi ymlaen i'w ail gyweirio, i gael gweled a oedd wedi sylwi a dysgu; ond tra y buasai yr athrawes yn brysur wrth ei gorchwyl gyda 'r gwely, cipiasai y ddysgybles fechan ddireidus bâr o fenyg ac ysnoden, a stwffiasai hwynt i'w llawes. Pan aeth at ei gorchwyl gyda 'r gwely, fodd bynag, a Miss Ophelia yn eistedd gerllaw i edrych arni, daeth darn o'r ysnoden i'r golwg allan o'r llawes. Canfu Miss Ophelia ef, a chipiodd afael ynddo—

"Beth yw hwn?" ebe hi; "chwi blentyn drwg, direidus—yr ydych wedi bod yn lladrata;" a thynodd yr ysnoden allan.

Ni pharai hyn y cyffro lleiaf ar Topsi; edrychai arno fel un wedi synu, ac fel un a fuasai yn hollol ddiniwed.

"Wel, taid! 'snoden Miss 'Phela ydi nona, ynte? Sut cydiodd hi yn llawes i?"

"Topsi, blentyn drygionus, peidiwch chwi a dweyd anwiredd wrthyf fi—do, yr ydych wedi lladrata yr ysnoden yma!"

"Missis, fi deyd, daru mi dim; fi gwel'd 'rioed mono fo tan y mynyd yma."

"Topsi," ebe Miss Ophelia; "ai ni wyddoch fod dweyd celwyddau yn ddrwg?"

"Fi byth deyd clwdde, Miss 'Phela," ebe Topsi, gyda'r sobrwydd mwyaf; "deydis i dim ond y gwir a dim arall."

"Topsi, rhaid i mi eich chwipio, os dywedwch anwireddau fel yna."

"Taid, missis, tae chi 'n chwipio fi trw 'r dydd, medra i deyd dim ond fel deydis i o'r blaen—fi gwel'd 'rioed mono fo tan 'rwan; rhaid fo fod wedi bachu yn llawes fi. Miss 'Phela wedi adel o ar y gwely, ac mi 'roedd o rhwn y dillad, ac felly mi bachodd yn llawes fi."

Yr oedd Miss Ophelia wedi cynhyrfu erbyn hyn, ac ymaflodd yn Topsi ac ysgydwodd hi.

"Peidiwch chwi a dweyd peth fel yna wrthyf fi ond hyny."

Ar yr ysgytfa, daeth y menyg drachefn i'r golwg o'r llawes arall.

"Dyna chwi!" ebe Miss Ophelia, "a ddywedwch chwi wrthyf eto, na ddarfu i chwi ladrata yr ysnoden?"

Cyffesodd Topsi y menyg-ladrad, ond daliai ati i wadu yr ysnoden.

"Yn awr, Topsi, os cyffeswch chwi y cwbl, ni chwipiaf monoch y tro hwn."

Ar hyn cyffesodd Topsi y lladrad, gydag ardystion difrifol o edifeirwch.

"Wel, yn awr," ebe Miss Ophelia, "dywedwch i mi—mi a wn eich bod wedi cymeryd pethau eraill er pan ydych yma; oblegid gadewais i chwi redeg o gwmpas trwy y dydd ddoe. Yn awr, dywedwch i mi os darfu i chwi, ac ni chwipiaf chwi."

"Wel, taid! missis—mi cymryd y peth coch Miss Efa 'n gwisgo am i gwddw."

"A chwi wnaethoch, blentyn drygionus. Wel, pa beth gyda hyny?"

"Fi cymryd y pethe cochion Rosa gwisgo yn i clustie."

"Ewch a dygwch hwy yma i mi y mynyd hwn."

"Taid, missis, meder fi dim—nhw wedi 'u llosgi."

"Wedi eu llosgi!—y fath stori! Ewch i'w cyrchu, neu mi a'ch chwipiaf."

Tystiai Topsi, gyda llefau a gruddfanau, nad allai—eu bod wedi eu llosgi.

"I beth y darfu i chwi eu llosgi?"

"Dim ond bod fi drwg—fi ydw drwg hefyd. Fi drwg iawn trost ben. Sut bynag, dall fi dim help iddo fo."

Ar hyn, dyma Efa yn dyfod yn ddamweiniol i'r ystafell, a'r gadwen am ei gwddf.

"Ha! Efa, pa le y cawsoch eich gwddfdlws?" ebe Miss Ophelia.

"Pa le y cefais ef? Yr oedd am fy ngwddf trwy y dydd," ebe Efa.

"A oedd ef am eich gwddf ddoe?"

"Oedd; a pheth sydd yn ddigrifol, Anty, yr oedd am fy ngwddf trwy y nos. Anghofiais ei gymeryd ymaith wrth fyned i'r gwely."

Edrychai Miss Ophelia fel wedi madroni; ac yn fwy felly, fel y delai Rosa i mewn ar yr adeg hòno, gyda basgedaid o ddilladau glân ar ei phen, a'r modrwyau cwrel yn ei chlustiau.

"Wel, yn wir, ni wn i ddim pa beth i'w wneyd o'r fath blentyn a hon," ebe Miss Ophelia, mewn anobaith. "I beth yn y byd y dywedech wrthyf eich bod wedi cymeryd y pethau yna, Topsi?"

"Wel, missis deyd, base raid fi 'ffesu; a dalle fi feddwl am dim arall i 'ffesu," ebe Topsi, dan rwbio ei llygaid.

"Yn sicr iawn, nid oedd arnaf eisieu i chwi gyffesu pethau nad oeddych wedi eu gwneuthur," ebe Miss Ophelia; "y mae hyn yn ddweyd anwiredd yn gystal a rhyw bethau eraill."

"Taid mawr!—ydi o?" ebe Topsi, gyda golwg o syndod diniwed.

"'Does dim rhithyn o wir yn yr hoeden yna," ebe Rosa, gan edrych yn ddigofus ar Topsi. "Pe baswn i yn lle Misar St. Clare, mi baswn yn i chwipio hi nes base 'r gwaed yn llifo, mi baswn hefyd; mi baswn yn dysgu iddi hi."

"Na, na, Rosa," ebe Efa, mewn agwedd awdurdodol, a allai wisgo ar ei gwyneb rai prydiau, "rhaid i chwi beidio siarad fel yna, Rosa; ni allaf oddef ei glywed."

"Grym anwyl, Miss Efa, chi mor da, chi dim yn gwbod sut i neyd â *niggers*. 'Does run ffordd i'w trin nhw ond 'u chwipio nhw 'n iawn—fi deyd i chi."

"Rosa!" ebe Efa, "Ust! peidiwch chwi a dweyd un gair o'r fath yna eto."

Cochai gwedd a thaniai llygaid y plentyn, fel y llefarai, a rhoddai daw ar Rosa yn y foment.

"Mae gwaed y St. Clares yn Miss Efa, mae 'n amlwg—mi feder siarad yr un fath a'i thad, o bethe 'r byd," ebe hi, fel yr elai allan o'r ystafell.

Safai Efa yn edrych ar Topsi.

Yno y safai y ddau blentyn yn gynnrychioliaid o ddau eithafnod cymdeithas. Y plentyn teg, uchelradd, gyda ei phen auraidd, ei llygaid dwysion, ei delweddiad ardderchog, a'i hysgogiadau pendefigaidd; a'i chymydoges ddu, graff, gyfrwys, lechwraidd, iselraddol, ond eto feddylgar. Safent yn gyn-



EFA YN ADDYSGU TOPSI.

nrychiolíaid eu hâlau. Y Saxon yn hanu o oesau o wareiddiad, awdurdod, addysgiant, a choethder anianyddol a meddyliol; a'r Affrican yn hanedig o genedlaeth fathredig am oesau gan orthrymder a thrawsder, anwybodaeth, a chaethwasiaeth, a llygredigaeth.

Pasiodd rhyw feddyliau felly, o bosibl, trwy fynwes Efa. Ond y mae meddyliau plentyn yn fath o reddfau annelwig ac annynodol. Ac yn y fath natur ardderchog a'r eiddo Efa, yr oedd llawer o'r fath bethau yn ymweithio, na allai hi mo 'u traethu.

Wedi i Miss Ophelia helaethu ar ddrygioni Topsi, edrychai Efa yn bryderus a gofidus, a dywedai mewn llais tirion—

"Topsi fach, paham y gwnaech chwi ladrata? Cymerir pob gofal am danoch yma. Yr wyf yn sicr y byddai yn llawer gwell genyf fi roddi unpeth a feddaf i chwi, nag i chwi ei ladrata?"

Dyna y gair tirion cyntaf a glywsai y plentyn erioed yn ei bywyd; a tharawai y dull a'r dôn addfwyn y lleferid ef yn ddyeithr iawn ar y galon arw, anwar, y lleferid wrthi, a thywynai rhywbeth tebyg i wreichionen o ddeigryn yn y llygad craff, pelydrog hwnw am y tro cyntaf; ond dilynwyd ef yn fuan gan grechwen fer, a'r dullweddiad arferol iddi, fel pe buasai yn edrych ar y tiriondeb a ddangosai Efa tuag ati yn ffug-gellwair yn unig. Y mae y glust na chlywodd ddim erioed ond gerwindeb yn hynod o ammhëus o beth mor nefolaidd ag ydyw tiriondeb; felly ni fynai Topsi gredu nad rhagrith oedd y cwbl.

Ond beth oedd i wneyd o Topsi? Yr oedd Miss Ophelia wedi ei thaflu i ddyryswch. Gwelai nad oedd ei rheolau yn ateb y dyben. Meddyliai y buasai yn cymeryd amser i ystyried y peth; ac mewn trefn i ennill amser, ac yn y gobaith fod rhyw fath o rinweddau i'w dysgu mewn ystafelloedd tywyll, hi a gauodd Topsi i fyny mewn lle tywyll hyd nes y caffai hamdden i wneyd ei meddwl i fyny ar y mater.

"Ni allaf weled," ebe Miss Ophelia wrth St. Clare, "y medraf wneyd dim o'r plentyn yna heb ei chwipio."

"Wel, chwipiwch hi ynte, faint a fynoch," ebe yntau. "Yr wyf yn rhoddi llawn awdurdod i chwi arni, i wneyd fel y mynoch â hi."

"Y mae yn rhaid chwipio plant," ebe Miss Ophelia. Ni chlywais erioed am neb yn gallu eu dwyn i fyny heb wneyd."

"O, wel, yn sicr iawn," ebe St. Clare, "gwnewch fel y barnoch yn oreu. Ond mi a ddywedaf i chwi gymaint a hyn, mi a welais y plentyn yna yn cael ei churo â'r *poker*, a'i tharo i lawr â'r rhaw, neu 'r efel, neu rywbeth a ddygwyddai fod nesaf at law, &c.; a chan ei bod hi mor gynnefin â'r driniaeth hôno, yr wyf yn coelio y bydd raid i'ch chwipio chwi fod yn un go hynod, cyn y gwna nemawr o argraff."

"Beth sydd i'w wneyd o honi, ynte?" ebe Miss Ophelia.

"Yr ydych wedi gofyn cwestiwn pwysig," ebe St. Clare, "buasai dda genyf, pe gallaswn ei ateb. Beth sydd i wneyd o greadur dynol na ellir ei lywodraethu ond â'r fflangell yn unig, a hono yn methu. Y mae yn beth cyffredin iawn i lawr yma."

"Wel, yn sicr, ni wn i ddim," ebe Miss Ophelia; "ni welais i erioed blentyn o fath hon."

"Y mae y cyfryw blant yn bur gyffredin yn ein mysg ni, a'r cyfryw wŷr a gwragedd hefyd."

"Ond beth sydd i'w wneyd o honynt?" ebe St. Clare.

"Y mae hyny yn fwy nag a allaf fi ddyweyd, yn sicr i chwi," ebe Miss Ophelia.

"Na finnau chwaith," ebe St. Clare. "Y creulonderau arswydus yr adroddir am danynt yn awr a phryd arall yn y papyrau—y fath esiamplau â Prue, er anghraifft—o ba beth y maent yn tarddu? Mewn llawer o esiamplau y maent yn ganlyniadau gorchwyliaeth raddol o ymgaledu o'r ddau tu—y meistr yn myned yn fwyfwy creulawn, a'r caethwas yn myned yn fwyfwy cyndyn. Y mae fflangellu er baeddu yn beth tebyg i *laudanum;* rhaid i chwi ddyblu y dogn, fel y mae yr ymarferiad âg ef yn marwhau y natur. Canfum i hyn yn bur fuan wedi i mi ddyfod yn berchen caethion; ac mi a benderfynais i beidio dechreu byth, oblegid na wyddwn pa bryd y diweddwn, penderfynais beth bynag i ddiogelu fy natur a'm tymher foesol fy hun. Y canlyniad yw, fod fy ngweinidogion yn debyg i blant wedi eu handwyo â moethau; ond yr wyf yn meddwl bod hyny yn well nag i ni gael ein handwyo oll gyda'n gilydd. Yr ydych wedi son llawer iawn am ein cyfrifoldeb gyda golwg ar addysgu, fy nghares. Yr oeddwn yn awyddus i chwi wneyd y prawf ar yr un plentyn hwn, yr hwn sydd yn wir ddelw o filoedd yn ein mysg."

"Eich trefniant chwi sydd yn gwneyd y cyfryw blant!" ebe Miss Ophelia.

"Mi a wn hyny; ond y maent yn cael eu gwneyd—y maent yn bodoli, a beth sydd i'w wneyd o honynt?"

"Wel, ni allaf fi ddyweyd fy mod yn ddiolchgar i chwi am fy ngosod i wneyd y prawf hwn; ond eto, gan ei fod yn ymddangos yn ddyledswydd, mi a ddaliaf ati ac a wnaf goreu y gallwyf," ebe Miss Ophelia; ac felly ymroddodd at ei dyledswydd gyda dyfalwch a diwydrwydd canmoladwy iawn. Neillduai waith penodol iddi, ac oriau penodol i'w gyflawni, ac ymroddai i'w dysgu i ddarllen a gwnïo.

Yr oedd Topsi yn hynod o gyflym i ddysgu darllen. Dysgodd y llythyrenau rhag ei blaen, a daeth yn fuan iawn i allu darllen yn weddol. Ond yr oedd y gwnïo yn bwnc anhawdd. Yr oedd mor ystwythed a'r gath, ac mor fywiog a direidus a'r mwnci; ac yr oedd caethiwed y gwnïo yn boenus iawn iddi; hi a dorai y

nodwyddau ac a'u taflai allan trwy y ffenestr, neu cuddiai hwy mewn rhigolau yn y pared; anurddai ac andwyai ei gwaith, &c.; a chyflawnai yr holl ddireidi mor lechgiaidd, fel na allasai Miss Ophelia, er ei holl ddyfalwch, byth ei dal ar y drwg.

Daeth Topsi yn garitor hynod yn y lle, yn fuan. Yr oedd ei thalent at bob math o ddigrifwch, ystumiau, a dynwared—am ddawnsio, neidio, dringo, canu, chwibianu, a dynwared pob sŵn a darawai ar ei chlust—yn ddiderfyn. Byddai pob plentyn yn y lle yn ymgasglu o'i chwmpas yn ei horiau chwareu, yn edrych arni gyda difyrwch a syndod; ac hyd yn nod Miss Efa, yr hon a ymddangosai fel un yn cael ei swyno gan ei champau gwylltion, fel y bydd colomen weithiau yn cael ei swyno gan frithder sarff. Yr oedd Miss Ophelia yn anesmwyth fod Efa mor fynych yn nghymdeithas Topsi, ac erfyniai ar St. Clare i wahardd iddi.

"Pw! gadewch lonydd i'r plentyn," ebe St. Clare. "Fe wna Topsi les iddi."

"Y fath blentyn llygredig—ai nid ydych yn ofni y dysga hi ryw ddireidi iddi?"

"Ni all ddysgu dim o'r fath beth iddi; gallai ddysgu drygioni i rai plant, ond fe red llygredigaeth tros feddwl Efa, fel y rhed gwlith tros wyneb deilen *cabbage*—ni sudda un dyferyn i mewn."

"Peidiwch a bod yn rhy ddiofal," ebe Miss Ophelia, "ni fuaswn i byth yn gadael i blentyn i mi chwareu gyda'r fath un a Topsi."

"Wel, hwyrach na allasai eich plant chwi ddal," ebe St. Clare; "ond fe all Efa. Pe buasai yn bosibl ei llygru hi, buasai wedi ei llygru yn hir cyn hyn."

"Rhoddir i ni gryn lawer o hanes campau ac ystranciau direidus Topsi," ebe James; "fel y byddai yn trefnu moddion i ddial ar y gweinidogion a roddent dramgwydd iddi. Ni chai un trosedd a wnaent i'w herbyn ei anghofio ganddi; yn gynt neu yn hwyrach disgynai ei dialedd arno yn annysgwyliadwy; a threfnai y gweinyddiad o hono yn y fath fodd, na ellid cael byth un dystiolaeth eglur o'i heuogrwydd. Dygid hi yn fynych dan brawf a holiad; ond dadleuai ei hachos gyda'r fath ddeheurwydd ac ymddangosiad o ddiniweidrwydd, a barai syndod a dyryswch iddynt oll.

Disgynai ei dialedd ar yr hwn a'i tramgwyddasai bob amser, pan fyddai y troseddwr yn dygwydd bod allan o ffafr gyda'r feistres; ac ar y pryd hwnw, byddai Mrs. Marie St. Clare yn mwynhau y peth yn hytrach nag yn digio wrtho, a diangai Topsi yn ddigerydd.

Ar un achlysur, daliodd Miss Ophelia Topsi wedi troi ei *shawl* ysgarlad oreu hi o amgylch ei phen, yn myned trwy ei hystumiau o flaen y drych. Dygwyddasai Miss Ophelia am unwaith, adael yr allwedd yn y clo, ar ei dillad, heb ei gadw.

"Topsi," ebe hi, "beth sydd yn peri i chwi wneyd fel yna?"

"Fi dim gwbod, missis—am bod fi mor drwg, debic cin i."

"Ni wn i yn y byd beth a wnaf i chwi, Topsi."

"Yn siwr, missis, rhaid chi chwipio fi. Bydde ph'en fissis 'narfer gneyd bob amser. Fi dim arfer gweithio 'sna chai fy chwipio."

"Pa beth, Topsi, nid oes arnaf eisieu eich chwipio. Mi allech wneyd yn dda pe mynech, a beth yw y rheswm na byddech."

"Yn siwr, missis, fi 'narfer cael chwipio; debic cin i bod o yn da i mi."

Cymerodd Miss Ophelia hi ar ei gair, a chwipiodd hi yn achlysurol. Gwaeddai ac ysgrechiai Topsi â'i holl nerth dan y fflangell, ac erfyniai drugaredd yn y modd mwyaf taer-ddifrifol; ond yn uniawn wedi i'r orchwyliaeth fyned trosodd, hi a droai y cwbl yn wawd-ddigrifwch, a dywedai wrth ei chymdeithion, na fuasai chwipio Miss Ophelia yn niweidio gwibedyn; ond am ei hen feistr, ei fod ef yn deall ei waith—y gallai ef chwipio, nes y buasai y cnawd yn tori ymaith yn dameidiau gyda'i fflangell. Ymffrostiai yn ei drygioni, ac yn y gred ei bod yn rhagori ar bawb arall mewn dyhirdra.

"Gwyddoch chi, *niggers*," meddai hi wrth ei chymdeithion: "chi gwbod bod chi gid yn bech'duried. Wel, rydach chi, a mae pawb—pobol wynion 'n bechaduried hefyd—Miss 'Phela yn deyd hyny; ond *niggers*, nhw ydi 'r pech'duried mwya. Ond taid—toes run o honoch chi fyny â fi—fi 'narswydus drwg—meder neb gneyd dim byd o hona i. Mi fyddwn 'narfer cadw phen fisar i dyngu a rhegu ata i hanner i amser. Fi meddwl fi y cradur gwaetha yn y byd;" ac ymddangosai yn falch o'i rhagoriaeth, mewn gwirionedd.

Wedi hyn cawn hanes am lafur Miss Ophelia yn dysgu ei chatecism i Topsi. Cofiai Topsi yr atebion yn rhwydd ddigon, ac adroddai hwy gydag agwedd ddefosionol iawn.

Ceisiai St. Clare ymresymu â'i gares, nad oedd dysgu rheffyn o gatecism yn debyg o wneyd nemawr o les i Topsi: nad oedd ganddi un syniad am feddwl ac ystyr yr atebion: bod yn anghenrheidiol cael rhyw lwybr arall i gael gafael ar deimlad a chalon y plentyn. Ond ni wyddai Miss Ophelia am yr un gwell; gobeithiai y deuai mewn amser i feddwl am, a deall a theimlo yr hyn a ddysgid iddi gofio.

Dadleuai Miss Ophelia, drwy yr hen ffordd dda, mai felly y byddai pobl dda yn arfer gwneyd; a'i bod wedi bod yn llesol i laweroedd o blant. Gadawai St. Clare iddi gael ei ffordd, ond yr oedd yn amlwg nad oedd ganddo fawr iawn o ffydd yn ei llwyddiant.

"Ni waeth i ni adael y stori yna ar hynyna," ebe James; "Ond beth ydych yn feddwl o Topsi?"

"Ni wn i yn y byd beth i feddwl o honi hi—crogi neb ŵyr," ebe F'Ewythr Robert; "ni chlywis i 'rioed son am g'mhares iddi hi. Os oedd Efa yn 'ngyles bach, mi 'roedd y Dopsi ene 'n gythreles fechan ar i chyfer i. Ond toedd o ddim rhyfedd yn y byd, a styried wel 'roedd hi wedi cael i magu, druan. Y fagwreth a'r drinieth gowse hi oedd chwedi gneyd hi 'r peth oedd hi."

"Mi allech gael ymbell un yn y'n gwlad ninne mor anw'bodus ag oedd Topsi," ebe Rhys. "Mi 'rydw i 'n cofio i mi glowed am un hogyn o fachgen, yn y'n sir ni yma, dro 'n ol, oedd chwedi 'i fagu mewn rhw gwmwd mynyddig, allan o gyredd Ysgol Sul, a phob moddion, heb fyn'd ymhell, a'i rieni o hefyd yn gryaduried pur anraslon; beth bynag i chi, mi gafodd yr hogyn le i fyn'd i weini mewn tŷ ffarm, yn y gymydogaeth; a mi fydde 'r bobol rhei'ny 'n arfer myn'd i wrando, ac i'r Ysgol Sul, a mi aethon âg ynte i'r ysgol; a mi ddychryodd ddysgu darllen. Un tro, 'roedd un o'r 'thrawon yn holi plant ar ddiwedd yr ysgol, i chi, ynghylch pechod, a'r plant yn ateb, ac yn deyd mai peth drwg iawn oedd pechod, ac ynte 'n gwrando; ond o'r diwedd, fe ofynodd yr athro, 'Beth oedd cyflog pechod?' ond nid oedd neb yn ateb; gofynodd drychefn, a thrychefn, heb gael ateb. 'Wel,' ebe 'r athro, ''rydach chi wedi deyd mai peth drwg iawn ydi pechod, be 'ddyliech ydi 'i gyflog o?' ac ebe 'r hogyn, yn sobor iawn—mor sobor a Thopsi, 'Treiwch o ar ddeunaw yn dydd, ar 'i fwyd 'i hun."

"'Rydw i 'n meddwl yn siwr mai gneyd rhw streuon wel ene o dy ben dy hun y byddi di, Rhys," ebe F'Ewythr Robert.

"Na, 'n wir, mi glywais innau 'r stori am yr hogyn yn ateb, fel yr oedd Rhys yn dyweyd," ebe Dafydd.

"Wel, rhaid i ni goelio tystiolaeth y saer a'r teiliwr, pen mae nhw 'n cyd-ddeyd," ebe yr hen ŵr.

"Mae mwy o anwybodaeth a thywyllwch yn aros eto yn y wlad yma, nag mae neb yn ei feddwl," ebe Dafydd. "Y maent yn dweyd i mi fod hen bobol i'w cael o ddeutu goror Clawdd Offa, ac mewn llawer o fanau yn sir Gaer, a sir y Mwythig, a llawer o siroedd eraill Lloegr, mor d'wlled a phaganied perfedd Affrica—heb wybod dim yn y byd am grefydd, fel y dywed yr apostol am yr Ephesiaid gynt, 'Heb Grist, heb obaith, ac heb Dduw yn y byd.' Nid oes ganddynt fwy o barch i'r Sabboth na diwrnod arall. Ar y dydd hwnw y bydd y gweithwyr, a'r tlodion, yn trin eu gerddi, a'r ffarmwyr, hwythau yn myned at eu gilydd i wledda, a siarad am y byd a'i bethau. Fe allai yr ä rhai o honynt i'r gwasanaeth, i'r llan, yn y bore, a'r weinidogaeth a glywant yno sy rywbeth yn debyg ag oedd hi yn y llane yn Nghymru, ers talwm, cyn i'r Ymneillduwyr godi i ddeffro y wlad —rhyw hen druth farw, '*Os da y gwnawn, da y cawn.*' Y mae y

bobol yno, o genedlaeth i genedlaeth, yn ymdroi yn mrasder y ddaear, ac mewn llawnder o drugareddau; ond megys wedi llwyr anghofio Duw; eisteddant yn mro tywyllwch, a chysgod angeu; ac nid oes neb yn ymofyn am eu henaid. Y mae yr Ymneilldüwyr, hwythau, wedi bod yn esgeulus iawn o lawer o ranau o Loegr. Casglant ugeiniau o filoedd o bunnau bob blwyddyn i anfon cenadau i bregethu yr efengyl i baganied Affrica, a'r India, ac ynysoedd pell y moroedd, ond gadawant baganied cartre', wrth 'u dryse, i farw o oes i oes o eisieu gwybodaeth. Da iawn yw eu gwaith, yn sicr, i anfon yr efengyl dros y moroedd, ond ni ellir eu canmol am esgeuluso cartref. Y maent wedi deffro peth yn ddiweddar, ac y mae ganddynt Gymdeithasau Cenadol Cartrefol, ac y mae cenadon y cymdeithasau rhei'ny yn rhoi hanesion rhyfedd am d'wllwch ac anwybodaeth rhanau o Loegr—pethau y byddai yn anhawdd coelio 'u bod yn wirionedd, oni bai fod digon o brofion. Y mae yr offeiriaid a'r bon'ddigion, yn yr ardaloedd hyny, yn debyg fel yr oedd yr offeiriaid a'r bon'ddigion yn Nghymru gynt, yn creuloni ac yn erlid y cenadon yn ofnadwy iawn. Mewn gair, mae mwy o dywyllwch, anwybodaeth, a thrueni, yn ein teyrnas ni, na allwn ni byth ddychymygu. Mae yma lawer Topsi yn Lloegr, yn yr ystyr yna, yn siwr i chwi."

"Wel, yn siwr i tithe, Dafydd," ebe F'Ewythr Robert, "ynt wyt ti 'n deyd yn arw; ni fyddylis i ddim bod pethe wel ene 'n bod yn y wlad yma, yrŵan. Mi fydde dda i bobol Lloeger ene ydrach gartre', 'ddyliwn i; fydde dda iddyn nhw ddanwon *cymmissionars* trw 'u sirodd 'u hinen, yn lle 'u gyrud nhw yma, aton ni; mae ono fwy o waith iddyn nhw, mi fyddyliwn."

"Oes, o lawer," ebe Dafydd. "Trwy drugaredd, y mae Cymru, a'i chymeryd bobpeth at ei gilydd yn rhagori 'n ddirfawr ar Loegr, ïe, a Scotland hefyd, fel 'rydw i 'n dyallt. Mae llawer iawn o leoedd tywyll iawn yn y wlad hòno, er cymaint a ddeydir am ei dysgeidiaeth hi. Ond d'alltwch chi mai eisieu gwneyd achos i waradwyddo Ymneilldüwyr ac Ymneillduaeth Cymru oedd wrth wraidd *cymmissiwn* y llyfre gleision rhei'ny; a 'doedd waeth yn y byd sut y gneid o i fyny—ei glytio fo rywsut, peth gwir a pheth fel arall—os gellid taflu cwmwl a gwarth ar *Ddisent*, a'i gneyd hi yn achos o bob drwg ac aflwydd. Nid t'w'llwch ac anfoesoldeb y wlad oedd y peth oedd yn blino 'r bobol oedd yn annog y llywodraeth i gym'ryd y gorchwyl mewn llaw, ond crefydd y Cymry oedd y drwg."

"Wel, yn siwr, Dafydd, mae 'n debic cin i dy fod di 'n deydyd y gwir, bob gair," ebe F'Ewythr Robert, "on't oes dychellion garw y'nghlone dynion. Ond mi fase 'n hawdd iddyn nhw ddallt y base pobol erill yn gwel'd trwyddyn nhw, ac yn 'u danos nhw allan, a mai arnyn nhw 'u hinen y base 'r gwarth yn disgin yn diwedd."

"Ië, felly y bu hi hefyd," ebe Dafydd. "A'r un naeth fwya' o neb yn y ffordd hono oedd y diweddar Ieuan Gwynedd, un a fagwyd yn ein sir ni yma oedd o hefyd."

"Do, mi dynodd Ifan winedd y gigfran trwyddyn nhw," ebe Rhys, "mi roedd o'n ymladd a'r *cymmissiwnars*, ac yn ymladd âg ange ar unwaith, ar wastad 'i gefn yn 'i wely. A mi drechodd y *cymmissiwnars* yn lan loew, a mi fu agos iddo fo drechud ange i'w canlyn nhw; mi fu byw nes toedd o'n syndod i bawb—bachgen rhyfeddol oedd o."

"Mi glowis lawer o son am dano fo," ebe F'Ewythr Robert, "Aros di, Rhys, ond un o ardal Rhydymain, ne'r Brithdir, oedd o, ynte?"

"Ia siwr," ebe Rhys, "mi 'dwaenwn 'i dad a'i fam o o'r gore; dynes rywinol oedd 'i fam o; tase hi'n ddyn, mi naethe byrgethwr ne dwrne heb 'i fath. Rhw grydyryn digon dyniwed oedd i dad o, ond bachgen 'i fam oedd Ifan."

"Os caniatewch chwi i mi dori ar draws eich stori chwi," ebe Modryb Elin, "mi roeddwn i'n gweled hanes Topsi ene yn hynod o addysgiadol—yn dangos fel y mae camfagwraeth a chamdriniaeth yn effeithio ar y natur a'r galon ddynol. 'Fel y mae saethau yn llaw y cadarn, felly y mae plant ieuenctyd,' medd y Salmydd. Gall y dyn fyddo yn dal y saeth ar ei fwa, ei chyfeirio at y nod a fyno tra y byddo yn ei law, ond wedi y gollynga hi o'i law, oddiar ei fwa, nid oes ganddo lywodraeth arni mwyach. Cafodd y plentyn truan yna, fel miloedd eraill, ei dwyn i fyny tan oruchwyliaeth y dwrn, y troed, a'r chwip: yn sŵn bygythion, a llwon, a rhegfeydd; ei dulio, ei baeddu, a'i chernodio; ei thylino a'i moldio, megys yn nhwrnel trais a chreulondeb, nes y gwnaed rhyw lun a ffurf ryfedd o druenus arni. O'r tu arall, yr oedd St. Clare yntau yn meithrin ei weinidogion yn fwythus a diofal, gan adael iddynt gael eu ffyrdd a'u hewyllys eu hunain, heb geisio eu ffrwyno a'u dysgyblu ond yn anfynych. Yr oedd hyny yn eu gwneyd hwythau yn foethus, yn feilchion, yn ddioglyd, ac esgeulus, a diwerth, fel y dywed Solomon, 'Y neb a ddygo ei was i fyny yn foethus o'i febyd, o'r diwedd efe a fydd fel mab iddo.'"

"Dyna ddau fath o lywodraeth deuluaidd," ebe Dafydd, "a'r naill a'r llall o honynt yn ddrwg yn eu natur a'u heffeithiau. Un yn draws, creulon-anwydog, llywodraeth y curo a'r cicio, a'r melldithio, heb nac addysg na hyfforddiant, nac ymresymu, nac annog, na thynerwch, na gobaith yn perthynu i'w gweinidogaeth. A'r llall yn benrhyddid hollol braidd, yn goddef pob math ar ymddygiadau heb na chynghor na cherydd; ac nid oedd ryfedd i ddeiliaid y naill a'r llall dyfu yn fath gymeriadau ag y desgrifir hwynt o dan eu dylanwadau."

"Nac oedd mewn un modd," ebe Modryb Elin, "canys canlyn-

iadau naturiol y naill a'r llall oedd hyny. Y mae plentyn neu ddyn a drinir fel y trinid Topsi, yn sicr o fod yn gostog, cyndyn, pendew, anhydrin, ac o ddysgu cyfrwysdra a chastiau drygionus. Llenwir ei galon â phob nwydau drwg ac ysbryd ymddial. Meddylia ei fod yn gas gan bawb, ac yn ddirmygus yn eu golwg, ac yn gas a dirmygus yn ei olwg ei hun, a bydd pawb arall felly hefyd ganddo; ac fe allai mai dyna y pydew dyfnaf o drueni y gall natur ddynol suddo iddo yn y bywyd hwn. Y mae pob troseddau fel hyn yn dial ar y troseddwyr yn eu canlyniadau, a'r ffrwythau a ddygant. Mae dynion a drinir fel hyn â dwylaw trawsder a chreulondeb, yn troi yn ffrewyllau ofnadwy yn amal ar eu treiswyr. Mae nhw yn dyweyd bod yna lawer o wledydd felly tros y mor draw, yn barod i godi i fyny yn erbyn y llywodraethwyr creulawn, ac unwaith y caffai 'r bobol a orthrymir y llaw uchaf, gwae 'r gorthrymwyr eu geni i'r byd erioed; ac ni synwn i ddim llawer na chaiff gorthrymwyr y negros yn y 'Merica eu ceryddu, drwy y rhai y mae nhw wedi orthrymu, os na wrandawan nhw ar lais rheswm a chyfiawnder mewn pryd. Ond dyna St. Clare yntau, drachefn, yr oedd hwnw yn cyfeiliorni ffordd arall,—yn rhy dyner, yn dyoddef pob peth. Yr oedd yn ddyn allase gadw llywodraeth dda heb arfer *dim* mesurau llymion. Yr oedd yn adnabod y natur ddynol mor dda, a chymhwysder neillduol ynddo, mi feddyliwn, i ennill llywodraeth a dylanwad ar galonau dynion, ond yr oedd yn rhy ddiog, chwedl yntau, i'w harfer. Yr oedd wedi ei gynnysgaethu â'r cymhwysderau naturiol goreu, o ran agwedd corff a galluoedd meddwl i fod yn dywysog yn mysg meibion ei bobol,—i fod yn fendith yn ei deulu, ei gymydogaeth, a'i wlad; ond gwas diog oedd o."

"Hai, hai!" ebe F'Ewythr Robert, "cymer di ofal be ddeydi di am St. Clare; toes yma ond i gefn o, a mi safa i trosto fo, tat y carne; mi gei ladd ar 'i wraig o faint fyd fynech ti."

"Wel hai," ebe Modryb Elin, "ni ddywedais i ddim am dano fo, ond y peth a ddywedodd o am dano ei hun, 'i fod o'n esgeuluso ei ddyledswydd, o ddiogi a difaterwch; a fuase *dim* achos iddo fo ddigio wrtha i am ddeyd hyny, tase fo yma ei hunan yn clowed."

"Mae dau beth wyddost, i'w styried yn y fan ene," *ebe* F'Ewythr Robert, "Un peth, nad ydi'r dyn a ddeydo arno ei hun fod o'n ddyn diog, ddim yn ddiogyn mewn gwirionedd. Ni neiff diogyn o'r *right siort* byth gyfadde arno'i hun, fod o'n ddiog. A pheth arall, mi ddeydith dyn arno'i hun rhwn difri a chware bethe na leicie fo ddim i neb arall eu deyd nhw. Mi dy glowis i di yn deydyd llawer o bethe am danat dy hun, taswn i ne rw un arall yn 'u deydyd nhw, mi faset yn codi dy wrychyn yn arw. Ni ddyle yr un dyn (na dynes chwaith) gael i dderbyn fel

tyst trosto 'i hun, nac yn 'i erbyn ei hun chwaith; a pheth arall, isio i bobol erill 'u canmol nhw fydd ar y bobol fydd yn lladd arnyn 'u hunen agos yn wastad."

"Mae F'Ewythr Robert yn dyweyd y gwir yn union am y peth ene," ebe Rhys, "mi sylwais i ar lawer un yn ateb i'r desgrifiad yn berffaith. Dene wraig yr Hendre, wyddoch, mi fydde hono yn achwyn arni 'i hun bob amser. O, 'roedd hi'n gwel'd pob dynes yn well na hi yn mhob peth; ond eisio i ni 'i chanmol hi, a deyd 'i bod hi yn well na phob un o honyn nhw fydde arni hi: be neis ine rw ddiwrnod ond cyd-ddeyd â hi yn mhob peth, a mod i'n meddwl 'i bod hi yn rhoid desgrifiad cowir o honi 'i hunan a'i chymydogese. Choelia i na ddigiodd hi wrtha i, a ni fyddeuodd hi byth i mi: ddeydodd hi 'r un gair wrtha i wed'yn tra fum i ono, a cheis i roid pwyth byth yn y tŷ ono rol hyny."

"Wel, gadewch iddi fod felly, ynte," ebe Modryb Elin. "Os nad oedd St. Clare yn un diog, fel y dywede fo am dano ei hun, mae'n siwr ddigon na alle neb ddeyd 'i fod o yn un diwyd yn 'i deulu. 'Yr hwn sy'n llywodraethu, mewn diwydrwydd,' medd yr apostol. Yr hyn sy'n dysgu i ni, na feder neb gadw dylanwad a llywodraeth dda, os na fyddo yn wastad a dyfal yn y gweinyddiad o honi. 'Roedd llawer o bethe rhagorol yn y gŵr boneddig i wneyd meistr da, pe buase fo'n ofalus a diwyd. Yr oedd Miss Ophelia yn wenynen mewn diwydrwydd, ond yr oedd yn ddiffygiol o ddoethineb i addysgu a llywodraethu. Pe base 'i diwydrwydd hi yn ei châr, neu ei ddoethineb o ynddi hi, base un felly yn un cyflawn."

"Dyna fel y mae yn gyffredin," ebe Dafydd, "anaml y cewch chi bob peth dymunol yn cydgyfarfod yn yr un un. Ond mi fydda i'n meddwl fod un fel y Miss Ophelia hono i'w chanmol am ei hamcan a'i hymgais ffyddlon i neyd ei dyledswydd, er nad oedd hi ddim yn gwybod y ffordd ore i'w chyflawni hi: tra 'roedd Mr. Clare i'w feio am esgeuluso ei ddyledswydd, ac yntau yn meddu ar y fath synwyr a dealltwriaeth i'w gwybod hi, a'r dull goreu i'w gwneyd hi. Y mae llawer un tebyg i'r ddau i'w cael, rhai âg ewyllys heb fawr o allu a chymhwysder i neyd daioni, a rhai a llawer o allu a chymhwysderau, heb ddim ewyllys at y gwaith; a ni wn i beth y galwch chwi beth felly, os na alwech chwi fo yn ddiogi, neu esgeulusdra. Mi fydda i'n gweled llawer o hyny gyda'r Ysgol Sabbothol. Ambell un fel Lewis Dafydd, druan, yn barod i wneyd pob peth, a llenwi pob swydd—myned i bob man—mi geisith ddechreu canu, er na fedr o ddim canu mwy na'r rhygen 'r yd—neu holi yr ysgol, er nad oes ganddo fo ddim mwy o ddawn na medr at hyny, mwy na phe baech chwi 'n meddwl am Wmffre 'r clocsiwr, yn myned i geisio gwneyd *watch*. Ac mi äi Lewis i bregethu uwch ben

tyrfa cymanfa, rhag ei flaen, tae ryw un yn gofyn iddo fo. Mi gewch rai eraill wed'yn, â phob cymhwysderau ganddyn nhw i fod yn ddefnyddiol—yn ddarllenwyr da, yn wybodus a deallus yn yr ysgrythyrau—yn synwyrol ac ymadroddus, ond ni wnant ddim byd ond barnu ar bobl eraill, a chwerthin am ben rhyw rai fel Lewis, druan, am eu trwstaneiddiwch a'u diniweidrwydd. Ni wiw ceisio ganddynt hwy gymeryd gofal dosbarth i'w addysgu ; ac os cewch chwi ganddynt hwy wneyd am dro, deg i un os gwelwch chwi hwy yn yr ysgol wed'yn am lawer o Suliau. Y mae yn gas ganddynt ymglymu at waith."

"Am y cyfryw rai y dywed yr apostol, 'Y neb a fedro wneuthur daioni, ac nid yw yn ei wneuthur, pechod ydyw iddo,'" ebe Modryb Elin.

"Wel yn wir, y mae yn bechod i ninnau nad äem adref bellach," ebe James, ac ymaith âg ef, a Rhys a Dafydd i'w ganlyn ; ac felly y terfynodd y gwasanaeth.

---

## NOSON XXII.

Daeth ei dad a'i fam gyda James yr hwyr hwn, a chroesawid hwy gyda 'r llonder a'r gwresogrwydd arferol yn yr Hafod. Yr oedd Tobit wedi myned i mewn i ysbryd y cyfathrachau hwyrol hyn gymaint, fel y byddai yn dysgwyl am ddyfodiad teulu Bryn Derwen bob nos, gyda mwy o anesmwythder pryderus na neb yn y tŷ. Os dygwyddai iddi fyned beth yn hwyrach nag arferol ambell noson cyn i'r cyfeillion wneyd eu hymddangosiad, cerddai at lidiart y buarth, ac yn ei ol i'r tŷ, ac eisteddai gyferbyn a'i feistr, ac edrychai yn ei lygaid gyda 'r golygon mwyaf truanaidd, a chwynai yn ofidus dros ben.

"Be sydd yn darfod i'r hen gi yma ?" ebe F'Ewythr Robert, y tro hwn ; "mae rhwbeth garw yn 'i flino fo, tae o 'n medrud deyd. Tobit—be sy arnat ti, was ?"

"Mi wn i o'r gore be sy'n 'i flino fo," ebe Cati ; "disgwyl am deulu Bryn Derwen mae o ; mi 'rydw i wedi dal sylw arno fo, es tro bellach, yn cwyno ac yn nadu, os na fyddan nhw yn dwad yma at yr amser arferol. Mi gewch chi wel'd pen ddôn' nhw, fel y bydd o 'n lloni, a mi eith i'w gornel i orfedd rhag 'i flaen."

Gyda bod Cati yn gorphen esbonio dirgelwch anesmwythder Tobit, daeth James Harris, a'i dad a'i fam, i mewn, a dyna yr hen gi ar ei draed, ac yn rhedeg i'w cyfarfod dan lygadloni, ac ysgwyd ei gynffon, a llyfu eu dwylaw, ac wedi cyfarthiad neu ddau o gyfarchiad croesawus, cymerodd ei orweddle arferol gerllaw ei feistr, ac ymddangosai yn gwbl wrth ei fodd. Pan ddygwyddai rhywbeth yn yr hanes, neu 'r ymddyddan, i gyffroi

teimladau y cymdeithion, ymddangosai Tobit fel yn cydgyfranogi â hwy; neidiai ar ei draed, a dangosai bob arwyddion teimlad. Rhoddai hyn destun i F'Ewythr Robert i draethu sylwadau doeth, ysmala, ar wahanol nodweddau cŵn a chathod. Sylwai nad oedd Judi, yr hen gath, yn cymeryd sylw na dyddordeb mewn dim o'r fath bethau, mai creadur hunanol, diegwyddor, a diymddiried yw cath; bod y ci yn fath o greadur rhagorol mewn cymhariaeth iddi hi, &c.; ei fod ef, nid yn unig yn ymddangos fel pe byddai yn deall amgylchiadau teuluaidd, ond hefyd yn dangos arwyddion o *gydymdeimlad teuluaidd;* tra na ddangosai yr hen gath yr arwydd lleiaf o deimlad na gofal am ddim ond am ei dogn arferol o lefrith yn ei bryd.

"Mi fydda' i'n cael addysg oddiwrthyn nhw," meddai yr hen ŵr, "a mi fum yn cyffʼlybu ymbell un 'dwaenwn i i Tobit, ag ymbell un arall i Judi; ac ni dda gin i mor dynion cathedd yma, ar gownt ar wyneb y ddyar—dynion ffals, diegwyddor, ro'n 'u gwinedd ynthoch chi, pen na fyddylioch chi;—fydda i ddim yn leicio clowed neb yn d'eyd 'tro ciedd,' am dro brwnt, sal,—'tro cathedd' fydda i'n dd'eyd. Ni 'neith ci byth dro sal a byrdychlyd, wel gwneith cath, a rhai dynion.

"Y mae yn llawn bryd i chwi derfynu efo darlith ar y ci a'r gath, bellach, Robert," ebe Modryb Elin.

"Wel, be haru ti," ebe'r hen ŵr. "Mi fyddi di'n d'eyd fod Solmon yn cym'ryd addysg odd'wrth wningod, a morgrug, a phry' copyn, a pham nad oes addysg i gael wrth sylwid ar y cwn a'r cathod hefyd."

"Y mae yn sicr fod rhyw addysg fuddiol i'w gael oddiwrth bob creadur," ebe Modryb Elin. "Pe bae ni yn sylwi, ac yn rhoi ein meddwl ar waith. Mae'r Beibl yn dangos hyny i ni yn aml iawn. 'Yr ych a edwyn ei feddiannydd, a'r asyn breseb ei berchenog, ond Israel nid edwyn, fy mhobl ni ddeall,' medd yr Arglwydd trwy y prophwyd Esay; a chymer yr adar drachefn, yn Jeremiah, i argyhoeddi dynion. 'Ië, y ciconia yn yr awyr a edwyn ei dymmorau, y durtur hefyd, a'r aran, a'r wennol, a gadwant amser eu dyfodiad, eithr fy mhobl i ni wyddant farn yr Arglwydd.' Creaduriaid a lywodraethir gan reddfau ydyw 'r anifeiliaid a'r adar; ond creadur i'w lywodraethu gan reswm a chybwybod, dan ddylanwad cyfraith ac ewyllys ddadguddiedig Duw, ydyw dyn. Ni fethodd y creadur sydd dan gyfraith greddf erioed a'i gweithio hi allan,—fel y clywais ryw bregethwr yn sylwi, fod pob creadur ond dyn yn gweithio allan ei holl natur, ac felly ei fod yn llon'd ei natur—nad ydyw 'r llew byth yn llai na llew; a phob creadur arall yr un fath. Y mae'r llew yn llawn bwysau llew, a'r morgrugyn yn llawn bwysau morgrugyn. 'Ond gwagedd yw meibion dynion, a geudab yw meibion gwŷr, i'w gosod yn y clorianau, ysgafnach ydynt hwy

oll na gwegi,'—nid oes yr un dyn yn bwysau dyn; ac felly mae pob dyn yn llai na dyn. 'Pa fodd y dywedwch, Doethion ydym ni, a chyfraith yr Arglwydd sydd genym?' Wel yn ddiau ofer y gwnaeth hi;—ofer yw pin yr ysgrifenyddion. Wel, gwrthodasant air yr Arglwydd, a pha ddoethineb sydd ynddynt?' Mewn gwirionedd, y mae pob creadur yr edrycho dyn arno yn gywilydd iddo. Y mae cyfraith yr Arglwydd mor berffaith gyfaddas i droi yr enaid, i oleuo llygaid meddwl, i argyhoeddi a llywodraethu deall a chydwybod dyn, ag ydyw 'r greddfau sy yn natur y creaduriaid direswm, i'w llywodraethau hwythau. Gwnaeth yr Arglwydd y tywod yn ddeddf dragywyddol i'r môr, ac y mae yn ateb y dyben i'w gadw yn ei derfynau. 'Eithr i'r bobl hyn,' medd efe am Israel, 'y mae calon wrthnysig ac anufuddgar, hwynthwy a giliasant, ac a aethant ymaith.' Fel yna mae 'r Beibl yn ein cyfarwyddo ni i edrych ar y greadigaeth a'r creaduriaid yn gweithio ac yn ufuddhau i'w deddfau; er ein hargyhoeddi a'n darostwng ni o herwydd ein hesgeulusdra a'n hanufudd-dod ein hunain,—yn wahanol iawn i fel y mae Robert yma yn edrych ar y ci a'r gath, ac yn cyffelybu un dyn i'r ci, a'r llall i'r gath, yn lle cymeryd addysg iddo ei hun."

"Mi fydda i'n cyff'lybu pethe wel y bydda i'n gweled tebygolieth rhyngthyn nhw; a mi rydw i'n dy wel'd dithe 'rŵan yn chware part y gath, wel y byddi di yn bur amal yn planu dy winedd ynthw i, heb achos yn y byd i ti."

"Yr wyf fi yn siwr na leiciech chwi i neb arall ddyweyd peth fel yna am Modryb Elin, gan fod eich rhagfarn mor gref yn erbyn cathod," ebe Mrs. Harries.

"Wel, na leiciwn, mi wranta," ebe 'r hen ŵr. "Ond fydd hithe ddim mor frwnt wrth neb arall ag fydd hi wrtha i: mi rydan ni ill dau 'n o debig i'r hen gi a'r hen gath yma; mi fu y rhai 'n yn ddigon bryntion wrth 'u gilydd lawer gwaith, ond mi welis lawer tro, tase gath ddierth yn digwydd dwad yma, ag i hôno a Judi fisio cydwel'd, mi fydde Tobit yn cym'ryd parti Judi 'ninion; a phen ddaw yma gi dierth, ag i hwnw a Tobit fyn'd i ffraeo, mi fydd Judi yn cym'ryd parti Tobit dychgefn; a dene 'r unig *sign* o sens a ffy'londeb mewn cath welis i 'rioed. A mi welis unweth gi dierth yn hapio bod yma, pen aeth Tobit a Judi i ymladd â'u gilydd, a mi aeth hwnw i 'myraeth â'u mater, ag i geisio 'u 'ddychu nhw, a mi droes y ddau yn i ben o, a mi fu agos iddyn nhw 'i ladd o—yn debig iawn wel y gwelsoch chi, na fydde dim diolch 'rioed i'r neb a fyne 'myreth a chwerylon teuluaidd; gwell ydi gadel iddyn nhw setlo 'u cwerylon 'u hinen bob amser—'ffals ydi 'r gwaed,' chwedel yr hen air."

"Wel, yn siwr" ebe James, "yr wyf fi bron wedi blino arnoch efo'r cwn a'r cathod yma — ci ydyw ci, a chath ydyw cath, ac ni ellwch wneyd dim arall o honyn nhw; ni newidiwch

chwi byth mo 'u hanian nhw, drwy unrhyw addysg na thriniaeth."

"Na wneir, na wneir," ebe Modryb Elin. "Ond y peth nad yw i'w gael yn nhrefn natur, fe'i ceir yn nhrefn gras—i newid calon ac anian pechadur—gwneyd hen greadur llygredig yn greadur newydd; a'r hen bethau wedi myned heibio, a phob peth wedi ei wneyd o newydd—dynion oeddynt o'r blaen yn gablwyr, yn drahaus, a thrawsion, yn cael eu gwneyd yn addfwyn, gostyngedig, a diniweid—y rhai gwrthnysig yn ufudd a pharod i bob gweithred dda."

"Wel, Jemi bach, gin dy fod di chwedi blino ar y'n stori ni," ebe F'Ewythr Robert, "ni daw'n ninne bellach, i gael i ni wrando ar dy stori di—beth sy gen ti heno—ydi Topsi ar gael—rhw bryfes 'rywinol, wyllt ydi hòno sy gin ti; mi 'roedd hi chwedi dysgu rhygrithio agos gystal a'r dyn digri ene—be ydach chi yn i alw fo?—o rwi 'n cofio 'rwan."

"Wel, tewch Robert—dyna ddigon," ebe Modryb Elin.

"Mi ddaw Topsy i'r bwrdd eto yn ei thro," ebe James. "Ond ni a'i gadawn hi heno,—i adrodd i chwi air o hanes F'Ewythr Tomos a'i amgylchiadau."

Yr ydych yn cofio i ni fynegu ddarfod i'w feistr, St. Clare, ysgrifenu llythyr drosto at Modryb Clöe. Wel, fe dderbyniodd Modryb Clöe y llythyr, a mawr oedd ei llawenydd, i gael clywed fod ei phriod diniwed a ffyddlawn ar dir y byw; ac mewn llawenydd, dangosodd ei llythyr i'w meistres—Mrs. Shelby; a pharai ei gynnwynsiad lawenydd mawr i'w chalon hithau, a Mr. Shelby hefyd, ac yn neillduol i'r mab hynaf, George Shelby. Heb i mi fyned i adrodd yn fanwl yr ymddyddanion a gymerodd le rhwng Mr. a Mrs. Shelby ar yr achlysur, digon yw crybwyll fod meddwl Mrs. Shelby yn barhaus yn anesmwyth ynghylch Tomos, a mynych iawn y byddai yn adgofio ei gŵr am dano, ac yn erfyn arno ymdrechu darbodi rhyw foddion i'w bwrcasu yn ol; a chwareu teg iddo yntau, nid diffyg ewyllys, ond diffyg gallu a'i llesteiriai; canys yr oedd yn gwbl ymwybodol o werth Tomos. Ond yr oedd ei amgylchiadau yn drafferthus a dyryslyd, yn fwy felly nag a ddadguddiasai i Mrs. Shelby o lawer. Bob tro soniai hi am edfryd Tomos, efe a'i taflai heibio â rhyw esgus neu gilydd yn wastad.

Gwnaeth y llythyr gydwybod a chalon Mrs. Shelby yn fwy anesmwyth yn achos F'Ewythr Tomos nag o'r blaen. Ceisiai gan ei gŵr werthu rhyw nifer o'i geffylau, a rhai o'i dyddynod, a thalu yr holl ofynion oedd arno, a phwrcasu Tomos; ond ni fynai ef wneyd dim o'r fath beth. Erfyniai hithau am ei gydsyniad ef i gadw ysgol i ddysgu miwsig i foneddigesau ieuainc, a rhoddi yr holl ennill at brynu Tomos; ond ni fynai ef glywed son am y fath beth. Ystyriai hyny yn ormod o ddarostyngiad

iddynt fel teulu. Yr oedd Modryb Clöe, o'r neilldu, yn clywed yr holl ymddyddan, ac yr oedd hithau druan yn tynu ei chynlluniau. Clywsai gan Sam bod *confectioner* yn Louisville, ac anghen un o'i bath hi arno—un fedrus yn y gelfyddyd bobyddol—ac y rhoddai bedwar *dollar* yr wythnos i'r cyfryw un. Cynllun Clöe ydoedd iddi hi gael ei gollwng i'r lle hwnw, i ennill arian y pwrcas. Cytunodd Mrs. Shelby â'r cynllun, ac addawai wneyd ei goreu i'w helpu i wneyd y swm gofynol i fyny. Ymbarotodd Modryb Clöe i gychwyn y boreu dranoeth gyda Sam, yr hwn oedd yn myned i lawr i Louisville ar neges dros ei feistr. Ysgrifenodd George Shelby lythyr caredig at F'Ewythr Tomos, i'w hysbysu o'r peth hwn a phobpeth arall perthynol i'r teulu; a sicrhâi iddo nad pell oedd y dydd y deuai ef i'w bwrcasu, a'i ddwyn yn ol i fynwes ei deulu.

Derbyniodd F'Ewythr Tomos lythyr George yn ei amser priodol. Yr oedd wedi ei ysgrifenu mewn llaw eglur, fel y gallai Tomos ei hun ei ddarllen; a mawr y dyddanwch a barai i'r creadur syml-ddiniwed. Ni chaffai ei lygad byth ei ddigoni drwy edrych arno; ac ymgynghorai âg Efa am ei gylchedu, a'i hongian i fyny yn ei ystafell; ond yr anhawsdra oedd ei fod wedi ei ysgrifenu ar ddau du y llen bapyr, fel na allai ond rhan o hòno fod yn y golwg.

Yr oedd cyfeillgarwch Tomos ac Efa yn cynnyddu fwyfwy bob dydd. Yr oedd yn anhawdd dweyd beth oedd natur ei deimladau ef tuag ati. Efe a'i carai fel rhywbeth tyner, breuol, a daearol; ac efe a'i parchai fel rhywbeth nefol a dwyfolaidd. Efe a syllai arni fel y sylla y morwr Italaidd ar ei ddelw o'r plentyn Iesu—gyda chymysg deimladau o barchedigaeth a serch; a'i hyfrydwch penaf ydoedd boddio pob whim blentynaidd o'r eiddo hi. Os i'r farchnad, neu i ba le bynag yr elai, edrychai am ryw beth i ddyfod gydag ef adref i'w hanrhegu hi; ac ni fyddai dim mor foddhaol ganddo a'i gweled hi yn ei ddysgwyl adref, a'i chlywed yn gofyn, "Wel, F'Ewythr Tomos, beth sydd genych i mi, heddyw?"

Ac nid llai awyddus ydoedd hithau i foddhau Tomos chwaith. Er nad oedd ond plentyn, yr oedd yn gallu darllen yn rhagorol. Ei chwaeth goeth, a'i chydymdeimlad bywiog â'r hyn fyddai ardderchog a mawreddus a'i gwnelai y fath ddarllenydd o'r Beibl, na chlywsai Tomos erioed ei chyffelyb. Ar y cyntaf, darllenai yn unig er mwyn boddhau ei chyfaill; ond cyn hir, taflai ei chalon ddifrifol ei llinynau tyner allan, y rhai a ymglyment yn dynion o amgylch y llyfr rhyfedd hwnw; a charai Efa ef am ei fod yn cynhyrfu teimladau a dymuniadau cryfion a dyeithrol, o'r fath ag a gâr plant athrylithgar eu teimlo a'u mwynhau.

Y rhanau o'r ysgrythyr a dynent ei sylw yn benaf, oedd llyfr y Dadguddiad a'r prophwydoliaethau, rhanau y byddai eu des-

grifiadau rhyfeddol, a'u hiaith gyffrous, yn cynhyrfu ynddi awydd am wybod y meddwl—teimlai hi a Tomos yn gyffelyb uwch eu penau. Yr oll a wyddent ydoedd, eu bod yn lleiaru am ogoniant i gael ei ddadguddio—rhywbeth rhyfedd i ddyfod, yn yr hyn y llawenychai eu heneidiau; ond na wyddent yn y byd paham. Nid yw yr hyn na ellir ei ddeall mewn gwyddoniaeth foesol, yn hollol anfuddiol bob amser, er ei fod felly yn yr un anianyddol. Deffry yr enaid, fel dyeithryn ofnus, megys rhwng dau dragywyddoldeb tywyll—y tragywyddoldeb a fu, a'r tragywyddoldeb a ddaw. Tywyna y goleu ar gylch bychan oddeutu yr enaid; gan hyny ymestyna yntau mewn awyddfryd tuag at yr anadnabyddus; ac y mae i'r lleisiau a'r drychiolaethau cysgodol a'i cyfarchant o golofn gwmwl ysbrydoliaeth, bob un o honynt, adseiniau ac atebion yn natur ddysgwylgar yr enaid ei hun. Y mae ei edrithion cyfrinol yn gynnifer o swyn-eilunod, a gemau wedi eu hargraffu mewn geirnodau anadnabyddus iddo; ond efe a'i ceidw yn ei fynwes, mewn dysgwyliad y bydd yn alluog i'w darllen a'u deall, pan elo y tufewn i'r llen.

Un hwyr Sabboth, yr oedd Tomos ac Efa yn eistedd mewn deildŷ yn ngwaelod yr ardd, pan y disgynai pelydrau yr haul ar ei fachludiad ar y llyn eang, oedd yn gorwedd o'u blaenau. Yr oedd gruddiau y llyn megys wedi eu hamwrido, a'r olygfa yn ogoneddus o brydferth. Yr oedd Beibl Efa yn agored ar ei glin, a darllenai y geiriau, "Ac mi a welais megys môr o wydr, wedi ei gymysgu â thân."

"Tomos, ebe hi, yn ddisymmwth, gan ymattal, a phwyntio at y llyn—dyna fo."

"Pa beth, Miss Efa?"

"Ai ni welwch ef—yna—dyna 'y môr gwydr wedi ei gymysgu â thân.'"

"Digon gwir, Miss Efa, ebe Tomos, a chanai Tomos—

"Adenydd bore wawr, pe cawn,
I Ganaan dir ehedeg wnawn,
A'r mwyn angelion dysglaer cu,
A'm dygent i'r Gaersalem fry."

"Yn mh'le yr ydych chwi yn meddwl y mae y Jerusalem Newydd hòno, F'Ewythr Tomos," ebe Efa.

"O, i fyny tuhwnt i'r cymylau, Miss Efa."

"O! yr wyf yn meddwl y gwelaf hi," ebe Efa. "Edrychwch i'r cymylau acw. Y maent yn ymddangos fel pyrth mawrion o berlau, ac mi ellwch weled tudraw iddynt yn bell—bell draw—y mae yn aur i gyd. Tomos, cenwch am yr ysbrydion dysglaer."

Canai Tomos yr hen emyn Methodistaidd adnabyddus:—

"Mi welaf lu o ysprydion pur,
Yn y gogoniant draw,
A'u gwisg yn ddifrycheulyd wen,
A'r palmwydd yn eu llaw."

"F'Ewythr Tomos, mi gwelais i nhw," ebe Efa.

Nid oedd gan Tomos yr ammheuaeth lleiaf o hyny; ac nid oedd yn peri un syndod yn y byd iddo. Pe buasai Efa yn dweyd wrtho iddi hi fod yn y nefoedd, buasai yn ystyried hyny yn beth eithaf credadwy.

"Y mae yr ysbrydion hyny yn dyfod ataf yn fy nghwsg weithiau," ebe hi; ac ymddangosai ei llygaid mewn syfrdandod, a hymiai mewn tôn ddystaw,—

"A'u gwisg yn ddifrycheulyd wen,
A'r palmwydd yn eu llaw."

"F'Ewythr Tomos," ebe hi. "Yr wyf fi 'n myned yno!"

"I bl'e, Miss Efa?"

Cyfodai y plentyn a dyrchafai ei llaw fach i fyny; a sefydlai ei golygon treiddgar ar y ffurfafen.

"Yr wyf yn myned acw," ebe hi, "at yr ysbrydion dysglaer, Tomos—yr wyf yn myned cyn bo hir."

Teimlai yr hen galon ffyddlawn ergyd ddisymmwth; a meddyliai fel yr oedd wedi dal sylw yn fynych o fewn ystod chwe' mis, bod dwylaw bychain Efa yn myned yn deneuach a dysgleiriach, a'i chroen yn dynerach a dysgleiriach, a'i hanadl yn fyrach; ac fel y byddai wrth chwareu a rhedeg ar hyd yr ardd, fel y gallai o'r blaen wneyd am oriau, y byddai yn ddiweddar yn diffygio ac yn blino yn fuan. Clywsai Miss Ophelia yn fynych yn son am beswch oedd arni, na allai ei holl gyffuriau mo'i symud; a bod ei llaw a'i hwyneb yn awr yn llosgi gan dwymyn; ond eto nid oedd y meddwl a awgrymasai geiriau Efa erioed wedi ei daro hyd yn awr.

A fu erioed y fath blentyn ag Efa? Do, fe fu; ond y mae eu henwau bob amser i'w cael ar y beddfeini; ac y mae eu gwenau hawddgarol, eu llygaid nefolaidd, eu geiriau a'u troion hynod, yn mysg trysorau cuddiedig calonau hiraethus am danynt. Yn mha gynnifer o deuluoedd y cewch glywed y chwedl, nad ydyw holl ragoriaethau a phrydferthion y rhai byw, yn ddim oll i'w cymharu â doniau a swynion *yr un sydd wedi myned.* Y mae fel pe byddai gan y nefoedd ryw liaws neillduol o angelion, swydd y rhai ydyw ymdeithio yma am dymmor, i swyno serchiadau y galon ddynol, fel y gallont ei chludo i fyny gyda hwy yn eu ehediad tuag adref. Pan weloch y goleuni dwysysbrydol hwnw yn y llygaid; pan glywoch yr enaid bychan yn dadguddio ei hun mewn geiriau melusach a doethach na geiriau plant yn gyffredin, na feithrinwch y gobaith y cewch gwmni y plentyn yna yn hir; oblegid y mae nod y nefoedd arno, ac y mae goleuni anfarwoldeb yn pelydru allan o'i lygaid.

Felly Efa anwyl, seren ddysglaer dy breswylfod; yr wyt tithau yn myned ymaith; ond nid ydynt hwy, y rhai sy 'n dy garu yn anwyl, yn deall hyny.

"Wel, James bach," ebe F'Ewythr Robert, "dene ddigon, dene ddigon, hen ddigon, a mwy na digon. 'Rydw i methu dal es meityn. Yr oedd pob gair yn myn'd i nghalon i, yn disgin fel dafne poethion, y naill yn boethach na'r llall, ar ol 'u gilydd, acyn llosgi i fewn yn is is, nes tydw i'n teimlo nghalon wedi toddi'n llymed; a mi ddymunwn pe gallwn i 'u wylo hi allan yn ddagre heilltion bob dyferyn o honi hi, a boddi ff' hunan o'r byd yma yn y nagre. Oes, y mae pethe wel ene 'n bod—nid dychymig ydi o! 'Roedd un bachgen bach ddaru ni gladdu, rwbeth yn debig iawn i'r 'sgrifiad ene, mae chwe' blynedd a deigen er hyny; ond mae o o flaen y meddwl i heno, wel tase fo chwedi cymryd lle ddoe ddwaetha. 'Doedd o mor pump oed pen fu o farw; a mi 'roedd rhwbeth yntho fo yn od i blant erill, pen oedd o'n faban dwyflwydd oed, a mi fydde llawer un yn deyd wrth sylwi arno fo, fydd y plentyn yma ddim byw 'n hir, gewch chi weled; a mi fyddwn ine yn ddig wrthyn nhw. Mi ddaru ni gladdu y pedwar erill yn blant bach; ond 'roedde ni wedi meddwl y cowsen ni o. O! fedra i ddim deyd i chi 'r sgwrsus fydde gyntho fo am y nefoedd a Iesu Grist, a'i 'ngylion, a'r seintie. Mi fedri di ddeyd, Elin, rw bennillion fydde gyntho fo; a sut y bydde fo 'n siarad efoth di."

"Yr oeddwn innau yn meddwl am Johni bach er's meityn," ebe Modryb Elin. "Yr oedd marc y nefoedd arno er yn blentyn bach. Mi ddysgodd ddarllen rywsut yn ddiarwybod i ni; a mi fyddai yn chwilio yn wastad am bennillion am y nefoedd, yn yr hen lyfr *hymns* yma. A chan agoryd yr hen lyfr, a dodi ei gwydrau, troai at rai o hoff bennillion y plentyn. "Mi a'i gwelais ef, un tro," ebe hi, "â'i fys bach ar y pennill yma, a'i lygaid gloewon yn serenu arno, a galwodd arnaf, 'Mami, mami, dyma fo—mae hwn yn well na'r tegan chwareu o'r hanner; mae o'n bropach na rhosyn coch.' Y pennill oedd hwn:—

'Fe 'm ganwyd i lawenydd uwch,
Nag sy 'n mhleserau 'r llawr,
I gariad dwyfol, gwleddoedd pur,
Angelion nefoedd fawr.'

'Mae arna i eisio myn'd i'r nefoedd fawr at yr angelion, mami,' meddai, 'sut yr ä i, mami? Newch chi gyru ono, am i'r 'ngylion ddwad i 'nol i. Mi neith Iesu Grist i danfon nhw, os gnewch chi geisio gyntho fo; deydwch chi wrtho fo fod arna i hireth am ddwad ono ato fo, i gael i wel'd o, a chanu iddo fo, a gwel'd y mrawd a nhair chwaer bach.'

'Wel fy mhlentyn bach i,' meddwn innnau, 'wyt ti am fy ngadael i a dy dad ar ol, i hiraethu ac wylo am danat?'

'O, mi gewch chi ddwad ar f'oli, wyddoch,' meddai yntau. 'I be na i 'naros yma; ond dyma fel y mae 'r pennill yn deyd:—

'Fe'm ganwyd i lawenydd uwch
Nag sy mhleserau 'r llawr.'

"Dranoeth mi a'i cariais ef allan i'r cae i roi tro; a mi welodd ehedydd yn codi, ac yn esgyn dan ganu; a mi safodd, â'i lygaid i fyny yn dal sylw arno: yr oeddwn ychydig oddiwrtho ar y pryd, a mi alwodd arna i, 'Mami, mami, dacw un o'r angelion yn myned adre dan ganu, i'r nefoedd fawr 'rwan. Galwch arno fo ddwad yma i nol i. Glowch chi—glowch chi—be mae o'n ganu?—

'Fe'm ganwyd i lawenydd uwch
Nag sy mhleserau 'r llawr.'"

"Aderyn bach ydyw hwn acw, mhlentyn i," meddwn innau. "Mi ddaw yn ei ol yn union; ar hyn, disgynai yr ehedydd ar y ddaear ger llaw. 'O taswn i'n medru hedeg fel fo, ddaethwn i ddim yn fy ol,' ebe fe.

"Yn fuan iawn ar ol hyn, fe'i cymerwyd o'n glaf; ac er nad oedd fawr o *harm* arno yn y dechreu, mi gredais, o'r fynyd gyntaf y dechreuodd gwyno, ei fod yn cychwyn i'r wlad hòno ag yr oedd ei galon bach wedi ei dirgel swyno i'w charu a'i dymuno. Mi fyddai raid i mi ddarllen am Iesu Grist, y nefoedd, a'r angelion, iddo o'r Beibl yn barhaus.

"Un diwrnod, yr oedd yn eistedd yn ei gader fach, â'r llyfr *hymns* ar ei lin, fe dorodd i wylo yn ddwys; a phan ofynais iddo beth oedd yr achos, fe atebodd, 'Yr *hymns* yma sy'n codi hiraeth arna i am fyn'd i'r nefoedd fawr—dyma nhw—gnewch i darllen nhw yrŵan i mi, mami.'

"Y rhai yma oeddynt:—

'Maent wedi llwyr anghofio 'nawr
Eu nythod is y rhod,
Ac y mae harddwch daear fawr,
Megys pe ba'i heb fod.

'Does un genfigen ddaw i blith
Y dyrfa hyfryd fry,
A dim ond nefol faith fwynhau,
O gariad Iesu cu.

'Does neb â hiraeth am un ffrynd
Adawodd is y rhod;
Ond maent yn canu i'r Oen ymhlith
Cyfeillion goreu 'rioed.

Wedi anghofio 'r groes a'r gwae,
A thristwch anial dir;
Ac heddyw 'n yfed cariad rhad,
Fel afon loew glir.

Mae hiraeth trwyddo 'i am fwynhau
Trysorau 'r nefoedd ddrud;
Ac 'gallo 'm hysbryd fyn'd o wae,
Blinderau 'r anial fyd.'

'Iē dene nhw,' meddai efe; 'a dyna sy arna inne hiraeth am fyn'd i'r nefoedd. 'Run lle ydi 'r nefoedd fawr a'r nefoedd ddrud, onte mami?' ebe fe drachefn, ar ol bod yn ddystaw am enyd.

'Ië, fy mhlentyn,' meddwn inne, 'be 'naeth i ti ofyn fel ene?'

'Y nefoedd fawr sy'n y pennill arall, a'r nefoedd ddrud yn y dwaetha ene; a mi 'roedd arna i eisio gwybod, os does dwy, prun ai yn y nefoedd fawr ai 'r nefoedd ddrud y mae Iesu Grist—i hòno lle mae o'n byw 'roedd arna i eisio myn'd.'

'Wel, y mhlentyn bach i, ni welaist ti erioed mo Iesu Grist. meddwn innau; a sut y mae arnat ti gymaint o awydd i fyned ato?'

'Am fod yn dda gin i o,' oedd yr ateb.

'Wel, ai nid ydyw yn dda gen ti fi a dy dad, gan dy fod am fyned a'n gadael ni?'

'O ydi, mae 'n dda gen i chi yn y nghalon; ond mae 'n well gen i Iesu Grist o lawer—newch chi ddim digio wrtha i am hyny, —newch chi, mami?'

'O! na wnawn, na wnawn! Ond y mae arnaf ofn nad wyt yn deall fawr iawn am y nefoedd, fy mhlentyn,' meddwn i.

'O, mi ga ddyall am dani hi ddigon ar ol myn'd ono, mami; ac eisio myn'd i gael dyall a gwbod sy arna i. Ddalltwn ni fawr ddim byd byth am dani hi, 'tawn i 'naros yma.'

'Wel, wyt ti ddim yn cofio y rhan hòno o weddi 'r pader, 'Gwneler dy ewyllys ar y ddaear.' Beth os ewyllys yr Arglwydd yw i ti fyned yn hen, mi ddylet fod yn foddlawn i'w ewyllys ef.' Tarawodd hyn ef yn fud am dipyn.

'Dylwn—dylwn—fod yn foddlon i'w 'wyllys ef, ond 'tase fo'n 'wyllysio i mi fyw i fyn'd yn hen, fase fo ddim yn gadel i mi ddymuno marw a chael myn'd i'r nefoedd, fel 'rydw i.'

"Methais a'i holi ymhellach; yr oeddwn wedi fy nharo â rhyw gymysg deimladau o syndod, o dristwch, o lawenydd, a diolchgarwch, fel na fedrwn y pryd hwnw, ac na fedraf y pryd hwn, na byth, eu desgrifio. Yr oedd y plentyn fel pe buasai dan ryw radd o ysbrydoliaeth; neu, yr oeddwn i yn meddwl hyny yr amser hwnw, ac yr ydwyf yn meddwl hyny eto.

"Parhau i nychu a gwaelu a wnaeth fy anwyl John, fodd bynag. Un diwrnod pan oeddwn wrth erchwyn ei wely, ac yn wylo, efe a graffodd yn ddwys arnaf, ac a ddywedodd, â gwên ar ei enau, 'O wraig, paham yr wyt ti yn wylo?' Yr oeddwn wedi darllen y bennod lle y mae y geiriau hyn, iddo y boreu hwnw. Ni allaf byth ddarlunio yr hyn a deimlais gydâ'r geiriau—symudwyd fy holl ofid, a'm galar, a'm pryder ar unwaith, a daeth geiriau eraill gyda rhyw oleuni rhyfedd i'm meddwl—yr adnod hòno—'Fel hyn y dywed yr Arglwydd, attal dy lef rhag wylo, a'th lygaid rhag dagrau; ac y mae gobaith yn

dy ddiwedd y dychwel dy blant i'w bro eu hun.' Credais fod fy anwyl blentyn yn cyflymu tua ei fro ei hun; nad yma gyda ni oedd ei fro gartrefol—ei fod wedi ei

'Eni i lawenydd uwch
Nag sy mhleserau 'r llawr,'

fel yr oedd ei bennill bach yn dweyd: ond yn fy myw, ni allaswn beidio wylo er hyny; ond yr oeddwn bellach yn wylo o lawenydd a diolchgarwch, yn hytrach nag o dristwch a gofid; ac yr oeddynt yn

'Ddagrau melus iawn.'

'Ydach chi ddim yn anfodlon i mi gael myn'd at Iesu Grist, ydach chi, mami?' ebe fe yn y man.

'O! nac ydwyf fy anwyl!' ebe finnau.

'Nag ydach, nag ydach,' ebe fe, drachefn. 'Ond toeddech chi 'n deyd wrtha i rw ddiwrnod, y dylaswn i fod yn fodlon i fyw i fyn'd yn hen, os hyny oedd 'wyllys yr Arglwydd; os felly, mi ddylech chi fod yn fodlon i mi gael marw 'rwan, os 'wyllys yr Arglwydd ydi hyny; rhaid i chithe gofio 'r pader, mami, a'i ddysgu o i chi'ch hunan, fel daru chi 'i ddysgu o i mi.'

'Ydach chi 'n cofio,' ebe fe wed'yn, 'fel 'roeddech chi 'n darllen i mi un diwrnod am Iesu Grist yn derbyn plant bach i'w freichiau; a mi 'roeddech chi 'n deyd fod Iesu Grist yn ffond iawn o blant bach; a'i fod wedi deyd fod teyrnas nefoedd yn eiddo iddyn nhw: mi 'rydw inne yn trystio yn y peth a ddeydodd o. 'Run un ydi o 'rwan yn y nefoedd ag oedd o pen oedd ar y ddaear; a hwyrach y ca inne fyn'd ar i fraich o, ne ar ei lin o pen ä i i'r nefoedd. O, tybed y gnae o ddigio wrtha i tawn i yn rhoi nwylo am i wddw fo! Dw' i'n siwr i fod o'n caru gwel'd plant bach yn y nefoedd, yn gystal ag roedd o'n caru eu gwel'd nhw ar y ddaear.'

"Yr oedd ambell i syniad plentynaidd fel ene i'w gael ganddo weithiau. Llawer o ymddyddanion cyffelyb fu rhyngom ni. Yn y nefoedd yr oedd ei feddwl a'i fryd o hyd, nes aeth o yno; a'r peth dwaetha ddeydodd o oedd peri i mi a'i dad frysio yno ar 'i ol o, y bydde fo 'n dysgwyl am danom ni. 'Dysgwch chwi nhad sut i ddyfod yno,' ebe fe, 'peidiwch chwi a dyfod ono hebddo fo.'"

"'O enau plant bychain a rhai yn sugno y peraist nerth, o achos dy elynion, i ostegu y gelyn a'r ymddialydd,'" ebe Mrs. Harris. "Y mae pethau fel yna yn ddigon i ddelwi *infidel*, er y gall o chwerthin am eu penau hwy fel ffol bethau, wrth ddarllen am danynt; ond pe ceid o i'r fan a'r lle, i fod yn dyst o honynt ei hunan, byddent yn rhy gryfion iddo. Mi welais hanesion am y rhai cletaf o honynt yn methu dal o flaen geiriau ac appeliadau plant o'r fath yna."

Yr oedd F'Ewythr Robert yr holl amser hwn a'r dagrau yn rhedeg yn aberoedd heilltion, yn enwedig pan grybwyllodd Modryb Elin am y siars a roddai y plentyn arni i ddysgu ei dad pa fodd i fyned i'r nefoedd, ac i ofalu nad elai hi yno hebddo; ond ceisiai ymattal a chuddio ei deimladau hyd y gallai, ond yr oeddynt yn rhy gryfion iddo: ond ni chymerai neb arnynt eu bod yn sylwi arno, ond yr hen gi ffyddlawn, Tobit, yr hwn wrth glywed swn wylofus ei hen feistr, a gyfodasai o'i orweddle, ac a eisteddai gyferbyn ag ef, a chan edrych yn ei lygaid, a gwynai yn ofidus dros ben.

"'Delli di ddim gwbod—a dyallt—peth—wel hyn—Tobi bach," ebe yr hen ŵr, "gorfedd i lawr."

Yr oedd hyny yn llawn ddigon i dawelu Tobit, a gorweddai i lawr yn y fan.

"Wel, dos ymlaen, James bach, bellach," ebe F'Ewythr Robert; "mi alla i wrando 'rwan, ar ol y gafod ddagre ene, 'rydw i'n disgwyl."

Fel y crybwyllwyd o'r blaen, ebe James, Yr oedd Miss Ophelia wedi dal sylw a deall fod rhyw afiechyd peryglus wedi ymaflyd yn nghyfansoddiad Efa, a chrybwyllai yn fynych wrth ei thad am dani, ond ni fynai efe gredu y fath beth; eto yr oedd ei galon yn crynu ac yn gwanegu o'i fewn gan ofnau am dani. Gwnai bob ymdrech i'w berswadio ei hun a Miss Ophelia i gredu, nad oedd dim yn beryglus yn ei hafiechyd; nad oedd y peswch ond peth cyffredin; ei bod yn tyfu yn o brysur, ac o herwydd hyny, yn wanaidd. Y peth a suddai ddyfnaf i'w galon ydoedd, addfedrwydd anarferol meddwl a theimladau y plentyn, y rhai a ymddangosent fel ar gynnydd cyflym bob dydd. Tra yr oedd o hyd yn arddangos tymher ac anian plentyn, eto hi a ollyngai allan yn ddiarwybod iddi hi eiriau a amlygent y fath gyrhaedd-dra meddwl, a rhyw ddoethineb annaearol, fel yr ymddangosent yn debyg i eiriau ysbrydoliaeth. Teimlai St. Clare ar y prydiau hyny ryw iasau disymmwth yn myned trosto, a gwasgai hi i'w fynwes, fel pe gallasai ei chofleidio felly ei chadw yn ei feddiant, ac ymgyfodai ei galon fel mewn penderfyniad poethlyd i gadw gafael arni, rhag iddi byth ddianc oddiarno.

Yr oedd holl galon ac enaid y plentyn fel wedi eu llyncu i fyny mewn gweithredoedd o garedigrwydd a chymwynasgarwch. Yr oedd yn garedig o anian bob amser, ond yr oedd rhywbeth hynod o feddylgar i'w weled ynddi yn awr, o dyniad sylw pawb. Yr oedd eto yn hoffi chwareu gyda Topsi, a'r plant negroaidd eraill, ond ymddangosai weithiau yn fwy fel edrychydd nag fel un a gyfranogai yn y chwareuon; ac eisteddai am yspaid hanner awr, gan chwerthin am ben campau Topsi,—ac yna drachefn gwelid megys cysgod yn myned tros ei hwyneb, a dwysder yn ei llygaid, a byddai ei meddwl yn rhywle ymhell.

"Mama," ebe hi yn sydyn wrth ei mam un diwrnod, "Paham na ddysgem ni i'n gweinidogion ddarllen?"

"Y fath gwestiwn! blentyn, nid oes neb byth yn gwneyd."

"Wel, paham nan ydynt yn gwneyd?" ebe Efa."

"Am nad yw o un dyben yn y byd iddynt fedru darllen. Fydd o ddim yn un help iddynt i weithio yn well, a ni wnaed mo honynt hwy i un pwrpas arall."

"Ond hwy a ddylent ddarllen y Beibl, mama, i wybod ewyllys Duw?"

"O! mi allant gael eraill i ddarllen iddynt gymaint a fydd arnynt eisieu."

"Ymddengys i mi, mama, mai llyfr ydyw 'r Beibl i bob un i'w ddarllen iddo ei hun. Bydd arnynt eisieu ei gyfarwyddyd yn aml, pan na fyddo neb i'w gael i ddarllen iddynt."

"Efa, yr ydych yn blentyn rhyfedd!" ebe ei mam.

"Y mae Miss Ophelia wedi dysgu Topsi i ddarllen," ebe Efa drachefn.

"Ydyw, ac yr ydych yn gweled faint o les y mae yn wneyd iddi. Topsi ydyw 'r creadur gwaethaf a welais i erioed."

"Dyma Mami, druan," ebe Efa, "y mae hi yn caru y Beibl mor fawr, ac mor fawr y dymunai hi allu ei ddarllen! A beth a wna hi, pan af i fethu ei ddarllen iddi?"

Yr oedd Marie yn brysur yn trin cynnwysiad rhyw ddrôr, fel yr atebai,—"Wel, wrth gwrs, o dipin i beth Efa, chwi gewch bethau eraill i feddwl am danynt, heblaw darllen y Beibl o gwmpas i'r gweinidogion, nid am nad yw hyny yn beth digon priodol; mi a'i gwneuthum fy hun, pan oeddwn yn iach. Ond pan ddeloch chwi i ddechreu gwisgo, a myned i gwmpeini, ni chewch amser i wneyd fel yr ydych yn awr. Edrychwch yma," ebe hi. "Yr wyf am roddi y gemau hyn i chwi, pan ddeloch i oed. Gwisgais i hwy pan aethum i'r *ball* y tro cyntaf, ac yr wyf yn dyweyd i chwi Efa, i mi dynu sylw anghyffyedin."

Cymerai Efa y blwch gemau, a chyfodai wddfgadwyn ddiamwnd. Yr oedd ei llygaid mawrion meddylgar yn edrych arnynt, ond yr oedd yn amlwg bod ei meddwl ar rywbeth arall.

"Mor sobr syn yr ydych yn edrych, blentyn!" ebe Marie.

"A ydyw y rhai 'n yn werth llawer iawn o arian, mama?"

"Debyg iawn eu bod: anfonodd eich tad i Ffrainc am danynt. Y maent yn werth etifeddiaeth weddol."

"Mi a ewyllysiwn eu cael," ebe Efa, "i wneyd y peth a fynwn â hwy."

"Beth a wnaech â hwy."

"Mi a'u gwerthwn, ac a brynwn dir yn un o'r taleithiau rhyddion, ac a gymerwn ein gweinidogion yno, ac mi a gyflogwn ddysgawdwyr i'w haddysgu i ddarllen ac ysgrifenu."

Torwyd ar stori Efa gan chwerthiniad ei mam.

"Codwch west-ysgol (*boarding school*). Ai ni ddysgech iddynt chwareu ar y *piano*, a phaentio ar *velvet?*"

"Mi a'u dysgwn i ddarllen eu Beibl eu hunain, ac ysgrifenu eu llythyrau eu hunain, a darllen y llythyrau a anfonid atynt," ebe Efa. "Mi a wn, mama, ei bod yn bur galed ar y rhai na allant wneyd y pethau hyn. Y mae Tomas yn teimlo hyny, a Mami hefyd; a llawer iawn o honynt yr un modd. Yr wyf fi yn meddwl ei fod yn gam â hwy."

Byddai gan Marie yn wastad gur yn y pen wrth law, ar gyfer pob ymddyddan na fyddai yn boddio ei harchwaeth; ac ebe hi, —"Dowch, dowch, Efa; nid ydych chwi ond plentyn, ac ni wyddoch chwi ddim yn y byd am bethau o'r fath; ac heblaw hyny, y mae eich siarad yn codi cur yn fy mhen i."

Llithrodd Efa ymaith ar hyny; ac aeth i roddi gwersi darllen i Mami.

"Ni a'i gadawn yn y fan yna heno," ebe James.

"Fydd y beth anwyl ene ddim yn hir, 'rydw i'n gwel'd yn blaen ddigon," ebe F'Ewythr Robert. "Mae hi 'n addfedu i'r bedd, ac i'r nefoedd yn brysur iawn. Mi 'roedd hi'n flodeuyn rhy *dender*, a rhy glws, i fod yn hir yn awyr y ddyar yma, heb wywo."

"Felly yr oedd hi," ebe Mrs. Harries. Y mae haneswyr yn dyweyd fod rhyw dalaeth yn Arabia mor llawn o lysiau peraroglus, fel pan fyddo'r gwynt yn chwythu drosti tu a'r anialwch, y bydd nerth y peraroglau yn lladd rhyw fath o fwystfilod. Yr oedd awelon y nefoedd yn anadlu weithiau ar y llysieuyn peraroglus yna—Efa; nes y byddai y perarogl bron lladd Marie, druan—byddai cur yn ei phen hi yn union, pan gyfodai arogl myrr, aloes, a chasia, (sef ysbryd cariadlawn, calon addfwyn gymwynasgar, meddylfryd nefol, hynaws, haelfrydig) Efa bach, i'w ffroenau hi. Ysbryd bwystfil oedd ynddi hi, druan; ac yr oedd y perarogl grasol oedd ar Efa bach, yn annyoddefol iddi. Yr oeddwn i'n meddwl er's meityn wrth wrandaw ar ei hanes hi, am hen bennill:—

'Y mae aroglau pur o ras
Megys aroglau'r nef.'"

"Iê," ebe Modryb Elin,—

"Ac nid oes cymhar îs yr haul,
Yn un lle iddo ef."

"Wel, yn wir," ebe F'Ewythr Robert, "'dydw i ddim yn wystwil, mi ddyliwn; mae'n dda gin i'r hogle ene yn y nghalon."

"Mi fyddai yn dda iawn genyf finnau, pe buasai mwy o hono arnoch chwi a minnau," ebe Modryb Elin.

Ac felly terfynodd y cyfarfod hwn.

# NOSON XXIII.

"GAN fod hanes Efa bach mor ddyddorol ac effeithiol," ebe James, ar ddechreu ei adroddiad yr hwyr hwn, "byddai cystal i ni roddi crynodeb lled lawn o'r gweddill o hòno; cawn fyned yn frasach dros bethau eraill. Tua'r amser yr oeddym yn sôn am dano neithiwr, daeth Alfred, brawd St. Clare, a'i fab hynaf, Henric, bachgen tua deuddeg oed, i dalu ymweliad â'i frawd am ddiwrnod neu ddau.

Ni ellid meddwl am olwg mwy prydferth a hynodol, nag oedd ar y ddau frawd o efeilliaid hyn. Yr oedd naturiaeth, yn hytrach na'u cyfansoddi yn gyffelyb y naill i'r llall, wedi dewis eu gwneyd yn hollol wahanol yn mhob ystyr; ac eto ymddangosai bod rhyw rwymyn dirgeledig yn eu huno â'u gilydd mewn cyfeillgarwch anwylach na'r cyffredin. Rhodient gyda'u gilydd fraich yn mraich yn ol ac ymlaen ar hyd rhodfeydd yr ardd. Augustine, â'i lygaid gleision, a'i wallt euraidd, a'i ffurfluniaidd, hydwythig, a'i brydweddion bywiog; ac Alfred, yn llygad-ddu a delweddiad uchelfryd Rhufeinaidd, ac esgeiriau cedyrn, ac ymddangosiad grymus, penderfynol. Yr oeddynt bob amser yn condemnio opiniynau ac ymarferion eu gilydd; ond byth yn tramgwyddo y naill wrth y llall; ond fel yn cael eu swyno a'u llyncu i fyny yn nghymdeithas eu gilydd. Mewn ffaith, ymddangosai fod y gwahaniaeth oedd rhyngddynt yn eu huno a'u gilydd: fel y dyscyrchiad rhwng coliau (*poles*) cyferbyniol yr ehedfaen.

Yr oedd Henric, mab hynaf Alfred, yn fachgen gwych, llygadddu, tywysogaidd yr olwg arno, yn llawn ysbryd a bywiogrwydd; ac ymddangosai ddarfod iddo gael ei swyno gan brydferthion ei gyfnither Efangeline, y moment cyntaf y gwelodd hi.

Yr oedd gan Efa ferlyn bychan mor wyn a'r eira; yr oedd mor esmwyth a'r cryd i'w farchogaeth, ac mor radlon a'i feistres fechan; a dygid y merlyn hwn yn awr i'r neuadd, gan F'Ewythr Tomos, tra yr oedd bachgen gwyn mulatto, tua thair ar ddeg oed, yn arwain merlyn du prydferth, ag oedd ei dad newydd gael o Arabia ar draul fawr, at wasanaeth Henric.

Yr oedd Henric yn falch iawn o'i farch newydd, ac fel y delai ymlaen ac y cydiai yn yr awenau o law ei farchwas bychan, edrychai yn fanwl dros y merlyn, ac ymwisgai gwg ar ei wyneb.

"Beth yw hyn, Dodo; y ci diog genych; ni ddarfu i chwi rwbio a glanhau fy march y boreu hwn."

"Do, Misar," ebe Dodo, yn ostyngedig; "cafodd y llwch yna ar ol dwad o'r stabal."

"Y rascal genych, ceuwch cich safn," ebe Henric, gan godi ei chwip farchogaeth. "Pa fodd y meiddiwch chwi siarad."

Yr oedd y bachgen yn fulatto golygus, prydferth, o faintioli Henric. Yr oedd gwaed y dyn gwyn yn ei wythienau, fel y gallesid deall wrth y chwa o wridiad sydyn yn ei wyneb, a gwreichioniad ei lygaid, fel y ceisiai siarad mewn hunan-ymddiffyniad.

"Misar Henric," ebe fe.

Tarawodd Henric ef ar draws ei wyneb â'i chwip, a chan ymaflyd yn ei fraich, pwysodd ef i lawr ar ei liniau, a baeddai ef hyd nes oedd allan o anadl.

"Dyna i chwi, y ci haerllug—a ddysgwch chwi bellach beidio ateb yn ol pan fyddwyf fi yn siarad â chwi? Cymerwch y ceffyl yn ol, a glanhewch ef yn iawn. Mi a ddysgaf i chwi adnabod eich lle!"

"Misar ifanc," ebe Tomos, "fi 'n meddwl fod o'n myn'd i dd'eyd bod y ceffyl gwedi ymrolio, pen 'roedd fo'n i arwen o o'r stabal; fo mor llawn o wres—dene fel cafodd o'r baw; mi ddaru i mi ydrach 'i fod o wedi 'i lynhau 'n iawn y bore."

"Daliwch chwi 'ch tafod, nes gofynir i chwi siarad!" ebe Henrie, gan droi ar ei sawdl; a rhodiai i fyny y grisiau at Efa, yr hon a safai yno yn ei gwisg farchogaeth.

"Fy anwyl gares," ebe fe, "y mae yn ddrwg genyf, bod y gwesyn pendew hwn wedi eich cadw i ddysgwyl cyhyd. Gadewch i ni eistedd i lawr yn y fan yma ar y fainc, hyd nes y delont. Beth yw y mater? yr ydych yn edrych yn bruddaidd, fy nghares."

"Pa fodd y gallech chwi fod mor greulon wrth Dodo, druan?" ebe Efa.

"Ië, dyna hi, Efa ydi hi, fyth a hefyd," ebe F'Ewythr Robert, "Megis arogle 'r ne," sut oedd un o honoch chi 'n d'eyd neithiwr? —dene bwff o hogle'r ne 'rwan; mi 'roedd hogle uffern ar hanes y chwelff bachgen hwnw, a hogle diffeth iawn ydi o."

"Wel hai, tewch chwithau a siarad mor erchyll am dano fo," ebe Modryb Elin.

"Siarad mor erchill! 'rydw i'n siarad y gwir noeth," ebe 'r hen ŵr. "Ai nid plynhigion y cythrel ydi balchder a chyrlondeb o'r fath ene? a be' sy'n g'neyd cythrel yn gythrel, ond calon a 'gwyddorion wel y rheine? A be sy'n g'neyd dyn yn debig iddo fo, ond y nhw? Ond gad'i ni glowed sut fu hi rhyngthyn nhw wed'yn," ebe fe drachefn, gan droi at James.

"Creulawn? creulawn?" ebe Henric, mewn syndod—"beth ydych yn feddwl Efa anwyl?"

"Ni fynwn i chwi fy ngalw, 'Efa anwyl,' pan y gwnelech fel yna," ebe hithau.

"Fy anwyl gares, nid ydych yn adnabod Dodo. Dyna y ffordd i'w drin; y mae mor llawn o ddyfeisiau a chelwyddau—yr unig lwybr ydyw ei roddi i lawr ar unwaith—peidio gadael iddo agor ei enau; dyna fel y bydd papa yn gwneyd."

"Ond dywedai F'Ewythr Tomos mai dygwyddiad oedd y peth; ac nid yw ef byth yn dyweyd dim ond y gwirionedd."

"Y mae o'n hen *nigger* anghyffredin iawn, ynte?" ebe Henric. "Mi ddywed Dodo gelwydd mor gyflym ag y gall o siarad."

"Yr ydych yn ei yru i dwyllo a dweyd anwiredd, wrth ei drin fel yna," ebe Efa.

"Wel, yn wir, Efa, yr ydych wedi cymeryd y fath *fancy*, fel yr wyf braidd yn eiddigeddus o honoch."

"Ond ddarfu i chwi ei guro ef pan nad oedd yn haeddu."

"O, wel—mi gaiff y gurfa wneyd y tro yn lle rhywbryd arall, pan fo 'n haeddu, heb ei chael. Nid yw ychydig gurfa byth allan o le ar Dodo—y mae yn fath *rascal*, yr wyf yn sicrhau i chwi; ond ni churaf mo hono eto yn eich golwg chwi, os ydyw yn eich trallodi."

Nid oedd Efa yn cael ei boddloni ar hyn, ond ymdrechai beri i'w châr ddeall ei theimladau.

Ar hyn daeth Dodo drachefn gyda y ceffylau.

"Wel, Dodo, chwi a wnaethoch yn lled dda y tro hwn," ebe ei feistr ieuanc, yn lled siriol. Dowch yn awr, deliwch geffyl Miss Efa, tra y byddwyf yn ei gosod ar yr ystarn (*saddle*).

Daeth Dodo ymlaen a safai yn ochr merlyn Efa. Edrychai yn brudd ofidus, ac ôl wylo arno.

Tro'dd Efa at Dodo a phlygai tuag ato, a dywedai, fel y gollyngai yr awenau i'w llaw, "Dyna fachgen, diolch i chwi, Dodo."

Edrychai Dodo i fyny mewn syndod ar y wyneb ieuanc, tirion, prydferth, a rhedodd y gwaed i'w wyneb, a'r dagrau i'w lygaid.

"Dowch yma, Dodo," ebe ei feistr yn awdurdodol.

Neidiai Dodo ymlaen, a daliai yr awenau tra y marchogai ei feistr.

"Dyna geiniog i chwi i brynu *candy* â hi, Dodo," ebe Henric. "Ewch i ymofyn am dano."

A charlamai Henric i lawr yr heol ar ol Efa. Safai Dodo gan edrych ar ol y ddau. Rhoddasai un bres iddo; a'r llall yr hyn oedd arno lawer mwy o'i eisieu—gair tirion caredig mewn dull tirion caredig. Ni buasai Dodo ond ychydig fisoedd oddiwrth ei fam. Prynasai ei feistr ef mewn caeth-ystordŷ, ar gyfrif prydweddoldeb ei wyneb, i gymharu â'r merlyn hoew Arabaidd; ac yn awr yr oedd yn cael ei dori i fewn gan ei feistr ieuanc.

Yr oedd y ddau dad yn edrych ar yr hyn oll a gymerasai le o ben arall yr ardd.

Cochai wyneb Augustine wrth weled Henric yn baeddu Dodo; ond ni wnaeth ond sylwi yn ei ddull diofal bratheiriog arferol. "Y mae yn debyg mai hyn ellir alw yn addysg weriniaethol, Alfred?"

"Y mae Henric yn ysbryd drwg o fachgen, pan fyddo ei waed i fyny," ebe Alfred, yn ddigyffro.

"Y mae yn debyg eich bod yn ystyried peth fel yna yn ymarferiad addysgiadol iddo," ebe Augustine, yn sychlyd.

"Ni allwn wrtho, pe na bawn yn ei ystyried felly. Y mae Henric yn dymhestl bach o beth. Y mae ei fam a minnau wedi ei roi i fyny er's hir amser. Ond wedi y cwbl y mae 'r Dodo yna yn ddiffeithyn perffaith. Ni wna chwipio ddim yn y byd iddo."

"A dyma y modd i ddysgu iddo y wers gyntaf o gatecism gwerinlywodraeth—'Geni pawb dynion yn rhyddion a chydraddol!'"

"Pw!" ebe Alfred, "un o syniadau Ffrengig, ffol, Tom Jefferson. Y mae yn berffaith ffolineb i son am beth fel yna yn ein mysg ni y dyddiau hyn."

"Yn wir, yr wyf yn meddwl ei bod," ebe St. Clare, "ac ystyried fel y mae pethau yn bod yn awr."

"Onid ydym yn gweled yn eglur ddigon," ebe y llall, "nad ydyw pawb dynion yn cael eu geni yn rhyddion a chydraddol; ond yn wahanol iawn i hyny. O'm rhan fy hun, yr wyf yn ystyried mwy na hanner y siarad gweriniaethol yma yn wag dwyll hollol. Y rhai dysgedig, deallus, y cyfoethog, a'r boneddigaidd, a ddylent etifeddu hawliau cyfartal, ac nid y werinos."

"Os gellwch chwi gadw y werinos i feddwl a chredu hyny," ebe Augustine. "Cymerasant hwythau eu tro yn Ffrainc unwaith."

"Wrth gwrs, rhaid eu cadw danodd yn gyson a rheolaidd," ebe Alfred, gan stampio â'i droed, fel pe buasai yn sathru ar rywun.

"Y maent yn ad-dalu yn ofnadwy, pan gaffont gyfle i godi i fyny," ebe Augustine—"yn St. Domingo, er anghraifft."

"Pw!" ebe Alfred, "nyni a gymerwn ddigon o ofal am hyny yn y wlad hon. Rhaid i ni osod ein wynebau yn erbyn yr holl addysg yma, a'r siarad am eu dyrchafu, sydd yn myned o gwmpas. Ni wiw addysgu y werinos."

"Y mae wedi myned yn rhy bell i hyny," ebe Augustine. "Eu haddysgu a wneir, a ni sydd i benderfynu pa fodd y gwneir hyny. Y mae ein trefniant ni yn eu haddysgu, yn farbaraidd ac anifeilig. Yr ydym yn dryllio pob rhwymau dynol, ac yn gwneyd bwystfilod o honynt; ac os byth y cânt y llaw uchaf, ni a gawn brofi hyny."

"Ni chant byth y llaw uchaf," ebe Alfred.

"O'r goreu," ebe St. Clare; "rhowch yr agerdd ar waith; ceuwch i fyny y gwerchyryn (*safety-valve*), ac eisteddwch arni, ac edrychwch yn mha le y byddwch cyn hir."

"Wel," ebe Alfred, "ni a gawn weled. Nid oes arnaf fi ofn eistedd ar y gwerchyryn tra y bo 'r berwyddion (*boilers*) yn gryfion, a'r peiriannau yn gweithio yn dda."

"Tybiai y pendefigion yn amser Louis XVI. yn uniawn yr un fath. A thybia Awstria a Pius IX, fel yna yn awr. Ac hwyrach, ar ryw foreu hyfryd, y byddwch oll yn cael eich hyrddio i gyfarfod eich gilydd yn yr awyr, pan ffrwydra 'r berwyddion."

Chwarddai Alfred ar hyn.

"Dyna un o'ch ffoldybiau Sosialaidd, Augustine," ebe fe. "Pa fodd yn y byd na buasech yn troi allan yn werin-areithiwr, —chwi a wnaethech un rhagorol iawn. Wel, yr wyf yn gobeithio y byddaf fi wedi marw cyn y gwawrio milflwyddiant eich gwerinos seimllyd ar y byd."

"Seimllyd, neu beidio, hwy a'ch meistrolant chwi pan ddelo eu tro," ebe Augustine; "a byddant y fath feistriaid ag y gwnewch chwi hwy tra y maent o dan eich awdurdod. Yr un modd ag y darfu i werin Ffrainc feistroli ar, a thrin ei phendefigion gan fesur yn ol â'r un mesur ag y mesurid iddynt ganddynt. Cofiwch bobl Hayti!"

"O, dowch, Augustine! Aî ni chawsom ddigon ynghylch Hayti adgas ddirmygus yna. Nid Seison oedd yr Haytiaid; onide, pe buasent, cawsem stori arall i'w mynegu. Y Seison ydyw yr hil sydd yn llywodraethu y byd, ac sydd i fod felly."

"Wel, y mae cryn lawer o waed Sacsonaidd yn eu plith hwythau, ein caethion yn awr," ebe Augustine. "Y mae digon o honynt yn eu mysg, y rhai y mae digon o waed Affricanaidd ynddynt yn unig i roddi gwres ac angerdd yn ein natur benderfynol, ochelgar, a chraffus, Sacsonaidd ni. Os byth y daw awr San Domingo, yr hilgerdd Sacsonaidd yn eu mysg a gymerant y flaenoriaeth. Meibion tadau gwynion, a'n holl deimladau uchelfrydig ni yn berwi yn eu gwythïenau, ni fynant ymostwng o hyd i gael eu prynu a'u gwerthu, a'u masnachu fel anifeiliaid. Hwy a godant, a chodant hil eu mamau gyda hwy."

"Pw!—ffiloreg!" ebe y llall.

"Wel," ebe Augustine, "y mae hen ddywediad fel hyn—'Fel yr oedd yn nyddiau Noa, felly y bydd:—Yr oeddynt yn bwyta ac yn yfed, yn planu ac yn adeiladu, ac ni wybuent hyd oni ddaeth y diluw a'u cymeryd hwy oll ymaith.'"

"Peidiwch byth ofni am danom ni," ebe Alfred. "Y mae yr awdurdod genym—y mae yr hiliogaeth israddol hon ar lawr!" eb efe, gan *stampio* â'i droed, "ac i lawr y caiff fod! Y mae ynom ddigon o ysbryd a phenderfyniad i ddefnyddio ein pylor."

"Bydd meibion wedi eu dwyn i fyny yr un fath a'ch Henric chwi, yn rhai gwych i gymeryd gwarcheidiaeth eich ystordai pylor," ebe Augustine, "mor bwyllog a hunanfeddiannol! Dywed y ddiareb:—'Y rhai ni fedrant lywodraethu eu hunain, ni allant lywodraethu eraill.'"

"Y mae drwg yn y fan yna," ebe Alfred yn feddylgar; "y mae yn ddiammhau bod ein trefniant ni yn anfanteisiol iawn i

ddwyn plant i fyny dani. Y mae yn rhoddi gormod o ryddid i'r nwydau o lawer, y rhai yn ein hinsawdd ni ydynt yn boethlyd ddigon wrth natur. Yr wyf yn cael blinder gyda Henric. Y mae y bachgen yn haelfrydig a serchiadol—ond yn danllyd iawn pan gynhyrfer ef. Rhaid i mi ei anfon i'r Gogledd i gael addysg, lle y mae ufudd-dod yn beth mwy defodol nag ydyw yn ein mysg ni, a lle y caiff gymdeithasu mwy â'i gydradd, a llai â'i israddd.

"Gan mai dwyn plant i fyny ydyw gorchwyl pennodol yr hil ddynol," ebe Augustine, "mi a feddyliwn ei fod o werth i ystyried nad yw ein trefniant ni ddim yn gweithio yn dda i'r pwrpas."

"Mewn rhai pethau, y mae yn bod felly," ebe Alfred; "ac mewn rhai pethau eraill, y mae yn ateb y pwrpas yn eithaf. Y mae yn gwneyd bechgyn yn wrolfrydig a dynol; ac y mae llygredigaethau yr hil israddol yn tueddu i feithrin a chryfhau ynddynt y rhinweddau cyferbyniol. Yr wyf yn meddwl yn awr fod Henric yn gweled prydferthwch gwirioneddol, yn fwy, o herwydd ei fod yn gweled fod twyll a chelwydd fel peth anwahanol gysylltiedig â chaethwasiaeth."

"Golwg Gristionogol iawn ar y mater, yn siwr!" ebe Augustine.

"Cristionogol, neu beidio—y mae yn wir; ac y mae mor Gristionogol a'r rhan fwyaf o bethau eraill yn y byd," ebe Alfred.

"Gall hyny fod," ebe y llall.

"Nid yw o un dyben yn y byd i ni siarad, Augustine," ebe Alfred. "Yr ydym wedi bod o gwmpas y mater hwn, o amgylch ogylch, bum cant o weithiau bellach. Beth feddyliech am i ni gael chwareufa tolfwrdd?"

Wedi iddynt eistedd i lawr, a dechreu ar eu chwareufa—

"Yr wyf yn dweyd i chwi, Augustine, pe bawn i 'n meddwl yr un fath a chwi, mi wnawn rywbeth."

"Y mae yn hawdd genyf eich coelio, yr ydych yn un o'r *sort* hono; ond pa beth?"

"Wel, ond dyrchafu eich gweision eich hun, er rhoddi esiampl," ebe Alfred, gyda gwên hanner ddirmygus.

"Byddai yr un peth i chwi osod mynydd Etna ar eu penau, ac erchi iddynt i sefyll i fyny o tano, a dweyd wrthyf fi am ddyrchafu a choethi fy nghaethion, tra y byddo yr holl wlad o amgylch yn dal at y trefniant presennol. Ni all un dyn wneyd dim yn erbyn holl ddylanwad gwladwriaeth gyfan. Rhaid i'r llywodraeth gymeryd yr addysg i'w llaw, cyn y gall wneyd dim; neu rhaid i gynnifer ymuno yn y gwaith, a'i gwnelo yn beth cyffredinol."

"Ac felly y terfynodd eu hymddyddanion ar y mater hwn,"

ebe James; "ac yn awr, pa beth ydych yn feddwl am y ddau frawd?"

"Mae hogle gwahanol iawn ar y ddau ene eto," ebe F'Ewythr Robert. "Mae hogle balchder, ac uchder, a ch'ledwch ar yr Alfred ene; un o blant y byd oedd o beth bynag: ond am y llall, y mae hogle da arno fo 'n wastad."

"Ond nid oedd dim o 'arogle 'r nef,' arno yntau chwaith, yr wyf yn ofni," ebe Modryb Elin; "ond y mae yn ymddangos i mi, ei fod o yn llawer nes i deyrnas Dduw, mewn rhyw ystyr, na'i frawd hefyd."

"Y mae y ddau frawd yna yn cynnrychioli dau ddosbarth o ddynion," ebe Mrs. Harris; "hyny ydyw, o ran eu teimladau a'u tueddiadau—er nad yn aml y cewch ddynion mor goeth a thalentog a'r ddau yna. Ond y mae mwy o Alfreds i'w cael ysywaeth, nag sydd o Augustines. Os ewch i fysg pendefigion a bonedd ein gwlad, chwi a gyfarfyddwch â deg Alfred, am un Augustine; a dynion yn troi yn y cylch hwnw oeddynt hwy. A pheth arall, pe dyrchefid y cyffredin a'r iselradd i'r cyflwr hwnw, troi yn Alfreds wnai y rhan fwyaf o honynt hwythau yn fuan. Y mae plant dynion yn Alfreds wrth natur, rywfodd. Ymddengys dyn fel St. Clare yn fwy hynod a hawddgarol, o herwydd ei fod yn anaml mewn cymhariaeth."

"Be yn y byd sy arnoch chi eisio gin y ddau ddyn ene o hyd?" ebe Cati. "'Does fawr es pen fuoch chi 'n 'u trin, ac yn 'u trafod, ac yn 'u trefnu nhw wel o'r blaen; debic cin i fod arnyn nhw gosi garw o'u trwyne drien, y dyddie yma, 'sydyn nhw 'n fyw."

"Edrych ar y ddau oddiyma draw, yr oeddem y noson hòno," ebe Mrs. Harris; "ond heno, cawsom hwy eill dau gyda'u gilydd o'n blaen, megys, a gwrando arnynt yn ymddyddan y naill gyda'r llall."

"Wel, os cawsoch ddigon o edrych ar y ddau frawd, a'r ddau dad," ebe James, dewch i edrych ar y ddau blentyn—y cefnder a'r gyfnither, am fynyd."

Fel yr oedd y ddau foneddwr yn brysur ar eu chwareuaeth, clywent swn traed y merlynod yn cyflym drotian tua'r buarth.

"Dene 'r plant yn dyfod," ebe Augustine, gan godi ar ei draed. "Edrychwch yma, Alf," eb efe, "a welsoch chwi ddim byd erioed mor brydferth?" Ac yn wir, yr oedd yn olwg brydferth.—Henric, â'i agweddiad eofn, a'i gydynau duon, a'i wynebpryd iachuslon, a chwarddai yn foddgar, gan ymblygu tuag at ei gares brydweddol, fel y delent ymlaen. Yr oedd hi wedi ei gwisgo mewn gwisg farchogaeth las, a chapan o'r un lliw am ei phen. Yr oedd cyffroad y marchogaeth wedi rhoddi lliw ysplenydd i'w gwyneb, yr hyn a ychwanegai at ei phrydferthwch.

"Y nefoedd anwyl! y fath brydferthwch dihafal!" ebe Alfred.

"Mi ddywedaf i chwi beth, Augustine, fe wna hon i galonau rhywrai wanegu cyn hir."

"Y mae hyna yn rhy wir, ysywaeth, y mae arnaf ofn!" ebe St. Clare, mewn tôn athrist, a rhedai i'w derbyn oddiar ei march.

"Efa, f'anwylyd! nid ydych yn flinedig iawn, a ydych?" eb efe, gan ei gwasgu i'w fynwes.

"Nac wyf, tada," ebe hi; ond yr oedd ei hanadliadau byrion, cyflym, yn dychrynu ei thad.

"Paham y gyrech mor gyflym, f'anwylyd? Chwi a wyddech ei fod yn ddrwg ar eich lles."

"Yr oeddwn yn ei hoffi mor fawr, fel y darfu i mi ei anghofio."

Cymerai St. Clare hi yn ei freichiau i'r parlawr, a dodai hi ar y *sofa*

"Henric," eb efe, "rhaid i chwi gymeryd gofal gydag Efa, a pheidio gyru mor gyflym eto."

"Cymeraf fi ofal am dani," ebe Henric; ac eisteddai yn ei hymyl, a chymerai afael yn ei llaw.

Daeth Efa ati ei hun yn fuan. Aeth ei thad a'i hewythr at eu chwareu drachefn, a gadawyd y ddau blentyn gyda'u gilydd.

"A wyddoch chwi, Efa?" ebe Henric, "y mae mor ddrwg genyf nad yw tada am aros ond dau ddiwrnod yma, na fedraf ddweyd i chwi. Ni chaf eich gweled eto dros na ŵyr neb pa bryd. Pe cawswn aros gyda chwi, mi fuaswn yn ymdrechu bod yn dda, a pheidio bod yn groes wrth Dodo, ac felly ymlaen. Nid wyf yn amcanu bod yn frwnt wrth Dodo, ond y mae genyf y fath dymher boethlyd, chwi a wyddoch; ond nid wyf yn ddrwg wrtho mewn gwirionedd, er hyny. Byddaf yn rhoddi ychydig o bres iddo yn awr ac eilwaith, ac y mae yn cael ei wisgo yn dda chwi a welwch. Yr wyf yn meddwl, ar y cwbl, fod Dodo yn lled dda arno."

"A dybiech chwi y byddai hi yn dda arnoch, pe na byddai genych neb ar y ddaear yn agos atoch fyddai yn eich caru?"

"Y fi? wel na wnawn, bid sicr."

"A chwi a gymerasoch Dodo ymaith oddiwrth bob cyfaill a feddai yn y byd, ac yn awr ni fedd un creadur sydd yn ei garu yn agos ato: ni all neb fod yn dda a rhinweddol yn y fath gyflwr."

"Wel, ni allaf fi wrtho, hyd yr wyf yn gweled. Ni allaf gael ei fam, ac ni allaf ei garu fy hun, ac ni all neb arall acw, am a wn i."

"Pa ham nad ellwch chwi?" ebe Efa.

"*Caru* Dodo! Wel, Efa, ni ewyllysiech i mi wneyd. Mi allaf ei *leicio* yn burion iawn; ond nid ydych yn caru eich gweision."

"Yr wyf yn wir," ebe Efa.

"Y mae yn syndod!" ebe Henric.

"Ai nid yw y Beibl yn dweyd y dylem garu pawb?"

"O! y Beibl! Sicr iawn, y mae y Beibl yn dweyd rhyw lawer o bethau cyffelyb; ond wed'yn, nid oes neb byth yn meddwl am geisio eu gwneyd hwy; chwi a wyddoch, Efa, nad oes neb yn gwneyd."

Ni ddywedai Efa ddim; ond edrychai yn synfyfyriol am ychydig enyd.

"Ond beth bynag," ebe hi toc, "fy anwyl gâr, gwnewch garu Dodo druan, a byddwch yn dirion wrtho er fy mwyn i."

"Mi a allwn garu unpeth er eich mwyn chwi, fy nghares anwyl; oblegid yr wyf yn meddwl mai chwi yw y creadur anwylaf a welais i erioed!" Ac yr oeud yn amlwg fod Henric yn traethu ei holl galon wrth ddweyd hyn.

"Y mae yn dda genyf eich bod yn teimlo fel yna, fy anwyl Henric; a gobeithiaf y gwnewch gofio."

Rhoddodd caniad y gloch giniaw derfyn ar yr ymddyddan.

"Ac yma y terfyna fy ngwasanaeth innau heno," ebe James.

"Wel, mi 'rydw i'n gwel'd bod Efa bach yn dechre meistroli a thyneru calon y bachgen balch ffromllyd ene 'n barod," ebe F'Ewythr Robert. "Mi fase 'n 'i foldio fo rwbeth yn debig iddi hi hunan toc, cawse hi dipin o amser hefo fo."

"Y mae yn ddigon tebyg iddi adael argraffiadau ar feddwl Henric, na allodd byth eu gwisgo ymaith yn llwyr," ebe Mrs. Harris. "Y mae 'n anodd genyf goelio y gallai fod byth wed'yn mor frwnt a chreulawn wrth Dodo, ag oedd o'r blaen. Yr oedd eiriolaeth Efa drosto yn beth na allasai Henric byth ei anghofio."

"Dyna beth yw gwneuthur ewyllys Duw," ebe Modryb Elin. "Agor genau tros y mud, eiriol dros druan digymhorth, esmwythau gofidiau y truenus. Mi a ddarllenais, ryw ddiwrnod yn ddiweddar, yn ngwaith Abbott, o'r America,—"Y Gonglfaen," sylw a darawodd fy meddwl yn ddwys iawn. Mae'r llyfr genyf yn y fan yma yn rhywle. Dyma fo; a dyma fel y mae o yn dweyd:—

'Y mae gan Dduw lawer iawn o waith i'w wneuthur yn y byd hwn, ac y mae o amryw fath; a dibyna y gyfran neillduol a ddisgyna i ran pob person ar yr amgylchiadau y mae pob un wedi ei osod ynddynt. Ni ellwch chwi (siarad a phlentyn y mae o) wneyd yn gywir yr hyn a wnaeth Crist pan oedd efe yma; ond chwi a ellwch wneuthur yr hyn a wnaethai efe, pe buasai yn eich sefyllfa chwi. Ni ellwch wneyd dyn dall yn ddedwydd trwy adferu ei olwg iddo; ond gellwch wneyd eich chwaer fach yn ddedwydd, drwy ei chynnorthwyo yn dirion i godi, pan ddygwyddo syrthio i lawr; ac y mae hynyna yn waith eich Tad nefol fel y llall. Ei waith ef yw gwneuthur pawb yn ddedwydd, ac esmwythau gofid pob un. Ni ellwch chwi berswadio tyrfaoedd mawrion o ddynion i garu Duw ac ufuddhau iddo, fel y darfu i Grist; ond chwi a ellwch arwain eich brodyr a'ch chwiorydd i wneyd, drwy eich dylanwad dystaw a'ch esiampl garuaidd. Chwi

a ellwch ddyoddef yn amyneddus, a chymeryd niweidiau yn addfwynaidd; ac fel hyn arddangos y nodwedd yr ewyllysia Duw iddo ffynu yn ein plith. Y goleuni a roddwch fel hyn, ni bydd ond gwanaidd, ac ni lewyrcha ond o fewn cylch bychan o'ch deutu; ond goleuni pur duwioldeb ydyw. Mewn gair, fe fydd er gogoniant Duw; ac os eich amcan ydyw peri i'r goleuni hwn lewyrchu, yr ydych ynghylch gwaith eich Tad mor wirioneddol ag yr oedd Iesu Grist, pan yn pregethu i'r torfeydd, neu yn galw Lazarus o'r bedd. Ië, os bydd i blentyn bach amcanu at wneuthur daioni, trwy wneyd ei rieni, ei frodyr a'i chwiorydd, a'i gydchwarëyddion yn ddedwydd, i' dyben o foddloni Duw, y mae efe yn dilyn esiamplau Iesu Grist.'

Rhyw bethau o natur fel yna ydyw crefydd y Beibl, yn siwr i chwi. Y mae crefyddau o ddychymyg ddynol yn bethau gwahanol iawn. Meddyliwch am grefydd y Pagan, crefydd Mahomet, crefydd y Pab, a chrefydd y Pusey, crefyddau'r penydiau a'r defodau, a'r stumiau, a'r gŵyliau, a'r seintiau, a'r olyniaeth, a'r achau anorphen—a phob peth ffolach na'u gilydd: ac nid aeth plant dynion ddim yn ffyliaid perffaith efo dim byd, ond efo chrefydd. Ac mi fyddaf fi yn synu sut mae synwyr cyffredin y bobl yn dyoddef y Puseyaeth yma sydd ar hyd y wlad, heb chwydu arnynt hwy: byddai yn haws genyf fi ddyoddef hen Eglwys Rufain ei hunan, a'i hoffeiriaid yn chwareu eu coegffoledd, na'r epaod hyn sy 'n ceisio eu dynwared hwy."

"Wel, Modryb Elin," ebe Mrs. Harris, "ni chlywais i erioed mo honoch chwi yn gollwng y rhaff fel yna o'r blaen. Yr wyf fi yn hollol gytuno â phob peth ydych yn ei ddweyd; ond ni fuaswn yn dysgwyl clywed y fath bethau genych chwi."

"Yn wir, ni fydd dim yn fy nghynhyrfu i gymaint ag fydd gweled, a chlywed, a meddwl am bethau, a dynion o'r fath, ac mae 'n ymddangos i mi y byddent yn cynhyrfu ysbryd y Gwaredwr. Y mae 'n rhyfedd genyf os gallant fod mor ffol ac anwybodus, fel na wyddant amgenach pethau eu hunain; ac os nad ydynt, mae yn rhaid eu bod yn ddrygionus i'r eithaf wrth geisio twyllo dynion, fel y maent."

"Wel, y mae yn sicr yn beth rhyfedd, os na wyddant," ebe Mrs. Harris, "â'r Beibl ganddynt i'w ddysgu. Ond peth rhyfedd yw twyll calon dyn; ac yn neillduol twyll offeiriadaeth: am rai fel hyn y dywedodd Paul,—'Drwg ddynion a thwyllwyr a änt rhagddynt waethwaeth, gan dwyllo a chael eu twyllo.'"

"Mor brydferth a syml ydyw crefydd y Testament Newydd!" ebe Modryb Elin. "'Nid yw teyrnas Dduw fwyd a diod; ond cyfiawnder a thangnefedd, a llawenydd yn yr Ysbryd Glân; a'r hwn sydd yn gwasanaethu Crist yn y pethau hyn, sydd hoff gan Dduw, a chymeradwy gan ddynion.' Barn, a thrugaredd, a chariad Duw, ydyw ei phethau trymaf hi; ac nid cadw sŵn ynghylch ein heglwys a'n hurddau, a'n holyniaeth, a'n gŵyliau,

a choegddefodau. Y mae un wreichionen o grefydd yn Efa bach yna yn filiwn mwy ei gwerth na chymaint o grefydd sydd gan holl Buseyaid y ddaear."

"Ond chware teg iddynt," ebe Tomas Harris, "y mae 'n nhwthe yn myn'd i ymweled â'r tlodion, ac yn rhanu llawer iddyn' nhw."

"Ydynt, yn ymlusgo i dai, i ddwyn yn gaeth wragedd llwythog o bechodau, i ennill dysgyblion, i lithio eneidiau anwadal, i ddallwobru cydwybodau," ebe Modryb Elin; "elusen i hudo i'r eglwys ydyw eu helusen hwy. Nid am fod arnynt ofal dros y tlodion, ond am fod ganddynt ryw sel ddall tros yr Eglwys, a'u bod yn casâu Ymneillduaeth ac Ymneillduwyr. Ni chaiff y tlawd na ddelo i'r eglwys, rithin o'u trugaredd hwy; ond mi llwgen o os gallent—tosturi creulawn ydyw eu tosturi hwy. Yr oedd tosturi a theimlad Efa bach yn un rhydd ac eang, tosturi at drueni dyn, fel dyn; ac felly yn debyg i dosturi ein Tad nefol; tra mae'r tosturi arall, yn un Phariseaidd, hunanol, pleidiol, dichellgar—yn gochel malais a thwyll; ac felly erbyn ei chwilio, nid tosturi ydyw. Y mae gwahaniaeth mawr, ond cymeryd pwyll i edrych a sylwi, rhwng peth pur a gwirioneddol, a ffug a rhith o beth."

"Dene i chi 'r *blood* sy'n ffy hen wraig i, pen gaffo hi 'i ch'nyrfu!" ebe F'Ewythr Robert. "Mi feder Neli *scowlio* cystal ag un, ond i rwbeth daro 'r tant hwnw ynthi hi."

"Mi fydda i yn meddwl nad ydyw y Beibl a chrefydd ddim yn gofyn i ni fod yn dyner ac yn esmwyth wrth siarad â thwyllwyr, neu siarad am danynt hwy," ebe Modryb Elin; canys mae y Beibl ei hun yn llefaru yn galetach ac yn arwach am danynt hwy nag am neb arall. Pwy allai siarad yn dyner am haid o ddynion a geisient dwyllo pobl trwy basio arian drwg? neu am grachfeddygon a elont o amgylch y wlad i werthu *drugs* i iachau pob afiechyd yn anffaeledig, a hwnw ddim ond tipyn o *beppermint;* ond y mae twyllwyr felly yn ddiniwed mewn cymhariaeth i'r rhai hyny sydd yn ceisio twyllo eneidiau gyda phethau salach na *pheppermint*, a mwy enbyd fil o weithiau nag arian drwg."

'Wel, wel, y mae Neli 'n cael hwyl ati hi heno," ebe F'Ewythr Robert. "Mi cafodd y *Pusis* hi'n groch! gybeithio y gneith y wers les iddyn nhw, pen ddyrllenon nhw hi!"

"'Drwg ddynion a thwyllwyr, a änt rhagddynt waethwaeth,' F'Ewythr Robert, druan," ebe Mrs. Harris. "Y mae cyflwr y rhai sydd yn 'dweyd celwydd mewn rhagrith,' yr un mwyaf ofnadwy, a mwyaf anobeithiol; 'gan fod eu cydwybod eu hunain megys wedi eu serio â haiarn poeth.' Ond rhaid i ni fyned adref bellach;" ac felly ymadawsant.

# NOSON XXIV.

Un o'r nosweithiau hynotaf yn ei fywyd i F'Ewythr Robert oasai y noson o'r blaen. Yr oedd adroddiad Modryb Elin o anes eu bachgen bach wedi gwneyd argraff ddwys iawn ar ei eimlad. Y gorchymyn a roddasai i'w fam i ofalu am addysgu i dad yn y ffordd i'r nefoedd, a gofalu nad aethai hi yno hebdo, neu ymdrechu ei goreu yn mhob modd i'w ddychwelyd, gydiasai fel saeth adfachog yn ei galon. Ceisiasai ymsirioli ra parhaodd yr adroddiad a'r ymddyddan; ond wedi i deulu Bryn Derwen fyned ymaith, aeth archoll ei fynwes yn fwy olurus. Ychydig o gwsg a gafodd ei lygaid y noson hòno; liangodd ocheneidiau a gruddfanau dyfnion yn ddiarwybod ddo oddiarno. Nid oedd Modryb Elin eto wedi deall natur ei lwy', cfnai ei fod yn sal; a llawer gwaith y gofynodd iddo, beth oedd y mater arno. Ceisiai yntau guddio ei glefyd drwy ddyredyd nad oedd dim, ond ei fod yn methu cysgu. Gwyddai hi 'r goreu fod rhywbeth, ond ychydig a feddyliai pa beth. Pruddaidd a dystaw fuasai trwy y dydd.—Sylwai Cati wrth ei nodryb, na welsai hi erioed mo'i hewythr yr un fath o'r blaen; c yr oedd yn rhywyr gan y ddwy weled teulu Bryn Derwen yn lyfod yno, i edrych a gaffai eu cymdeithas hwy effaith arno er odi a lloni ei feddwl.

Ar yr adeg arferol, daeth James Harris a'i fam i mewn; ymdrechai yr hen ŵr fod mor llon a hoew ac arferol, ond yr oedd 'n methu yn deg ag ymunioni; ond ceir dychwelyd at ei helynt f dro arall, rhaid dilyn James yn adrodd helynt Efa bach, a heulu St. Clare yn bresennol.

Gwnaethai Efa ymdrechion uwchlaw ei nerth tra buasai ei hefnder ieuanc gyda hi, ac wedi i'w hewythr ac yntau ymadael, eimlai yr effeithiau, a nychai a gwanhäai yn gyflym iawn. Gelwid y meddyg i'w gweled. Yr oedd yn anhawdd iawn gan ei had alw am y meddyg, oblegid fod hyny fel yn ei orfodi i addef wirionedd poenus iawn i'w feddwl, sef bod ei anwyl Efa mewn erygl.

Am ei mam, yr oedd hòno wedi ei llyncu i fyny ynddi hi ei unan mor llwyr, fel na feddyliai ddim am neb arall. Ymdrechsai Miss Ophelia lawer gwaith i'w deffro i ystyriaeth o gyflwr eryglus ei phlentyn, ond yn ofer.

"Nid wyf fi yn gallu gweled bod dim o bwys ar y plentyn," neddai, "y mae yn gallu rhedeg o gwmpas a chwareu."

"Ond y peswch," atebai Miss Ophelia.

"Peswch! rhaid i chwi ddim dweyd i mi am beswch. Yr

wyf wedi ac yn cael fy mhoeni gan beswch trwy fy oes. Pan oeddwn yn oedran Efa, yr oedd pawb yn meddwl fy mod yn y darfodedigaeth. Byddai raid i Mami eistedd i fyny gyda mi, nos ar ol nos. O! nid yw peswch Efa yn ddim yn y byd!"

"Ond y mae yn gwanhau, a'i hanadl yn myned yn fyrach!"

"Pw! mi fum i felly flyneddau ar flyneddau; nid yw o ddim pwys."

"Y mae yn chwysu mor fawr yn y nos," meddai Miss Ophelia.

"Wel, yr wyf fi er ys dwy flynedd, yn chwysu y nos, nes bydd fy nillad mor wlybion ag y gallwn wasgu dwfr chwys o honynt. Ni byddai un edaf o'm gwisg nos yn sych, a byddai dillad y gwely mor wlybion, fel y byddai raid i Mami eu crogi i fyny i sychu. Nid yw Efa yn chwysu dim byd yn debyg i hyny."

Rhoddodd Miss Ophelia i fyny am dymmor, ond pan y gwelodd Efa wedi myned yn wael iawn, a'r meddyg wedi ei alw i mewn, cymerodd Marie dôn arall.

Yr oedd hi yn gwybod o'r goreu, meddai, teimlasai bob amser ei bod hi wedi ei diofrydu i fod yr un fwyaf truenus o famau. "Dyma lle yr wyf," meddai, "yn wael ac afiach, ac yn gorfod edrych ar fy anwyl a'm hunig blentyn yn myned i lawr i'r bedd o flaen fy llygaid." A dyna oedd ei gwaith bellach yn ddidaw, achwyn ac udo o herwydd y trueni newydd hwn oedd wedi disgyn arni.

"Marie anwyl! peidiwch a siarad fel yna," ebe St. Clare. "Peidiwch a'i rhoddi i fyny yn hollol ar unwaith."

"Nid oes genych chwi deimladau mam, St. Clare! Ni allasech chwi erioed fy neall i!—ac nid ydych yn awr."

"Ond peidiwch a siarad fel yna, fel pe byddai pob peth drosodd."

"Ni allaf fi gymeryd y peth mor ysgafn ag y gellwch chwi, St. Clare. Os nad ydych chwi yn teimlo pan y mae eich unig blentyn yn y perygl, yr wyf fi. Y mae yn ddyrnod rhy drwm i mi, gyda'r cwbl oeddwn yn ddyoddef o'r blaen."

Yr oedd Marie yn awr yn fwy blin ac anynad wrth bawb ac wrth bobpeth nag erioed; ac nid oedd o un dyben i neb geisio ei thawelu, mwy na thawelu y rhyferthwy. Dygwyddai Efa weithiau glywed sŵn ei hanynadrwydd, a pharai ofid dirfawr i'w meddwl tyner.

Ymddangosai Efa fel yn gwella yn brysur, unwaith, fel y dygwydda yn lled fynych i rai yn y clefyd twyllodrus hwnw. Cododd allan i'r ardd, a chwareuai a chwarddai drachefn; a dywedai ei thad mewn gorlawenydd, y byddai yn fuan mor iached ag un o honynt."

"Be oedd ei mam yn ddeyd am hyny, tybed?" ebe F'Ewythr Robert; "cwyno a thuchan 'roedd hi, wrth wel'd Efa yn debig

i fendio, fel 'roedd hi o'r blaen wrth i gwel'd hi yn debig i farw, bwrach. Mae rhai wel ene yn medrud cael achos i duchan a chwyno oddiwrth bethe da yn gystal a phethe gofidus. 'Roedd raid i ddyn gael synwyr da, a thymer dda, a gras 'taliol garw iawn i fedrud byw hefo dynes o'i bath hi."

"Nid oes dim son am dani hi yn y fan hon," ebe James. Ond fe ddywedir mai Miss Ophelia a'r meddyg oedd yr unig ddau na chawsant eu twyllo i gredu yn adferiad Efa, drwy y llygadyn hwn o adfywiad a fu arni. Yr oedd un galon arall hefyd, medd yr hanes, ag oedd yn teimlo yn gwbl sicr fod y cyfnewidiad mawr gerllaw, a hòno oedd calon fach Efa. Pa beth ydyw y llais hwnw sydd yn llefaru weithiau yn yr enaid, mor ddystaw, ac eto mor eglur, bod ei dymmor daearol ar ddarfod? Ai greddf ddirgelaidd natur wanhaol ydyw, neu ddychlamiad yr enaid fel y mae anfarwoldeb yn nesu ymlaen? Ond boed y peth y bo', yr oedd yn gorphwys ar galon Efa ryw sicrwydd tawel, melus, fod y nefoedd fawr yn agos. Gorphwysai ei chalon fechan mor dawel a goleuni machludiad haul, a hyfryd fel dysgleirdeb y cynhauaf; ond yn unig y trallodid hi gan ofid y rhai a'i carent mor anwyl; oblegid er ei bod yn cael ei maethu gyda phob tynerwch, ac yn nghanol pob peth daearol a allai calon ddymuno, nid oedd y plentyn yn gofidio dim o'i hachos ei hun, yn y rhagolygiad ar farw.

Yn y llyfr hwnw y darllenasai hi a'i hen gyfaill syml gymaint arno gyda'u gilydd, yr oedd wedi gweled a chymeryd i'w chalon ddelw yr Un a hoffai blant bychain; ac fel yr edrychai ac y myfyriai arno, yr oedd wedi dyfod yn rhywbeth amgen nag eilun o'r hyn a fuasai gynt—yn beth presennol a gwirioneddol i'r syniad a'r teimlad. Yr oedd ei gariad wedi llenwi ac ennill ei chalon. Ac ato ef, meddai, i'w gartref yr oedd hi yn myned.

Ond yr oedd yn teimlo yn ddwys iawn dros bawb oedd yn adael ar ei hol—ei thad yn benaf; oblegid ymdeimlai ei bod hi yn nes—yn nes at ei galon ef na neb arall. Carai ei mam, oblegid ei bod mor brydweddol a hawddgar yr olwg arni; a'r holl hunanoldeb a welid ynddi, ni wnai ddim ond ei phruddhau a'i thrallodi; oblegid tybiai ei chalon blentynaidd na allai ei mam wneyd dim ag oedd o le. Yr oedd rhywbeth ynddi na allasai Efa ei ddeall, ac edrychai trosto bob amser â'r ystyriaeth mai ei mam ydoedd wedi y cwbl; a charai hi yn anwyl iawn.

Teimlai hefyd tros yr holl weinidogion cariadlawn a ffyddlawn, i'r rhai yr oedd hi megys ffynnon bywyd a chysur. Dymunasai yn ei chalon allu gwneuthur rhywbeth iddynt—eu bendithio a'u gwaredu o'r cyflwr diraddiol yr oeddynt ynddo, ac nid hwy yn unig, ond yr holl hil gaeth yn mhob man.

"F'Ewythr Tomos," ebe hi, un diwrnod, pan oedd yn darllen i'w chyfaill, "yr wyf yn gallu deall paham yr ewyllysiai Iesu farw trosom ni."

"Wel, pa fodd, Miss Efa?"

"Oblegid mi a deimlais beth felly fy hun."

"Beth ydyw, Miss Efa? nid wyf yn gallu deall."

"Ni allaf ddweyd i chwi; ond pan welais y creaduriaid truain hyny ar fwrdd y llong, wyddoch, pan ddaethoch chwi yno—rhai wedi colli eu mamau, a rhai eu gwŷr, a rhai mamau yn wylo am eu plant bychain; a phan glywais am Prue dlawd druan—O! onid oedd hyny yn arswydus. Yr amser hòno, a llawer gwaith gyda hyny, mi a deimlais y buasai yn dda genyf gael marw, pe gallasai fy marwolaeth attal yr holl drueni hwn. Mi a fyddwn farw trostynt, Tomos, pe gallwn," ebe y plentyn, yn ddifrifddwys, gan osod ei llaw deneu fach ar law Tomos.

Edrychai Tomos gyda gradd o arswyd; a phan y rhedai oddiwrtho wrth glywed ei thad yn galw arni, efe a sychai ei lygaid lawer gwaith, fel y dilynai ei olygon hi.

"Fo dim iws yn y byd cadw Miss Efa yma," ebe fe wrth Mami, yr hon a ddygwyddai fod gerllaw ar y pryd. "Y mae marc yr Arglwydd ar i thalcen hi."

"Ah! ydi! ydi!" ebe Mami, "fi 'n deyd hyny bob amser, hi dim tebig 'rioed i blentyn i fyw yma—rhwbeth rhyfedd yn i llygid hi 'n wastad. Deydis i hyny wrth missis lawer gwaith; mae o 'n dwad yn wir—ni i gyd yn 'i wel'd o 'rŵan—yr oen bach anwyl!"

Hybiodd Efa i fyny i risiau y *verandah* at ei thad. Yr oedd yn hwyr yn y prydnawn, ac yr oedd pelydrau yr haul yn ffurfio math o ogoniant o'i chylch, fel y deuai ymlaen yn ei gwisg wen, gyda'i gwallt euraid, a'i phrydweddiad twymwridog, a'i llygaid yn annaturiol ddysglaer gan y dwymyn arafaidd a losgai yn ei chyfansoddiad.

Galwasai St. Clare arni i ddangos iddi gerflun a brynasai iddi; ond ei hymddangosiad, fel y dynesai ato, a'i tarawai â phryder disymwth. Y mae rhyw fath o brydferthwch gor-ddwys, eto gwywedig, na allwn ddal yr olwg arno. Gwasgai ei thad hi i'w fynwes, a bu agos iddo anghofio yr hyn oedd ganddo i'w ddywedyd wrthi.

"Efa, f'anwylyd, yr ydych yn well y dyddiau hyn, onid ydych?"

"Tada," ebe Efa, gyda dwysder mawr, "y mae genyf bethau ac yr oedd arnaf eisieu eu dweyd wrthych, er ys hir amser. Y mae arnaf eisieu eu dweyd yn awr, cyn i mi fyned yn wanach."

Teimlai ei thad ias o gryndod, fel yr eisteddai Efa ar ei lin, ac y gorphwysai ei phen ar ei fynwes, ac y dywedai,—

"Nid yw o un dyben i mi ei gadw i mi fy hun ddim yn hwy, ...da. Y mae yr amser yn nesâu i mi eich gadael. Yr wyf fi ...myned, byth i ddychwelyd yn ol!" a throai i wylo.

...! na! fy anwyl Efa fach!" ebe St. Clare, dan grynu

trwyddo, ond ceisiai siarad yn galonog, "yr ydych yn *nervus*, ac yn isel ysbryd; rhaid i chwi beidio meithrin y fath feddyliau pruddion. Edrychwch yma, yr wyf wedi prynu cerflun i chwi!"

"Na, tada," ebe Efa, gan ei droi oddiwrthi â'i llaw, "peidiwch a siomi eich hunan, nid wyf fi ddim gwell, yr wyf yn gwybod yn eithaf da; a byddaf yn eich gadael cyn hir—nid wyf yn isel ysbryd. Oni b'ai o'ch rhan chwi, tada, a'm cyfeillion, ymdeimlwn yn berffaith hapus. Y mae arnaf awydd i fyned, a hiraeth am fyned."

"Wel, anwyl blentyn, beth sydd yn gwneyd eich calon fach anwyl mor bruddaidd? Yr ydych yn cael pobpeth er eich gwneyd yn ddedwydd, a ellid roddi i chwi."

"Byddai yn well genyf fod yn y nefoedd; ond gallwn fod yn foddlawn i fyw, yn unig er mwyn fy nghyfeillion. Y mae llawer iawn o bethau yma yn fy ngwneyd yn anhapus—y maent yn ymddangos yn arswydus i mi—byddai yn well genyf fod yno; ond nid oes arnaf eisieu eich gadael chwi—y mae hyny yn tori fy nghalon!"

"Beth sydd yn ymddangos yn arswydus i chwi, ac yn eich gwneyd yn anhapus, Efa?"

"O, pethau sy'n cael eu gwneyd a'u cyflawni yn barhaus. Yr wyf yn anhapus yn achos ein gweinidogion druain. Y maent yn fy ngharu i yn anwyl, ac y maent oll yn dda a thirion iawn wrthyf. Mi a ddymunwn iddynt gael bod oll yn rhyddion, tada!"

"Paham, Efa, blentyn, ai nid ydych yn meddwl ei bod yn dda ddigon arnynt yn awr?"

"O, ond tada, pe dygwyddai rhywbeth i chwi, beth a ddeuai o honynt? Ychydig sydd o ddynion fel chwi, tada. Nid yw F'Ewythr Alfred yn debyg i chwi, na mama chwaith; ac hefyd meddyliwch am berchenogion yr hen Prue, druan—y fath bethau dychrynllyd a wna pobl, ac a fedrant wneyd!"

"Fy anwyl blentyn, yr ydych yn rhy dyner deimladol. Y mae yn ddrwg genyf fy mod erioed wedi gadael i chwi glywed y fath bethau."

"A! dyna sydd yn fy nhrallodi, tada. Y mae arnoch eisieu i mi fyw mor hapus, heb byth brofi dim gofid, byth ddyoddef dim oll—heb gymaint a chael clywed un hanesyn gofidus—pan y mae creaduriaid truain eraill yn bod nad ydynt byth yn profi dim ond poen a gofid holl ddyddiau eu bywyd; y mae yn ymddangos yn beth hunanol. Mi a ddylwn wybod am y fath bethau, a dylwn deimlo o'u hachos. Y mae y fath bethau yn suddo yn ddwfn i'm calon bob amser—ydynt yn ddwfn iawn hefyd. Yr wyf wedi bod yn meddwl ac yn meddwl yn eu cylch, tada. A oes dim modd gwneyd yr holl gaethion yn rhyddion?"

"Y mae hwn yna yn gwestiwn dyrus, fy anwylyd. Nid oes dim ammheuaeth nad yw ein trefn ni yn un ddrwg iawn. Y mae llawer o bobl yn meddwl felly, ac yr wyf yn meddwl hyny fy hun. Mi a ddymunwn o'm calon pe na byddai cymaint ag un caeth yn y wlad; ond wedi hyny, ni wn i yn y byd beth sydd i'w wneyd o hòno."

"Tada, yr ydych chwi y fath ddyn da, mor ragorol, ac mor dirion; ac y mae genych yn wastad y fath ffordd i ddweyd pethau; a allech chwi ddim myned o gwmpas a cheisio perswadio pobl i wneyd cyfiawnder yn yr achos hwn? Chwi a feddyliwch am danaf fi, tada, wedi i mi farw, ac a wnewch er fy mwyn i. Mi a'i gwnawn fy hun pe gallwn."

"Wedi i chwi farw, Efa!" ebe St. Clare, yn gyffrous. "O, blentyn peidiwch siarad fel yna â mi!—y chwi ydyw yr oll a feddaf ar y ddaear!"

"Plentyn yr hen Prue druan oedd yr oll a feddai hithau; ac eto, bu raid iddi wrandaw arno yn llefain, ac ni allai ei helpio!" Tada, y mae y creaduriaid truain hyn yn caru eu plant yn gymaint ag yr ydych chwithau. O! gwnewch rywbeth trostynt! Dyna Mami druan, y mae hi yn caru ei phlant, mi a'i gwelais yn wylo wrth son am danynt. Ac y mae Tomos yn caru ei blant, ac y mae yn ddychrynllyd i feddwl, tada, fod y fath bethau yn dygwydd yn barhaus."

"Dyna, dyna, fy anwylyd," ebe St. Clare, yn deimladol—"peidiwch a thrallodi eich hun, a thewch a son am farw, ac mi a wnaf bob peth a ewyllysioch."

"A roddwch i mi addewid, fy anwyl dad, y caiff Tomos ei ryddid mor fuan ag y byddwyf ————," ond ymattaliai; ond gorphenai mewn tôn ddystaw, "fi wedi myned."

"Gwnaf, fy anwylyd, mi a wnaf unpeth yn y byd—unrhyw beth a geisioch chwi genyf."

"Tada anwyl!" ebe y plentyn, gan osod ei hwyneb twymynboeth ar wyneb ei thad—"fel y dymunwn i chwi a minnau gael myned gyda'n gilydd!"

"I bl'e, fy anwylyd?"

"I gartrefle y Gwaredwr—y mae mor hyfryd a heddychol yno—y mae pawb a phobpeth mor gariadlawn yno." Llefarai y plentyn, yn ddiarwybod iddi, fel am le y buasai ynddo lawer gwaith. "Ai ni ddymunech chwi fyned, tada?" ebe hi eilwaith.

Gwasgai ei thad hi yn dynach i'w fynwes, ond ni ddywedai ddim.

"Chwi a ddeuwch ataf, ar fy ol i!" ebe hi drachefn, mewn tôn o lawn sicrwydd pwyllus, fel yr arferai lefaru yn fynych.

"Deuaf ar eich ol; ni allaf byth eich anghofio."

Cauai cysgodau pruddion y nos yn fwyfwy o'u deutu, fel yr eisteddai St. Clare yn ddystaw, gan wasgu ei anwylyd fechan i'w fynwes. Nid oedd mwyach yn canfod y llygaid dwysion,

ond ei llais a süai yn ei glust fel llais ysbryd; ac fel mewn math o farn-weledigaeth, ymgyfodai ei holl fywyd blaenorol o flaen golwg ei feddwl mewn moment—gweddïau ac emynau ei fam—ei ddymuniadau a'i deimladau crefyddol ei hunan yn nyddiau ei faboed; a rhwng y dyddiau hyny a'r amser presennol, blyneddau o fydolrwydd, oferedd, ac anghrediniaeth, a'r hyn a elwir, byw yn foneddigaidd. Gallwn feddwl llawer iawn mewn mynydyn, weithiau. Gwelodd a theimlodd St. Clare lawer o bethau, ond ni ddywedodd air; ac fel yr oedd yn nosi, cymerodd y plentyn i'w gwely, ac eisteddodd i'w gwylio hyd nes cysgodd.

"Ac felly, rhaid i ni ddymuno iddi noswaith dda, heno, a therfynu am y tro hwn," ebe James.

"Fyddi di 'n hir, heb fyn'd â hi adre'—y beth anwyl?" ebe F'Ewythr Robert. "Mae hi 'n nyffryn cysgod ange gin ti—mi fydde dda gin i 'tae hi wedi myn'd trwodd, rwsut. Mae 'nanodd iawn dal a diodde i edrych a gwrando arni hi: mae hi'n myn'd yn fwy anwyl o hyd. Mae 'n hawdd iawn i mi gydmydeimlo â'i thad hi druan, wedi i mi gael profiad c'ffelyb fy hun. Mae John bach yn dwad yn ffres i ngho i o hyd; felly 'roedd ynte 'n myn'd yn fwy anwyl, ag anos i 'madel â fo, hyd y mynyd d'waetha. Debyg cin i fod o ac Efa bach chwedi gwel'd a nabod 'i gilydd cin hyn; a phwy ŵyr nad oes rhw angel yn deydyd yn hanes ni iddyn nhw, wel 'rydan ni 'n son am danyn nhw."

"Ni all neb ddweyd nad all peth felly fod," ebe Mrs. Harris. "Y mae yn bur debyg eu bod hwy, yn y byd arall, yn y nefoedd beth bynag, yn cael gwybod mwy am danom ni ar y ddaear, nag ydym ni yn gael ei wybod am danynt hwy yno."

"Mi fu'm i'n meddwl rhywbeth felly lawer gwaith," ebe Modryb Elin. "Nid ydynt hwy yno dan yr un gyfraith a gor-uchwyliaeth a ni yma. Megys plant dan eu hoed, ac yn yr ysgol, ydym ni ar y ddaear. Dysgu byw trwy ffydd ydyw ein gwaith ni; ac ni fyddai hi ddim yn ddoeth ac yn weddus i natur ein sefyllfa ni, i ni gael gwybod dim yn rhagor am y byd hwnw nag sydd yn ddadguddiedig i ni yn y Beibl. Y maent hwy wedi derbyn yr etifeddiaeth, ac wedi darfod â byw trwy ffydd, ac y maent yn gallu dal cymdeithas â'r angelion, y rhai sydd yn cynniwair yn ol ac ymlaen rhwng y ddaear a'r nefoedd, yn anweledig i ni; a mi fydda i'n meddwl nad oes dim a duedda i'w dedwyddwch hwy yn cael ei gadw oddiwrthynt; ac y maent yn rhwym o fod yn teimlo yn awyddus yno, i gael gwybod sut y mae hi yn myned ymlaen yma. Ond beth bynag, y maent hwy yn berffaith foddlawn i ewyllys Duw, os nad ydynt yn cael gwybod."

Ar hyn, pwy a ddeuai i mewn ond Robert Llwyd, Tan llan, yr hwn oedd yn dychwelyd adref heibio i'r Hafod, wedi bod ar

neges yn nhref ——— y diwrnod hwnw. Gelwir Robert Llwyd yn y parthau hyny, weithiau yn "*hen brophwyd*," ac weithiau yn "*hen gristion*," ar gyfrif ei wybodaeth ysgrythyrol a'i fywyd crefyddol. Gwahoddid ef ymlaen at y tân yn garedig; ond efe a ymesgusodai—ei bod wedi myned yn hwyr.

"Y mae gynthon ni bwnc dan sylw," ebe F'Ewythr Robert; "ac y mae 'n rhaid i ni gael barn 'r 'hen brophwyd' arno fo."

"Yr ydych yn trin llawer o bynciau ar yr 'Aelwyd' yma, yr wyf yn deall," ebe Robert Llwyd (neu yr 'hen brophwyd,' neu yr 'hen gristion,' yr un a fyno y darllenydd); "a chwi ellwch ddyfod drwy y pwnc sydd genych yn awr, mi warantaf, heb fy help i. Ond y mae hi wedi myned yn rhy hwyr heno i ddechreu ymdrin â phwnc yn y byd."

"Wel, ddowch chi yma nos fory ynte?" ebe F'Ewythr Robert. "Mi fydd yn dda iawn gynthon ni gael y'ch cwpeini chi, os dowch chi."

"Wel, am ddim a wn i, nad allwn i ddyfod; a mi hoffwn ddyfod hefyd. Ond beth yw y pwnc oedd genych?"

Adroddodd Modryb Elin sylwedd yr ymddyddan a fuasai rhyngddynt cyn i'r "hen brophwyd" ddyfod i mewn.

"Chwennychwn i roi y cwestiwn fel hyn," ebe James Harris. "A oes lle i gasglu, oddiwrth ryw ymadroddion o'r Beibl, fod ysbrydoedd dynion da, yn y nefoedd, yn cael dadguddiad o ryw bethau sydd yn cymeryd lle ar y ddaear?"

"Y mae genych chwi bwnc pur fanwl ac anhawdd ei benderfynu," ebe Robert Llwyd. "Ac y mae yn taro i'm meddwl am y peth a ddywedodd Elias wrth Eliseus, pan ofynodd am i ddeuparth o'i ysbryd orphwys arno.

"Wel, be ddeydodd yr hen 'Lias am hyny, Rhobet?" ebe F'Ewythr Robert.

"'Gofynaist beth anhawdd,' ebe fe; ond peth a gafodd ydoedd er hyny. Ond ni wiw i ni fyned at y pwnc heno; ni a gawn feddwl am dano o hyn i nos yfory, os byddwn byw."

Ymadawodd y dyeithriaid oll ar hyn, dan ammod i ddyfod yn gynnarol nos dranoeth.

---

## NOSON XXV.

Daeth "yr hen brophwyd," o'r Ty'n llan, heibio i Bryn Derwen yn gynnarol yr hwyr hwn; ac aethant gyda'u gilydd i'r Hafod.

"Wel, 'r 'hen brophwyd,'" ebe F'Ewythr Robert, "'rydan ni'n disgwil wrthoch i dreuthu ar y pwnc 'roed i lawr yma

neithiwr, y 'rwan 'n union deg, cin i James fyn'd at 'i orchwyl. Mi gewch hanner awr o amser i'w drin o."

"Yr wyf fi wedi meddwl cryn dipin am dano fo heddyw," ebe Robert Llwyd; "a pho fwyaf feddyliwn i arno fo, mwyaf i gyd oeddwn i'n weled ynddo fo; ac eto, heb fedru gweled fawr iawn o hono fo chwaith. Mi fyddaf fi yn meddwl bod perygl i ni fyn'd i redeg ar ol breuddwydion, ac ymlid ar ol cysgodion a dych'mygion; a cheisio chwilio allan ddirgeledigaethau nad ydynt yn perthyn i ni, ac nas gallwn ni eu gwybod. 'Y dirgeledigaethau sydd eiddo 'r Arglwydd ein Duw; y pethau amlwg a roddwyd i ni.' Ysfa ryfeddol sydd yn nghalon pechadur yn wastad am chwilio allan ddirgeledigaethau yr Arglwydd, ac esgeuluso ei bethau amlwg ei hun."

"Wel, os ydyw 'r pwnc yn perthyn i'r dirgeledigaethau," ebe Modryb Elin, "gadewch o yn y fan yna, rhag i ni fod yn euog o ryfygus ymyraeth â pheth nad ydyw o ddim yn perthyn i ni. Byddai y Gwaredwr yn attal ei ddysgyblion yn union, pan fyddent hwy yn myn'd i holi am bethau felly.—'Ni pherthyn i chwi wybod yr amserau a'r prydiau, y rhai a osododd y Tad yn ei feddiant ei hun,' ebe fo unwaith—'Beth yw hyny i ti, canlyn di fi,' ebe fe wrth Pedr dro arall, pan fynai hwnw wybod rhywbeth ynghylch ei frawd Ioan. Ac os rhyw gwestiwn fel y rhai hyny ydyw ein cwestiwn ninnau, gadewch i ni ei adael yn llonydd, a throi at ryw gwestiwn arall, mwy pwrpasol a pherthynasol i ni."

"Na, yr wyf yn meddwl y gallwn chwilio tipin iddo fo yn gynnil a gofalus," ebe Robert Llwyd, "gan mai y cwestiwn yw, '*A oes lle i gasglu oddiwrth ryw ymadroddion yn y Beibl, fod y saint yn y nefoedd yn cael gwybodaeth am ryw bethau sy'n cymeryd lle ar y ddaear?*' Y mae y cwestiwn yn cael ei ddwyn 'at y gyfraith, ac at y dystiolaeth;' ac nid at reswm a dychymyg, a barn gwŷr dysgedig a duwinyddion. Hwyrach y dylem sylwi ar un peth neu ddau, cyn dyfod ato. Dyma un peth, nad yw y Beibl wedi ein gadael tan ein dwylo am fodoliaeth byd arall; nid mater o gasgliad ydyw hwnw, yn wyneb y Beibl, ond mater ffydd; canys y mae tystiolaethau y gair yn eglur, uniongyrchol, a phenderfynol arno, fel y rhaid i'r neb a gredo fod y Beibl yn wirionedd gredu fod byd arall yn bod—byd ysbrydol a thragywyddol, lle y gwobrwyir rhinwedd, ac y cosbir pechod—byd lle derbynia pob un 'yn ol yr hyn a wnaeth yn y byd hwn, pa un bynag a fyddo ai da ai drwg'—byd ag y mae ei ddau gyflwr o ddedwyddwch a thrueni yn anghyfnewidiol, a thragwyddol eu parhad. Os anghredir hyn, rhaid gwadu dwyfol awdurdod a gwirionedd yr ysgrythyr. Y mae hanfodiad byd arall, gan hyny, yn un o'r 'pethau amlwg a roddwyd i ni' mewn tystiolaeth bendant. Eto—

"Y mae pethau eraill, nad ydynt o gymaint pwys, yn cael

eu hawgrymu; megys yn yr ysgrythyr, y maent yn seiliau caniataol i ni gasglu rhyw bethau;—pethau nad ydynt yn wrthddrychau ein ffydd, fel y mae y pethau amlwg a phendant; ond a allant fod o ddefnydd a gwerth mawr i ni yr un pryd. Rhaid i ni fod yn ofalus wrth dynu ein casgliadau, i fod yn gynnil a rhesymol. Awgrymodd yr Arglwydd Iesu i Pedr, 'Drwy ba fath angeu y gogoneddai efe Dduw;' ac awgrymodd hefyd y byddai i Ioan ei orfyw ef a'i ddysgyblion eraill; ond aethant hwy yn llawer rhy bell wrth dynu eu casgliad oddiwrth eiriau Crist, pan dybient na byddai Ioan farw, er na ddywedasai yr Iesu na byddai efe farw;—"Ond os mynaf iddo aros hyd oni ddelwyf, beth yw hyny i ti?'"

"Y mae yn sicr yn werth i ni fyfyrio a cheisio deall awgrymiadau y Beibl; oblegid, fel y sylwais, y mae dyben ac addysg ymarferol i'w cael ynddynt. Ac yr wyf fi yn meddwl fod eich pwnc chwithau yma yn un o bwys a gwerth i'w chwilio.

"Wedi dywedyd cymaint a hyn yna mewn ffordd o ragymadrodd; ni a awn ymlaen.

"Fy meddwl i ar y cwestiwn ydyw, *fod sail ysgrythyrol* i'r dyb o fod y saint yn y nefoedd yn cael hysbysrwydd am bethau sydd yn myned ymlaen ar y ddaear; *h. y.*, y pethau a berthynant i deyrnas Dduw, i lwyddiant yr efengyl, a dychweliad eneidiau. Mi gaf gyfeirio at dair rhan o'r ysgrythyr sydd yn rhoddi, dybygaf, sail i gasglu hyn yn gryf. Y lle cyntaf ydyw y bennod olaf yn mhrophwydoliaeth Daniel; lle y mae y prophwyd, wedi cael gweledigaethau rhyfedd am erlidiau a dyoddefiadau saint y Goruchaf, mewn amser dyfodol, ac o'u gwaredigaeth, llwyddiant, a'u dedwyddwch yn y diwedd, yn tori allan gan ddywedyd, 'Yna y clywais, ond ni ddeallais: eithr dywedais, O, fy Arglwydd, beth fydd diwedd y pethau hyn?' a'r ateb a gafodd oedd,—'Dos, Daniel: canys cauwyd a seliwyd y geiriau hyd amser y diwedd.' Yr oedd yntau yn myned i holi am yr *amserau a'r prydiau* yn rhy bell, a rhy fanwl. Ni buasai yn ddoeth a phriodol rhoddi llawn ddadguddiad am danynt y pryd hwnw, nac hyd nes iddynt gymeryd lle. Cauwyd a seliwyd ar y pethau mewn awgrymiadau yn unig, hyd amser eu cyflawniad. Amser y diwedd oedd i ddattod y seliau hyny; anghytunol â dyben prophwydoliaeth fuasai traethu ei phethau yn llawn eglur. Ond at y geiriau nesaf yr oeddwn yn cyfeirio—'Dos dithau hyd y diwedd; canys gorphwysi, a sefi yn dy ran yn niwedd y dyddiau.' Ni ddygwyddodd i mi ddim clywed na gweled un esboniad boddhaol genyf ar y geiriau yna. Dyna ydwyf fi 'n farnu ydyw eu gwir feddwl—y cai Daniel, er y byddai wedi myned i orphwyso oddiwrth lafur bywyd oesau lawer cyn i'r pethau a bortrëedid yn weledigaethol o'i flaen gymeryd lle, wybodaeth lawn am danynt ac amser eu cyflawniad; gelwir

yr amser hwnw yn 'amser y diwedd,' a 'diwedd y dyddiau;' a dywed ei Arglwydd wrth ei was, 'y safai efe yn ei ran' o fwynhad y tymmor hwn.—'*Dos hyd y diwedd*'—bydd yn dawel i aros hyd nes yr agorir y seliau, ac y cyflawnir y pethau; a chei yr amser hwnw dy gyfran o fwynhad, gwaredigaeth a llwyddiant yr eglwys ar y ddaear, drwy gael gwybodaeth am dano, a bod yn dyst o hono.' Os yw fy esboniad i yn gywir, gallwn gymeryd y geiriau yna fel addewid i'r saint ar y ddaear,—y cânt, ar ol myned adref i'r orphwysfa nefol, wybod llawer am lwyddiant yr achos a garent, y llafurient, ac y gweddïent trosto yn eu bywyd.

"Y geiriau nesaf a nodaf, sydd yn *Luc* xv., 'Felly meddaf i chwi, y mae llawenydd yn ngŵydd angelion Duw am un pechur a edifarhao.' Nid dyweyd bod yr angelion yn llawenhau, y mae, er bod hyny yn wirionedd, ond bod llawenydd *yn ngŵydd* yr angelion; sef, bod eneidiau y saint yn y nef yn llawenhau wrth dderbyn y newydd fod pechadur ar y ddaear yn edifarhau; yn enwedig y rhai hyny a gaffont y newydd fod rhyw gâr, neu gyfaill, agos ac anwyl iddynt gynt, yn dychwelyd at Dduw mewn edifeirwch. Nid ydym i feddwl fod angeu, a'r nefoedd, yn dileu teimladau a serchiadau priodol yr enaid. Y mae iaith y goludog yn uffern yn dangos fod yn y lle ofnadwy hwnw ryw fath o deimlad a gofal dros ei geraint a'i gyfeillion a adawsai ar ei ol ar y ddaear,—'Rhag dyfod o honynt hwythau hefyd,' medd efe, 'i'r lle poenus hwn.' Yn awr, meddyliwch, bod y newydd yn myned i'r nefoedd, fod F'Ewythr Robert wedi edifarhau, a dychwelyd at grefydd; oni fyddai eich John bach sydd yno, yn llawenhau â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus; byddai yn galw ynghyd ei gyfeillion o blant bychain sydd yno, ac Efa bach yn eu mysg, ac yn dywedyd fel y wraig ar ol cael y dryll a gollasai, 'Llawenhewch gyda mi.'"

Ar hyn cyfododd F'Ewythr Robert, a gwnaeth ei ffordd at y drws ar ffrwst, heb ddyweyd gair wrth neb. Ofnodd Robert Llwyd ei fod wedi ei dramgwyddo; tybiai eraill, ei fod wedi ei gymeryd yn sâl; a chyfodai Mrs. Harris i fyned ar ei ol. Modryb Elin yn unig oedd yn deall yr achos.

"Eisteddwch i lawr Margret," ebe hi; "gadewch iddo, nid oes dim niwed; methu dal yr oedd o, pan gyfeiriodd Robert Llwyd at John bach; a phwy ŵyr na chaiff John bach y newydd ei fod yn edifarhau heno. Y mae rhywbeth wedi cydio yn bur ddwys yn ei feddwl y noswaith o'r blaen yr oedden ni yn son am dano fo, y mae wedi altro llawer iawn beth bynag. Ewch chwi ymlaen, Robert."

"Wyddoch chwi beth oeddwn i'n feddwl wrth wrandaw ar ar yr 'hen brophwyd' yma," ebe Mrs. Harris;—"meddwl am yr *electric telegraph* sydd yn trosglwyddo newyddion mewn moment, bron, o'r naill gŵr i'r wlad i'r llall; ac o'r naill wlad i wlad

arall;—a bod *electric telegraph* rhwng y nefoedd a'r ddaear, er pan aeth Abel gyfiawn i mewn yno; ac angelion yn ei weithio fo; ond rhwng ysbrydion yn unig y mae 'r gyfathrach yn cael ei chario ymlaen,—trosglwyddo newyddion o'r ddaear i'r nefoedd y maent; ond y mae cyfrinach y nefoedd i gael ei chadw oddiwrthym ni, ond hyny sydd wedi ei roddi i ni yn y Beibl. Ond yr wyf yn atal yr 'hen brophwyd.'"

"Nid oes gan 'yr hen brophwyd,' os mynwch fy ngalw felly, fawr i'w ddweyd ar y mater yn ychwaneg. Yr oeddwn yn meddwl cyfeirio at eiriau Paul yn y ddeuddegfed o'r Hebreaid, pan wedi traethu am weithredoedd ffydd saint yr Hen Destament, y dywed,—'Oblegid hyny, ninnau hefyd, gan fod cymaint cwmwl o dystion wedi ei osod o'n hamgylch, gan roi heibio bob pwys, a'r pechod sydd barod i'n hamgylchu, trwy amynedd, rhedwn yr yrfa a osodwyd o'n blaen ni,' &c. Y mae fel am osod ar ddeall i ni, bod y saint sydd wedi blaenu yn dystion wedi eu 'gosod o'n hamgylch' ni; a'n bod ni i redeg yr yrfa ysbrydol dan yr ystyriaeth eu bod hwy y sydd wedi blaenu, yn y golwg, ac yn edrych arnom; fel yr arferai tyrfa fawr o edrychwyr sefyll o amgylch yn edrych ar yr ymdrechwyr yn y campau Groegaidd gynt. Byddai yr ystyriaeth fod cynnifer yn dystion o'u hymdrechion yn gymhelliad nerthol i'r ymdrechwyr hyny i ymegnïo am y gamp; ac felly y dylai yr ystyriaeth fod y saint perffeithiedig yn y nefoedd, gael ei deimlo fel un cymhelliad cryf gan Gristionogion ar y ddaear i ymegnïo yn yr yrfa Gristionogol. Y mae yno berthynasau (ar hyn, deuai F'Ewythr Robert i mewn), a chyfeillion i ni wedi blaenu, ac y maent yn edrych arnom, ac yn dysgwyl am danom."

"Y'mh'le? Am be 'rydach chi 'n son?" ebe F'Ewythr Robert, fel yr eisteddai i lawr yn ei gongl.

"Son am y nefoedd, yr oeddym, F'Ewythr Robert," ebe Mrs. Harris.

"Ho! y mae 'n gwestiwn gin i, aiff pawb o honon ni ono—y fi fy hun. beth bynag," ebe yr hen ŵr.

"Wel," ebe Modryb Elin—

"'Mae pyrth y nef o led y pen,
Mi welaf fôr o waed,
Y gallaf fi,'r ffieiddia'n fyw,
Yn hollol gael iachâd.'

"Fe ddarfu i chwi stopio yn rhy fuan gyda'r adnod hòno gyneu," ebe hi drachefn, wrth Robert Llwyd.—"'Gan edrych ar Iesu, pentywysog a pherffeithydd ein ffydd ni.' Nid oes neb arall yn y nefoedd a dal i ni edrych yn hir arno; i edrych am ras a nerth i redeg yr yrfa, ac edrych am esiampl berffaith i'w dilyn; canys

'Mi welaf yn ei fywyd, y ffordd i'r nefoedd fry,
Ac yn ei angeu, 'r taliad a roddodd trosof fi;'

Yn ei esgyniad, gwelaf drigfanau pur y nef,
A'r wledd dragwyddol hyfryd gaf yn ei gwmni ef.'"

"Y mae 'r hanner awr ar ben er ys meityn," ebe Thomas Harris.

"Iä, gwell i James roid tipyn o hanes Efa bach i ni bellach," ebe F'Ewythr Robert; "ond y mae arna i ofn 'i glowed o rwsut, 'blegid mi wn amcan pa fath hanes fydd o."

Hanes yr hyn a gymerodd le ryw brydnawn Sabboth—un o'r rhai olaf, os nid yr olaf oll, i Efa fach allu myned allan o'r tŷ.

Yr oedd St. Clare yn gorwedd ar esmwythfainc yn y *verandah*, ac yn mygu *cigar;* ac yn prudd-fyfyrio ynghylch ei anwylaf Efa, y mae yn llwyr debygol. Yr oedd Marie, hithau, ar ei lledorwedd ar lwth ar gyfer y ffenestr a agorai ar y *verandah*, ac yn dal llyfr gweddi yn ei llaw. Daliai y llyfr yn ei llaw, yn unig am ei bod yn Sabboth, a dychymygai ei bod wedi bod yn darllen ynddo—er, mewn gwirionedd, nad oedd wedi gwneyd dim ond hepian, â'r llyfr agored yn ei llaw.

Yr oedd Miss Ophelia ac Efa wedi myned i gyfarfod Wesleyaidd a gynnelid yn y gymydogaeth, a F'Ewythr Tomos yn gerbydwr iddynt.

"Glywch chwi, Augustine," ebe Marie, ar ol hir hepian, "rhaid i mi anfon i'r ddinas am fy hen feddyg, Doctor Posey; yr wyf yn sicr fy mod wedi cael clefyd y galon."

"Wel, p'am y rhaid i chwi anfon am dano ef? Y mae y doctor sydd yn gweini i Efa yn ymddangos i mi yn un pur ysgilgar."

"Ni allaf fi ymddiried iddo mewn achos o bwys," ebe Marie; "ac yr wyf yn meddwl y gallaf ddweyd fod fy achos yn un pwysig! Yr wyf wedi bod yn meddwl am y peth er ys dwy noson neu dair; yr wyf wedi cael y fath boenau mawrion, a'r fath deimladau rhyfedd!"

"O! Marie, yr ydych yn dychymygu. Ni allaf fi goelio mai haint y galon ydyw."

"Na ellwch, mi warantaf," ebe Marie; "yr oeddwn yn barod i glywed hyny. Gellwch ddychrynu digon os clywch Efa yn pesychu, neu pe b'ai y peth lleiaf a fu erioed yn darfod arni; ond nid ydych byth yn meddwl dim am danaf fi."

"Os ydyw yn beth dymunol iawn i chwi gael clefyd y galon, wel, mi dreiaf fi daeru ei fod arnoch," ebe St. Clare; "ni wyddwn i ddim ei fod."

"Wel, gobeithio na byddwch yn edifarhau am hyn, wedi iddi fyned yn rhy ddiweddar," ebe Marie; "ond credwch chwi, neu beidiwch, y mae fy mhryder ynghylch Efa, a'r ymdrechion a wnaethum gyda'r plentyn anwyl yna, wedi bod yn foddion i ddwyn i'r golwg yr hyn oeddwn wedi ei hir ammheu."

Buasai yn anhawdd iawn i neb allu dweyd pa ymdrechion a

wnaethai Marie. Meddyliai St. Clare felly ynddo ei hun, ond ni ddywedai ddim; ond mygai ymlaen yn ddidaro, ddigon, hyd oni yrai cerbyd ymlaen at y *verandah*, ac y disgynai Miss Ophelia ac Efa o hono.

Aeth Miss Ophelia rhag ei blaen i gymeryd ymaith ei phenguwch (*bonnet*), a'i gwargob (*shawl*), fel yr arferai bob amser, cyn dweyd un gair wrth neb; tra yr elai Efa ymlaen at ei thad, ac yr eisteddai ar ei lin, i adrodd iddo hanes y cyfarfod.

Dyma y wawch fawr yn fuan o ystafell Miss Ophelia, a sŵn cerydd llym yn cael ei weinyddu ar rywun.

"Pa reibiaeth ddrygionus fu Topsi yn ei fragu yrŵan?" ebe St. Clare. "Mi a warantaf mai hi sydd wedi codi yr helynt yna."

Ar hyn, dyma Miss Opbelia yn ymddangos mewn cyffro digofus, gan lusgo y troseddydd i'w chanlyn.

"De'wch yma, yrŵan," ebe hi, "mi a ddywedaf y cwbl i'ch meistr!"

"Beth ydyw 'r mater yn awr?" gofynai St. Clare.

"Y mater ydyw, na chymeraf fi ddim ychwaneg o'm poeni gyda'r plentyn yma; y mae tuhwnt i bob dyoddef! ni all cig a gwaed gyd-ddwyn âg ef! Mi a'i cloais hi i fyny, ac a roddais emyn iddi i'w ddysgu; a beth wnaeth hi, ond yspio allan y lle y cadwaswn yr agoriad, ac agorodd fy ngwisg-gist, a chafodd addurniadau *bonnet*, a thorodd hwynt oll yn ddarnau i wneyd siacedi *dollies* o honynt! Ni welais i erioed ddim byd tebyg iddi yn fy mywyd."

"Oni ddywedais i chwi, fy nghares, nad oes dim trin ar y creaduriaid hyn heb arfer llymdostedd?" ebe Marie. "Pe cawswn i fy ffordd yn awr," ebe hi, gan daflu edrychiad edliwiol ar St. Clare, "mi anfonwn y plentyn yna i gael ei chwipio, ac mi fynwn ei chwipio fel nas gallai sefyll."

"Nid wyf yn ammheu dim," ebe St. Clare. "Soniwch wrthyf am lywodraeth dyner gwraig! Ni welais i erioed uwchlaw dwsin o wragedd, na fuasent yn hanner lladd ceffyl, neu weinidog, os caent eu ffordd eu hunain gyda hwy, a gadael llonydd i ddyn."

"Ni thal eich ffordd chwi ddim yn y byd, beth bynag," ebe Marie. "Y mae fy nghares yn ddynes synwyrol, ac y mae hi yn awr yn gweled y peth yn gystal a minnau."

Ond yr oedd ysbryd a geiriau Marie wedi myned y tuhwnt i ddigofaint Miss Ophelia, yr hon oedd bellach yn dechreu oeri.

"Ni fynwn i'r plentyn gael ei thrin felly er y byd," ebe hi; "ond yn sicr, Augustine, ni wn i yn y byd beth i'w wneyd. Yr wyf wedi dweyd a dweyd, rhybuddio a dysgu, hyd nes wyf wedi blino; mi a'i chwipiais, mi a'i ceryddais yn mhob modd y gallwn feddwl am dano—ac y mae fyth yr un ag oedd yn y dechreu."

"Dowch yma, Topsi, yr epa genych," ebe St. Clare.

Daeth Topsi ymlaen gan rythu ac ysmicio â'i llygaid, fel yr arferai dan y fath amgylchiadau.

"Beth sydd yn peri i chwi wneyd fel yr ydych?" ebe St. Clare, yr hwn ni allai lai na gwenu wrth agweddiad digrifol y plentyn."

"Calon drwg fi, debic cin i," ebe Topsi; "Miss Phela deyd hyny."

"Ai nid ydych yn gweled gymaint y mae Miss Ophelia yn ei wneyd erddoch? Y mae yn dweyd iddi wneyd pob peth a allai feddwl am dano i chwi."

"Taid! do, misar! 'ffen fissis 'n arfer deyd 'run peth. Bydde hi 'n chwipio fi gwaeth o lawer, ac yn tynu gwallt fi, ac yn curo pen fi 'n erbyn y drws; ond gnaeth o dim dioni i fi! Fi meddwl pe tynen bob blewyn o wallt o pen fi, gnae dim dioni i mi chwaith—fi mor drwg! Fi dim ond *nigger* ffordd yn y byd."

"Wel, rhaid i mi ei rhoi hi i fyny," ebe Miss Ophelia; "ni allaf oddef y boen gyda hi ddim yn ychwaneg."

"Wel, mi a hoffwn ofyn un cwestiwn," ebe St. Clare.

"Beth ydyw?"

"Wel, os nad yw yr efengyl yn ddigon cref i achub un plentyn paganllyd, a'i gael gyda chwi o hyd yn y tŷ i'w addysgu, beth ydyw y dyben i anfon ymaith un neu ddau o genadau truain gyda hi i blith miloedd o rai cyffelyb? Yr wyf yn credu bod y pentyn yma yn anghraifft deg o'r hyn ydyw miloedd o'ch paganiaid."

Nid oedd gan Miss Ophelia yr un ateb yn barod; ac Efa, yr hon oedd wedi sefyll yn dyst ddystaw o'r oll a ddygwyddasai, a amneidiodd ar Topsi i'w chanlyn hi. Yr oedd tŷ gwydr bychan ar gongl y *verandah*, yr hwn a ddefnyddiai St. Clare yn ystafell ddarllen; ac yno yr arweiniodd Efa Topsi yn awr.

"Beth y mae Efa yn ei gylch tybed?" ebe St. Clare; "mi a hoffwn wybod."

Felly efe a ddystaw nesaodd at y lle, ac a edrychodd trwy y gwydr. Yn y fan, gwnaeth amnaid ar Miss Ophelia i ddyfod ymlaen i weled. Yno yr eisteddai y ddau blentyn gyferbyn a'u gilydd—Topsi yn ei hagwedd arferol, ddigrif, ddiofal, a dideimlad; ac ar ei chyfer, Efa, â'i hwynebpryd yn ddifrifddwys gan deimlad, a'i dagrau yn llenwi ei llygaid.

"Beth sydd yn peri eich bod mor ddrygionus, Topsi? Paham na ymdrechwch i fod yn dda? Ai nid yw yn dda genych am neb, Topsi?"

"Fi gwbod dim byd am gariad, na charu neb; fi caru *candy* a phethe felly, dene 'r cwbwl," ebe Topsi.

"Ond yr ydych yn caru eich tad a'ch mam?"

"Bu gin 'rioed dad a mam, wyddoch; deydis i hyny o'r blaen i chi, Miss Efa."

"O, mi a wn," ebe Efa yn athrist; "ond ai nid oes genych frawd, neu chwaer, neu fodryb, neu ——"

"Nag oes dim un o honyn nhw—bu gin dim un na dim byd 'rioed."

"Ond, pe byddech ddim ond yn ymdrechu bod yn dda, chwi allech ——"

"'Dallwn fi fod yn dim byd byth ond *nigger*, pe bawn i mor dda a mae bosib. Pe cawn i 'mlingo, a dwad yn wen, mi 'mdrechwn wed'yn."

"Ond mi all pobl eich caru, yn ddu fel yr ydych, Topsi. Fe wnai Miss Ophelia eich caru pe byddech yn dda."

Rhoddodd Topsi chwerthiniad byr, gwatwarus, fel yr arferai ddadgan ei hanghrediniaeth.

"Ai nid ydych yn meddwl hyny?" ebe Efa.

"Na; 'dall hi aros mona fi, am bod fi *nigger!*—bydde cystal gynddi hi lyffant 'nagos ati! Meder neb garu *niggers*, a toes gin *niggers* ddim help, nhw dim byd i neyd. Fi dim gyfalu!" ebe Topsi, a dechreuai chwibanu.

"O Topsi, blentyn truan, yr wyf fi yn eich caru!" ebe Efa, gydag ymdoriad disymwth o deimlad, gan osod ei llaw fechan, deneu, ar ysgwydd Topsi, "yr wyf fi yn eich caru am eich bod yn amddifad, heb na thad, na mam, na chyfeillion—am eich bod yn blentyn tlawd, digymhorth, a gorthrymedig! Yr wyf fi yn eich caru, ac y mae arnaf eisieu i chwi fod yn dda. Yr wyf fi yn sal, Topsi, ac yr wyf yn meddwl na byddaf byw yn hir; ac y mae yn ofid mawr i mi eich bod chwi mor ddrwg. Mi a ddymunwn i chwi ymdrechu bod yn dda er fy mwyn i; ni fyddaf ond ychydig o amser gyda chwi."

Llenwid llygaid Topsi gan ddagrau ar hyn, a threiglai dyferion mawrion i lawr dros ei gruddiau, y rhai a ddisgynent yn fargodion ar law Efa, y naill ar ol y llall. Do; ar y foment hòno, pelydrodd gradd o grediniaeth wirioneddol, gwreichionen o gariad nefol i mewn i dywyllwch dudew ei henaid! Dododd ei phen rhwng ei gliniau, ac ymollyngai i wylo; tra yr ymblygai Efa uwch ei phen fel delw rhyw angel dysglaer yn plygu i gynnorthwyo ac adferu rhyw bechadur.

"Topsi bach!" ebe Efa, "ai ni wyddoch chwi fod Iesu Grist yn caru pawb fel eu gilydd? Y mae yn llawn mor barod i'ch caru chwi, ag ydyw i'm caru i. Y mae efe yn eich caru fel yr wyf fi, ond yn llawer mwy, am ei fod yn llawer gwell. Fe wna ef eich helpio i fod yn dda, a gellwch gael myned i'r nefoedd yn y diwedd, a bod yn angel yno am byth, cystal a phe buasech yn wen. Meddyliwch am hyn, Topsi! gellwch fod yn un o'r ysbrydion dysglaer y bydd F'Ewythr Tomos yn arfer canu am danynt."

"O Miss Eva anwyl, anwyl!" ebe Topsi, "fi gna dreio! daru fi 'rioed meddwl am dano fo o'r blaen."

Ciliai St. Clare yn ol ar hyn. "Y mae yn dwyn fy mam i'm cof," ebe fe wrth Miss Ophelia. "Y mae y peth a ddywedodd hi wrthyf yn wir: os bydd arnom eisieu rhoi ei olwg i ddall, rhaid i ni fod yn ewyllysgar i wneyd fel y gwnaeth Crist—ei alw atom, a *dodi ein dwylaw arno.*"

"Yr oedd genyf ragfarn yn erbyn negroaid bob amser erioed," ebe Miss Ophelia; "ac ni allwn byth oddef i'r plentyn acw gyffwrdd â mi; ond ni feddyliais ei bod yn gwybod hyny."

"Cynnygiwch gadw hyn yna oddiwrth unrhyw blentyn," ebe St. Clare; "nid oes dim modd ei gadw oddiwrthynt. Ond yr wyf yn credu nad all un math o ymdrech i wneyd daioni i blentyn lesâu dim iddo, ac na ddeffry pob ffafrau a allech ddangos iddo gymaint ag un teimlad tyner yn ei galon, tra fyddo y teimlad yna o wrthwynebrwydd tuag ato yn aros yn y meddwl; y mae hyny yn beth rhyfedd iawn, ond felly y mae yn bod."

"Ni wn i yn y byd pa fodd y gallaf wrtho," ebe Miss Ophelia; "y mae y negroaid yn wrthwynebus i'm teimlad i—y plentyn hwn yn neillduol felly. Pa fodd y gallaf deimlo yn amgen?"

"Ymddengys fod Efa yn teimlo yn wahanol."

"Wel, y mae hi mor gariadlawn! Ond, wedi y cwbl, nid yw yn ddim mwy na thebygolrwydd i Grist," ebe Miss Ophelia; "mi a ddymunwn fy mod yn debyg iddi. Gall hi ddysgu gwers i mi."

"Ac nid yw y tro cyntaf i blentyn bach fod yn addysgu hen ddysgybl, os felly y mae," ebe St. Clare.

"Ni a'i gadawn ar hyn yna heno," ebe James; "a'r tro nesaf, rhaid i ni hebrwng Efa bach o wlad y cystudd, y gofid, a'r pechu, a'r trueni, i wlad y goleuni, yr iechyd, y canu, a'r dedwyddwch."

"Wel. yn wir, 'roedd hi yn flodyn rhy dyner, a rhy dlws i'w gadel yn 'nialwch oerllyd dreiniog y byd yma 'n hir," ebe F'Ewythr Robert.

"'Roeddem ni wedi meddwl a son am eich cael chi y'ch tri, a Risiart Ifan a'i wraig, i dreulio yfory hefo ni yma," ebe Modryb Elin; "ond y mae Risiart wedi danfon nad all o ddim dyfod. Yr ydym ninnau wedi penderfynu oedi am wythnos neu ddwy; rhaid i ni eich cael chwi yma, a'r 'hen brophwyd,' ryw ddiwrnod y byddo yn gyfleus i chwi bod yg un."

"O, ïa, rhaid i'r 'hen brophwyd' ddwad beth bynag," ebe F'Ewythr Robert. "Ond mi ddeydodd o air mrifodd i, gyne, 'narw iawn, tae o'n gwbod."

"Ddarfu i chwi ddim digio, ai ddarfu chwi?" ebe Robert Llwyd.

"Naddo, naddo—'doedd dim achos, na dim posib digio, Rhobet bach," ebe yr hen ŵr.

Wedi penderfynu ar y diwrnod, canwyd yn iach am y noson hòno.

# NOSON XXVI.

"WEL," ebe James, wrth ddechreu ei adroddiad y noson hon, "yr ydym yn myned i weled y diwedd heno. Bydd yn anhawdd i mi ddal i adrodd, ac i chwithau ddal i wrandaw. Darllenais yr hanes lawer gwaith drosodd, ac yr oedd yn effeithio arnaf y tro diweddaf fel y tro cyntaf. Byddai yn dda genyf pe bawn wedi myned trwyddo; canys y mae yn fy ngwneyd, bob amser, fel un wedi i win ei orchfygu."

"Y mae arna inne i ofn o, es tro," ebe F'Ewythr Robert, "er na wn i ddim byd am dano fo eto, mewn rhw ystyr; y mae arna i awydd i'w glowed o hefyd. Dos di trwyddo fo gynta gelli di, James bach, heb 'neyd cam â'r hanes chwaith."

Wel, ni a adawn heibio y desgrifiad a roddir o'r ystafell lle yr oedd Efa bach yn gorwedd yn ei chystudd diweddaf. Yr oedd hòno yn un wych dros ben; nid oedd dim a allasai cyfoeth a dyfais ei gael, a'i drefnu, yn ddiffygiol ynddi, er ei phrydferthu. Ond ni allasai na chyfoeth na dyfais ddofi na throi angeu draw, rhag dyfod iddi; a'i bresennoldeb ef a wnelai yr ystafell ysplenydd hòno yn lle tywyll, pruddaidd, a galarus iawn i'r holl deulu.

Aeth tymmor yr adnewyddiad ymddangosiadol tywyllodrus ar Efa heibio yn fuan. Clywid sŵn ei throed ysgafn yn anamlach o ddydd i ddydd yn y *verandah*, a gwelid hi yn gorwedd yn fynychach fynychach ar lwth gyferbyn a'r ffenestr oedd yn agor tua 'r llyn, â'i llygaid dysglaer yn syllu ar wyneb gloew ei ddyfroedd.

Fel yr oedd yn gorwedd felly un prydnawn, â'i Beibl yn hanner agored, a'i bysedd teneuon rhwng ei ddalenau, clywai lais ei mam yn y *verandah* yn trin rhywun yn chwerw.

"Beth eto yn awr—y ddyhiren genych! Pa ddireidi newydd a wnaethoch eto?—A chwi a fuoch yn tori y blodau, ai do?" A chlywai Efa sŵn cernod trwm.

"Taid, Missis—fi dwad â nhw i Miss Efa," ebe y druan oedd dan y cerydd; ac adnabu Efa y llais, a deallodd mai Topsi ydoedd.

"Miss Efa!" ebe Marie—"esgus gwych yn wir—beth a wna hi â'ch blodau chwi feddyliech chwi, y *nigger* drygionus—ewch ymaith â chwi!"

Ar hyn, dyna Efa yn y *verandah* mewn eiliad.

"O, peidiwch mam! mi a hoffwn gael y blodau; rhowch hwy i mi; y mae arnaf eu heisieu."

"I beth Efa? y mae eich ystafell yn llawn yn awr."

"Ni allaf gael gormod," ebe Efa: "dowch â hwy yma Topsi."

Ar hyn, daeth Topsi ymlaen, a chyflwynodd ei blodau gyda golwg gywilyddgar, a phetrusol, hollol annhebyg i'r dull hyf, ysmala, didaro, a dideimlad, arferedig iddi.

Yr oedd y pwysi wedi ei fritho âg amrywiol flodau o wahanol liwiau cyferbyniol, ac yr oedd cryn chwaeth a dyfais i'w gweled yn ei drefniad.

Edrychai Topsi yn foddog iawn, fel y dywedai Efa, "Topsi, yr ydych yn gallu trefnu blodau yn hynod o brydferth. Gwelwch," ebe hi; "dyma genyf un flodeugawg arall, mi a ewyllysiwn i chwi drefnu rhai i'w dodi yn hon eto."

"Wel, yn wir," ebe Marie, "beth yn y byd sydd arnoch eisieu i wneyd â hwy?"

"Na ofelwch, mama: ni waeth i chwi i Topsi wneyd na pheidio, ai fyddai?"

"Wel, siwr iawn; unpeth a ewyllysioch chwi, fy anwylyd! Topsi, a glywch chwi eich meistres ieuanc, edrychwch chwi am wneyd fel y mae hi yn ceisio."

Gwnaeth Topsi ymgrymiad, a throdd ei chefn; a sylwai Efa fod ei dagrau yn treiglo dros ei gruddiau duon.

"Chwi welwch, mama—mi a wyddwn fod ar Topsi druan awydd gwneyd rhywbeth i mi," ebe Efa wrth ei mam.

"O, *nonsense!* dim yn y byd ond ei bod yn caru gwneyd rhyw ddireidi. Hi wyddai bod yn ddrwg iddi dori y blodau, ac am hyny hi wnaeth; dyna 'r gwir am dani. Ond os hoffech chwi iddi wneyd, pobpeth o'r goreu!"

"Mama, yr wyf yn meddwl fod Topsi yn wahanol iawn i'r hyn ydoedd; y mae yn ymdrechu dyfod yn eneth dda."

"Bydd ganddi hir waith ymdrechu cyn y daw i fod yn dda," ebe Marie, gyda chwerthiniad dideimlad.

"Wel, chwi a wyddoch bod pob peth wedi bod yn erbyn Topsi druan i fod yn dda."

"Nid er pan mae hi yma, yr wyf yn siwr o hyny. Y mae wedi cael ei chynghori a'i rhybuddio fwy na mwy, i ddim pwrpas; ni ellwch wneyd dim yn y byd o'r fath greadur."

"Ond, mama, y mae yn beth mor wahanol i un gael ei ddwyn i fyny yn nghanol cyfeillion a phob peth a duedda i'w wneyd yn dda, fel y cefais i, ag ydyw i un gael ei ddwyn i fyny fel y cafodd hi yr holl amser cyn iddi hi ddyfod yma."

"Y mae yn bur debyg ei bod," ebe Marie, gan ystwyrian.

"Mama, yr ydych yn credu, onid ydych, y gallai Topsi ddyfod yn angel yn gystal a neb o honom, pe byddai yn Gristion?"

"Topsi! y fath dybiaeth ddigrif! ni allasai neb ond chwi feddwl am y fath beth. Ond mae yn debyg genyf y gallai, er hyny."

"Ond, mama, ai nid yw Duw yn Dad iddi hi, yn gystal ag i ninnau? Ai nid yw Iesu Grist yn Waredwr iddi hi hefyd?"

"Wel, mi allai hyny fod. Duw ydyw Creawdwr pawb o bosibl," ebe Marie. "Yn mh'le mae fy mhotel sawr?"

"Y mae yn fath resyni!—O! y fath resyni!" ebe Efa, gan edrych draw ar y llyn, a siarad megys wrthi ei hun.

"Beth sydd yn resyni?" ebe Marie.

"Bod unrhyw un a allai ddyfod yn angel dysglaer, a byw gydag angelion, yn myned i lawr—i lawr—i lawr, heb fod neb yn ceisio ei helpio. Ow! ow!"

"Wel, nid oes genym ni mo 'r help; nid yw o un dyben cwyno fel yna, Efa. Ni wn i ddim beth sydd genym i'w wneyd; dylem fod yn ddiolchgar am ein manteision ein hunain."

"Prin y gallaf fi fod," ebe Efa. "Yr wyf mor ofidus dros drueiniaid sydd yn amddifad o bob manteision."

"Y mae hyny yn beth syn iawn," ebe Marie; "yr wyf yn sicr fod fy nghrefydd yn fy ngwneyd yn ddiolchgar am fy manteision."

"Mama," ebe Efa, "y mae arnaf eisieu cael tori peth o'm gwallt—llawer iawn o hono."

"I ba beth?"

"Y mae arnaf eisieu rhoi peth o hono i'm cyfeillion, tra byddwyf yn alluog i'w roddi iddynt fy hun. A wnewch chwi ofyn i modryb ei dori i mi?"

Galwodd Marie ar Miss Ophelia o'r ystafell arall.

Cyfodai y plentyn ar ei lled-eistedd, pan ddelai Miss Ophelia i mewn, a chan ysgwyd ei chudynau euraid i lawr, ebe hi, yn siriol, "Dowch, Anti, cneifiwch y ddafad."

"Beth ydych yn ei wneyd?" ebe St. Clare, yr hwn a ddaeth i mewn i'r ystafell ar y pryd, gyda ffrwythau a fuasai yn gyrchu iddi.

"Y mae arnaf eiseu i Anti dori peth o'm gwallt, tada—y mae genyf ormod o hono; y mae yn gwneyd fy mhen yn boeth; ac heblaw hyny, y mae arnaf eisieu rhoddi peth o hono i ffwrdd.

"Cymerwch ofal, peidiwch ac anurddo yr olwg arno," ebe ei thad—"torwch ef o danodd, lle na bydd yr ol i'w ganfod. Ni fynwn er dim golli gwallt-gudynau Efa bach."

"O, tada!" ebe Efa, yn bruddaidd.

"Oes, y mae arnaf eisieu eu cadw yn drefnus, erbyn yr amser y byddwn yn myned i ymweled â'ch ewythr, i weled eich câr Henric," ebe ei thad yn siriol.

"Nid äf i byth yno, tada. Yr wyf fi yn myned i wlad well. O credwch fi—ai nid ydych yn gweled, tada, fy mod yn myned yn wanach, wanach bob dydd."

"Ond paham y mynech i mi gredu y fath beth annymunol, Efa bach?" ebe ei thad.

"Dim ond am ei fod yn wirionedd, tada; ac os gwnewch chwi ei gredu yn awr, hwyrach y dowch i deimlo tuag at y peth yn debyg fel yr wyf fi."

Gwasgodd ei thad ei wefusau, a safai gan edrych yn bruddaidd ar y cudynau euraid hyny yn cael eu tori y naill ar ol y llall, y rhai a dderbynid ganddi y naill ar ol y llall. Codai hwynt i fyny, ac edrychai yn ddwys arnynt, a rhwymai hwynt am eu bysedd, gan daflu cip olygon pryderus ar ei thad o bryd i bryd.

"Y mae yn dod yn union fel yr oeddwn i yn wastad yn ofni, ac yn dywedyd," ebe Marie—"yr hyn sydd wedi bod yn nychu fy ysbryd a'm iechyd o ddydd i ddydd, ac yn fy ngwasgu i lawr i'r bedd, er nad oes neb yn meddwl nac yn gofalu dim am hyny. Yr wyf wedi rhagweled hynyna er ys talm. Mi gewch chwithau weled, St. Clare, fy mod i yn iawn cyn hir."

"Yr hyn a rydd fawr gysur i chwi yn ddiau," ebe St. Clare, mewn tôn sychlyd a chwerw.

Edrychai Efa yn ddwysaidd iawn, weithiau ar y naill, ac weithiau ar y llall. Edrychiad craffus, dirnadol enaid, wedi ei hanner ryddhau o'i gadwynau daearol ydoedd; yr oedd yn amlwg ei bod yn canfod, yn teimlo, ac yn dirnad y gwahaniaeth oedd rhwng y ddau a'u gilydd.

Amneidiodd â'i llaw ar ei thad, a nesaodd yntau ac a eisteddodd yn ei hymyl.

"Tada," ebe hi, "y mae fy nerth yn darfod yn brysur, bob dydd, ac mi wn y bydd raid i mi fyned yn fuan. Y mae rhyw bethau genyf eisieu eu dweyd a'u gwneyd, ac y dylwn eu gwneyd; ond yr ydych chwi mor anfoddlawn i mi ddweyd dim ar y mater hwn; ond y mae yn rhaid iddo ddyfod, nid oes modd ei daflu draw. O! gadewch i mi ddweyd y peth yn awr!"

"Yr wyf yn foddlawn i'ch gwrandaw, fy mhlentyn," ebe St. Clare, gan osod ei law ar ei lygaid, ac ymaflyd yn llaw Efa â'r llall.

"Wel, y mae arnaf eisieu gweled ein holl weinidogion gyda'u gilydd—y mae genyf ryw bethau i'w dywedyd wrthynt," ebe Efa.

"Purion," ebe ei thad.

Anfonodd Miss Ophelia genad i alw y gwasanaethyddion, ac yn fuan yr oeddynt oll yn bresennol yn yr ystafell.

Gorweddai Efa ar ei chefn ar y gwely, â'i gwallt yn rhydd o gylch ei hwyneb; yr oedd gwrid ei bochau yn fath o gyferbyniad poenus i wyndra ei chroen, a theneudra meinaidd ei haelodau; syllai ei llygaid mawrion synwyrlawn ar bob un o'i hamgylch.

Tarewid y gweinidogion yn ddwys a disymwth gan yr olygfa. Yr wynebpryd ysbrydolaidd—y cudynau hirion o wallt a dorasid ymaith yn sypiau yn ei hymyl—ei thad wedi gorchuddio ei wyneb â'i ddwylaw—ocheneidiau ei mam—oll a darawent ar unwaith ar deimladau tyner-doddedig yr hil negroaidd; ac fel y delent i mewn, edrychent y naill ar y llall, dan ocheneidio ac ysgwyd eu penau. Bu yno yspaid o ddystawrwydd fel ar gladdedigaeth y marw.

Ymgyfodai Efa ar ei gwely, ac edrychai enyd yn ddifrifol ar bob un. Edrychent hwythau oll yn ddifrifol a gofidus. Cuddiai amryw o'r merched eu hwynebau yn eu harffedogau.

"Mi a anfonais am danoch oll, fy nghyfeillion," ebe Efa, "am fy mod yn eich caru—yr wyf yn eich caru i gyd; ac y mae genyf ryw bethau i'w dweyd wrthych, y dymunwn i chwi eu cofio bob amser.——————Yr wyf fi yn myned i'ch gadael—ar ol ychydig o ddyddiau eto, ni welwch mohonof byth."

Ar hyn, attelid y plentyn gan ymdoriad ffrwd o ocheneidiau a wylofain pawb ag oedd yn y lle, yn y rhai y boddodd ei llais gwanaidd yn hollol. Arosodd foment am dawelwch, ac yna aeth ymlaen, mewn tôn a barai i bawb ymattal ac ymwrandaw.

"Os ydych yn fy ngharu i, rhaid i chwi beidio fy attal fel yna. Gwrandewch ar yr hyn sydd genyf i'w ddweyd. Y mae arnaf eisieu siarad â chwi ynghylch eich eneidiau. Y mae llawer o honoch, yr wyf yn ofni, yn bur anystyriol. Nid ydych yn meddwl dim ond am y byd hwn yn unig. Y mae arnaf eisieu i chwi gofio fod byd gwynfydedig arall yn bod, lle y mae Iesu Grist. Yr wyf fi yn myned yno—a gellwch chwithau ddyfod yno. Y mae wedi ei barotoi i chwi yn gystal ag i minnau; ond os mynwch fyned yno, rhaid i chwi beidio a threulio blyneddau segur diofal—rhaid i chwi fod yn Gristionogion. Rhaid i chwi gofio y gall pob un o honoch ddyfod yn angel, a bod yn angel am byth. Os dymunech ddyfod yn Gristionogion, fe wna Iesu Grist eich cynnorthwyo. Rhaid i chwi weddïo arno—rhaid i chwi ddarllen."

Ond ymattaliai ar hyn, a chan edrych yn dosturiol arnynt o amgylch, hi a ychwanegai mewn tôn alarus:—

"Ow! ow! ni ellwch ddarllen. Eneidiau truain!" a chuddiai ei gwyneb yn nillad y gwely, ac wylai: ond parai sŵn eraill yn wylo o'i hamgylch iddi ymwroli drachefn.

"Ond na ddigalonwch," ebe hi, dan wenu yn siriol drwy ei dagrau, "Mi a weddïais trosoch, ac mi a wn y gwna yr Iesu eich cynnorthwyo, er na ellwch ddarllen. Ymdrechwch bob un i wneyd y goreu a alloch; gweddïwch bob dydd; gofynwch iddo ef eich helpio, a mynwch i'r Beibl gael ei ddarllen i chwi bob amser y galloch ei gael; ac yr wyf yn meddwl y caf eich gweled oll yn y nefoedd."

"Amen!" ebe F'Ewythr Tomos a Mami, a rhai o'r rhai hynaf, ag oeddynt yn aelodau o'r eglwys Wesleyaidd oedd yn y gymydogaeth. Ocheneidiai a wylai y rhai ieuangaf ac anystyriol, wedi eu llwyr orthrechu gan eu teimladau.

"Mi a wn," ebe Efa, "eich bod oll yn fy ngharu."

"O ydym! O ydym! yn wir hefyd! Bendith y nefoedd arni!" atebai pob un megys yn ddiarwybod ac ar unwaith.

"Ydych, mi a wn eich bod."

"Bu pob un o honoch yn dirion iawn wrthyf bob amser; ac y mae arnaf eisieu rhoddi rhywbeth i chwi i beri i chwi gofio am danaf, bob tro yr edrychwch arno. Yr wyf yn myned i roddi cudyn o'm gwallt i bob un—a phan edrychoch arno, meddyliwch fel yr oeddwn yn eich caru chwi, a'm bod wedi myned i'r nefoedd, a bod arnaf eisieu eich gweled chwithau oll yno."

Byddai yn anmhosibl desgrifio yr olygfa, fel y dynesent at yr anwylyd fechan mewn wylofain a dagrau, ac y cymerent o'u dwylaw yr arwyddnod olaf hwnw o'i serch tuag atynt; cwympent ar eu gliniau, wylent, gweddïent, a chusanent ymyl ei gwisg; dadganai y rhai hynaf o honynt eu teimladau o anwyldeb mewn bendithion a gweddïau yn y modd mwyaf gwresoglawn. Fel y derbyniai y naill a'r llall ei anrheg o'i llaw, arweiniai Miss Ophelia bob un allan o'r ystafell, gan ei bod yn awyddus i'r gorchwyl poenus fyned trosodd mor gynted ag y byddai modd; o herwydd ofnai y byddai iddo effeithio yn niweidiol ar y claf. O'r diwedd, gadawsant yr ystafell oll, ond F'Ewythr Tomos a Mami.

"Dyma, F'Ewythr Tomos," ebe Efa, "un prydferth iawn i chwi. O! mor hapus ydwyf, F'Ewythr Tomos, wrth feddwl y caf eich gweled yn y nefoedd; canys yr wyf yn sicr y caf—a Mami, anwyl, ddaionus, dirion," ebe hi, gan daflu ei breichiau am wddf ei hen famaeth. "Mi a wn y byddwch chwithau yno hefyd."

"O! Miss Efa! mi dim gwel'd y galla i byw heboch chi, ffor yn y byd!" ebe yr hen greadur ffyddlawn, gan wylo yn ddwys; "mae'n 'mddangos fel pe b'ai pob peth yn cael 'i gym'ryd i ffwrdd o'r lle yma ar unweth;" ac ymollyngai Mami i wylofain.

Cymerai Miss Ophelia hi a F'Ewythr Tomos allan o'r ystafell, a thybiodd eu bod oll wedi myned, ond fel y troai ei hwyneb, canfyddai Topsi yn sefyll yno.

"O b'le y daethoch chwi yma," ebe hi yn sydyn.

"Yr oeddwn i yma o hyd," ebe Topsi, gan sychu ei dagrau. "O! Miss Efa, bum i geneth drwg, ond a newch chi roi 'run i mi, hefyd?"

"Rhoddaf, Topsi druan, yn siwr iawn. Dyna fe,—bob tro yr edrychoch ar hwna, meddyliwch i mi eich caru chwi, a bod arnaf eisieu i chwi fod yn eneth dda."

"O! Miss Efa, mi treio bod," ebe Topsi yn ddifrifol; "ond O! mae'n waith mor caled i bod yn dda; mi dim wedi *iwsio* bod yn da, ffor yn y byd."

"Y mae yr Iesu yn gwybod hyny; ac y mae efe yn tosturio wrthych—efe a'ch helpia chwi."

Arweinid Topsi, hithau, o'r ystafell; ac fel yr elai allan, hi a guddiai y cudyn gwerthfawr yn ei mynwes.

Wedi iddi fyned, cauai Miss Ophelia y drws. Wylasai hithau ffrydiau o ddagrau yn ystod yr olygfa; ond ofn am ganlyniadau y fath gyffroad ar wrthddrych ei gofal oedd y peth uchaf ar ei meddwl.

Eisteddai St. Clare, o'r dechreu i'r diwedd, â'i ben rhwng ei ddwylaw; ac wedi iddynt oll fyned allan, arosai yn llonydd yn yr un agwedd.

"Tada," ebe Efa, gan osod ei phen ar ei ben ef.

Rhoddodd gyffroad disymwth ar hyny, a rhedai iâs o gryndod trosto; ond ni atebodd air.

"Tada anwyl!" ebe Efa.

"Ni allaf," ebe St. Clare, gan gyfodi i fyny; "ni allaf oddef i hyny fod. Gwnaeth yr Hollalluog yn chwerw iawn â mi,"—llefarai y geiriau gyda phwysleisiad chwerw-ddwys.

"Augustine, ai nid oes gan yr Hollalluog hawl i wneyd fel y myno â'r eiddo ei hun," ebe Miss Ophelia.

"Hwyrach hyny; ond nid yw yn haws i'w oddef am hyny," ebe fe, mewn tôn sychlyd ac anfoddog,—fel y troai i fyned allan o'r ystafell.

"Tada, yr ydych yn tori fy nghalon!" ebe Efa, gan ymgyfodi, ac ymollwng i'w freichiau; "rhaid i chwi beidio teimlo fel yna!" ac ymdorai y plentyn i wylo mor ddwys, fel y dychrynent oll, ac y troid teimladau ei thad i ffrydle arall.

"Dyna, Efa, f'anwylaf! Dyna—ust! ust! yr oeddwn ar fai, —yn ddrygionus—mi deimlaf, ac mi wnaf unrhyw fodd yn y byd, ond i chwi beidio gofidio eich hun; peidiwch wylo fel yna. Mi a ymdawelaf i ewyllys y Brenin Mawr; yr oeddwn ar fai i siarad fel y gwnaethum."

Gorweddodd Efa yn fuan, fel colomen flinedig, yn mreichiau ei thad; ac yntau a'i llonai â phob gair serchoglawn a allai feddwl am dano.

Ar hyn gadawodd Marie yr ystafell, a syrthiai mewn llewygfeydd.

"Ni roddasoch un cydyn i mi, Efa," ebe ei thad, dan wenu yn bruddaidd.

"Eich eiddo chwi ydynt i gyd, Tada!" ebe hithau dan wenu yn siriol. "Y chwi a mama; a rhaid i chwi roddi i'm hanwyl fodryb gymaint ag fyddo arni eisieu. Mi roddes gudyn i bob un o'r gwasanaethyddion, druain, â'm llaw fy hun; oblegid, mi wyddoch, tada, y gallasent gael eu hanghofio wedi i mi fyned, ac am y gobeithiwn y bussai yn help iddynt gofio. ...... Yr ydych yn Gristion, onid ydych, tada," ebe Efa yn ammheus.

"Paham yr ydych yn gofyn i mi?"

"Wel, ni wn i ddim. Yr ydych mor dda, fel na allaf fi weled pa fodd y gellwch beidio a bod."

"Beth yw bod yn Gristion, Efa?"

"Caru Iesu Grist uwchlaw pawb," ebe Efa.

"A ydych chwi yn gwneyd hyny, Efa?

"Ydwyf yn siwr."

"Ond ni welsoch mohono erioed," ebe St. Clare.

"Nid yw hyn yn un gwahaniaeth," ebe Efa. "Yr wyf yn credu ynddo, ac yn mhen ychydig ddyddiau, mi a gaf ei weled ef;" a thywynai llawenydd a gorfoledd yn ei gwynebpryd, fel y llefarai y geiriau hyn.

Ni ddywedodd St. Clare ddim yn ychwaneg.—Yr oedd yn deimlad a welsai o'r blaen yn ei fam.

Gwaelai Efa yn gyflym ar ol hyn; nid oedd bellach un ammheuaeth am y diwedd. Yr oedd Miss Ophelia yn ddiwyd a gofalus yn gweini iddi ddydd a nos. Yr oedd F'Ewythr Tomos yn fynych yn ystafell Efa. Dyoddefai y plentyn lawer oddiwrth boen yn y gewynau, a byddai ei chario yn ol ac ymlaen yn rhoddi esmwythder iddi; a hyfrydwch penaf Tomos, fyddai gweinyddu y gymwynas hono iddi; a phan fyddai y tywydd yn hyfryd, efe a'i cymerai weithiau i'r ardd, dan gysgodion y coed *Orange;* ac weithiau, eisteddai i lawr a hithau yn ei freichiau, a chanai rai o'i hen benniilion iddi. Arferai ei thad wneyd yr un peth yn fynych iddi; ond yr oedd ef yn wanach, a phan ymddangosai yn blino, dywedai Efa wrtho—

"O, tada, gadewch i Tomos fy nghymeryd i. Y mae yn rhoddi cymaint o bleser iddo fo, druan; a dyna'r cwbl a all o wneyd yn awr, chwi wyddoch; ac y mae arno eisieu cael rhywbeth i'w wneyd."

"Felly y mae arnaf finnau, Efa," ebe ei thad.

"Wel, tada, mi ellwch chwi wneyd pob peth, ac yr ydych yn bobpeth i mi—yr ydych yn darllen i mi—ac yn eistedd i fyny gyda mi y nos; ac nid oes gan Tomos ond yr un peth hwn, a chanu, a fedr ei wneyd; ac y mae yn gallu gwneyd yn hawddach na chwi hefyd, yr wyf yn gwybod. Y mae yn fy nghario i mor gryf, rywsut."

Nid Tomos oedd yr unig un a deimlai awydd i wneyd rhywbeth; amlygai pob un o'r gwasanaethyddion yr un teimlad, a gwnaent un peth a allent yn eu ffordd.

Yr oedd calon Mami, druan, yn hiraethu am ei hanwylyd; ond methai gael adeg na dydd na nos i gael gweini dim iddi. Cadwai Marie hi ar lawn waith gyda hi ei hun. Dywedai fod stât ei meddwl o'r fath, na allasai gael gorphwysfa na dydd na nos; ac yr oedd yn beth croes i'w hegwyddorion i adael i neb arall gael gorphwys. Gelwid Mami i rwbio ei thraed ugain o weithiau yn y nos, neu i olchi ei phen, i estyn ei chadach poced, i edrych beth oedd y trwst a glywai yn ystafell Efa, i laesu llen y ffenestr, am y byddai yr ystafell yn rhy oleu; neu i'w chodi i fyny, am y byddai yn rhy dywell; ac yn y dydd, pan fyddai

Mami yn awyddus i gael rhyw gyfle i weini ychydig ar Efa, ymddangosai dyfais Marie yn hynod o ffrwythlawn i'w chadw ar lawn waith yn rhywle, a chyda rhywbeth yn y tŷ, neu o'i deutu hi ei hun, fel mai ambell gipolwg ar ei hanwyl Efa oedd y cwbl a allasai gael.

"Yr wyf yn teimlo ei bod yn ddyledswydd arnaf i fod yn neillduol ofalus am danaf fy hun ynawr," hi a ddywedai, "gan mor wanaidd ydwyf, a holl ofal meithriniad y plentyn anwyl yna arnaf."

"Yn wir, fy anwylyd," atebodd St. Clare; "yr oeddwn yn meddwl fod ein cares yn eich rhyddhau oddiwrth y gofal hwnw."

"Yr ydych yn siarad fel dyn," St. Clare—"fel pe y gallai mam gael ei rhyddhau oddiwrth ei gofal am ei phlentyn yn y fath sefyllfa; ond dyna fel y mae; ni ŵyr neb byth faint wyf fi yn deimlo—ni allaf fi daflu pethau heibio fel y gellwch chwi."

Gwenai St. Clare. Rhaid i chwi faddeu iddo, ni allai wrtho—canys gallai St. Clare wenu eto. Oblegid yr oedd mordaith ymadawol yr ysbryd bychan mor dawel-hyfryd, ac yr oedd yr awelon mwythion a gludent y llestr bychan tua'r glanau nefol mor fwynion, fel yr oedd yn anmhosibl bod yn deimladwy mai angeu oedd yn dynesu. Ni theimlai y plentyn unrhyw boen—dim ond nychdod arafaidd, tawel, yn cynnyddu yn ddiarwybod bob dydd; ac yr oedd mor brydferth, tawel, a hapus, fel na allai neb wrthsefyll dylanwad swynol yr awyrgylch a deimlid o'i hamgylch. Teimlai St. Clare rhyw dawelwch dyeithrol yn ei feddiannu. Nid gobaith am ei hadferiad ydoedd—yr oedd meithrin hwnw yn beth anmhosibl; nid ymroddiad ydoedd chwaith; ond math o ymorphwysiad yn y mwynhad presennol ydoedd, yr hwn a deimlai mor hapus, fel na fynai feddwl am yr amser dyfodol. Yr oedd yn gyffelyb i'r llonyddwch ysbryd hwnw a deimlwn yn nghanol coed yn y cynhauaf, pan y mae y gwrid dysglaer ar ddail y preniau cyn syrthio, a'r blodau olaf gerllaw yr aber ddwfr, y rhai y byddwn yn eu mwynhau yn fwy o herwydd y gwyddom y bydd i ni eu colli yn fuan, ac y byddant oll wedi cilio ymaith.

I fynwes F'Ewythr Tomos y tywalltai Efa ei holl gyfrinach yr amser hwn; canys efe oedd yr un a fedrai lawn gydymdeimlo â'i hysbryd a'i gobeithion.

Gwrthodai Tomos o'r diwedd fyned i gysgu i'w ystafell ei hun, ond gorweddai ar lawr gerllaw i'w hystafell hi, i fod yn barod os byddai galwad.

"F'Ewythr Tomos, i beth yn y byd yr ydych yn gorwedd i gysgu yn rhywle, neu yn mhob lle, fel ci?" ebe Miss Ophelia. "Yr oeddwn yn meddwl eich bod chwi yn un rheolaidd, yn hoffi gorwedd yn eich gwely yn drefnus fel Cristion."

"Yr wyf felly, Miss Phela," ebe Tomos. "Yr wyf, ond yn awr—"

"Beth sydd yn awr?"

"Rhaid i ni beidio siarad yn uchel; ni fyn Mr. Clare glywed am y peth. Ond, Miss Phela, chwi gwyddoch bod rhaid i rywun wylied y priodmab."

"Beth ydych yn ei feddwl, Tomos?"

"Chwi wyddoch fod y 'Sgrythyr yn d'eyd, 'ac ar hanner nos y bu gwaedd, wele y mae 'r priodmab yn dyfod.' Dyna 'r peth ydw i 'n disgwil bob nos yn awr, Miss Phela—a ni allwn i dim cysgu allan o'r clyw fodd yn y byd."

"Wel, paham Tomos? beth sydd yn peri i chwi feddwl felly?"

"Mae Miss Efa 'n siarad â fi mor rhyfedd! 'Rarglwydd yn danfon cenadwr i siarad yn yr ened. Rhaid 'i fod o ono, Miss Phela; canys pan botho 'r plentyn bendigedig ene 'n myn'd i mewn i'r deyrnas, mi agoran y dryse mor llydin, fel y gallwn ni oll gael golwg ar y gogoniant, Miss Phela."

"F'Ewythr Tomos, a ddywedodd Miss Efa wrthych ei bod yn waelach nag arferol heno?"

"Naddo; ond mi ddeydodd wrtha fi 'r bore heddyw, 'i bod hi yn bur agos—y mae rhywrai yn *deyd* y peth wrth y plentyn, Miss Phela. 'Rangylion ydyn nhw—'llais yr udgorn ydi o, cin y dydd,'" ebe Tomos, gan adrodd geiriau un o'i hoff bennillion.

Cymerodd yr ymddyddan hwn rhwng Miss Ophelia a Tomos le rhwng deg ac un-ar-ddeg o'r gloch.

Effeithiodd ymadroddion Tomos yn ddwys iawn ar Miss Ophelia. Buasai Efa yn fywiog a siriol anarferol y prydnawn hwnw; eisteddasai lawer yn y gwely, a buasai yn brysur yn edrych tros ei chadwynau a'i phethau gwerthfawr, ac yn nodi y cyfeillion yr ewyllysiai iddynt gael y naill a'r llall ar ei hol. Yr oedd ei dull yn fwy bywiog, a'i llais yn fwy naturiol nag y buasai er's wythnosau. Sylwasai ei thad yr hwyr hwnw bod Efa yn ymddangos yn debycach iddi ei hun nag y gwelsai hi er dechreuad ei chystudd; a phan y cusanodd hi wrth ymadael am y noson, efe a ddywedodd wrth Miss Ophelia—"Fy nghares, fe allai y cawn ei chadw gyda ni, wedi 'r cwbl; y mae yn well yn sicr: ac aeth i'w ystafell â chalon ysgafnach yn ei fynwes nag a brofasai er ys wythnosau lawer.

Ond tua hanner nos, yr awr drom gyfrinol hòno, pan y mae y llen rhwng y presennol a'r dyfodol tragywyddol yn teneuo—daeth yr alwad!

Penderfynasai Miss Ophelia i eistedd i fyny i wylied y nos hòno. Ar droad y nos, canfu gyfnewidiad; deallodd Tomos fod rhywbeth yn bod, ac yr oedd i fewn yn yr ystafell yn ddiattreg.

"Ewch i gyrchu y meddyg yn union deg—peidiwch a cholli moment, Tomos!" ebe Miss Ophelia, a rhedai i alw St. Clare i fyny.

"Mi a ddymunwn i chwi ddyfod yma yn ddioed, fy nghar," ebe hi.

Syrthiodd y geiriau ar ei galon fel clai ar arch. Yr oedd yn yr ystafell mewn amrantiad, ac ymblygai uwch ben Efa, yr hon oedd yn cysgu ar y pryd.

Ond pa beth a welai i beri i'w galon lesmeirio? Gellwch chwi, y rhai a welsoch yr un ddelweddiad yn y wynebpryd anwylaf genych—yr olwg annesgrifiadwy, ddiobaith, a sicr hòno, a ddywed wrthych, fod eich anwylyd yn dianc oddi arnoch, ac nad ydyw mwyach yn eiddo chwi.

Ond nid oedd agweddiad welwaidd ar wynebpryd y plentyn chwaith, ond dynodiant tawelfwyn ysplenydd, megys cysgodion presennoldeb bodau ysbrydol, toriad gwawr bywyd anfarwol yn yr enaid plentynaidd hwnw.

Safent uwch ei phen yn ddystaw lonydd gan syllu arni, fel yr oedd tician yr oriawr yn rhy swnfawr ganddynt. Yn mhen ychydig, daeth Tomos a'r meddyg i mewn.

"Pryd y cymerodd y cyfnewidiad le?" ebe y meddyg, yn ddystaw, yn nghlust Miss Ophelia.

"Tua hanner nos," oedd yr ateb.

Clywodd Marie swn y meddyg yn dyfod i mewn, a deuai i mewn yn ffrochwyllt.

"Augustine! Miss Ophelia! O! beth?" ebe hi yn frawychus."

"Ust!" ebe St. Clare; "*y mae hi yn marw!*"

Clywodd Mami y geiriau, a rhedodd i alw y gweinidogion. Ac yr oedd yr holl dŷ mewn terfysg—gwelid goleuni yn mhob ystafell, a chlywid sŵn traed yn cynniwair yn ol ac ymlaen, ymgasglai y lliaws at y *verandah*, ac edrychai lliaws o wynebau pryderus, wylofus, trwy y drysau gwydr; ond ni chlywai ac ni ddywedai St. Clare ddim—ni chanfyddai ef ddim oll ond yr agweddiad farwol oedd ar wynebpryd y fech oedd yn cysgu.

"O pe byddai iddi ond deffro, a siarad unwaith eto!" ebe fe, gan ogwyddo at ei chlust—"Efa, f'anwylyd!" ebe fe.

Agorodd ei llygaid arno, a rhedai gwên tros ei gwyneb; a cheisiai godi ei phen a siarad.

"A ydych yn fy adnabod, Efa?"

"Tada anwyl!" ebe y plentyn yn ei hymdrech olaf, gan daflu ei breichiau am ei wddf. Syrthiodd ei breichiau i lawr drachefn yn y fan; ac fel y codai St. Clare ei ben, efe a welai arwydd gwasgfa farwol ar ei gwyneb—hi a ymdrechai am ei hanadl, a thaflai ei breichiau bychain i fyny.

"O Dduw, y mae hyn yn ofnadwy!" ebe fe, gan droi draw mewn gwewyr meddwl, a chan wasgu llaw Tomos, heb wybod beth oedd yn ei wneyd. "O Tomos, fy machgen, y mae hyn yn fy lladd i!"

Daliai Tomos law ei feistr rhwng ei ddwylaw ei hun; ac â'r dagrau yn llifeirio tros ei ruddiau duon, efe a edrychai i fyny am gymhorth i'r lle yr arferai bob amser gyfeirio ei olwg.

"Gweddïwch am i'r ymdrech fod trosodd yn fuan!" ebe St. Clare, "y mae yn dirdynu fy nghalon!"

"O bendigedig fyddo 'r Arglwydd! y mae trosodd!—y mae trosodd! misar anwyl!" ebe Tomos; "edrychwch arni!"

Gorweddai y plentyn yn llesmeiriol a llwyr fethedig—â'i llygaid gleision tlysion wedi eu troi i fyny, ac yn sefydlog. Ha! pa beth a ddynodai y llygaid hyny a edrychasent gymaint tua'r nefoedd? Yr oedd y ddaear wedi cilio o'r golwg, poen wedi darfod; ond mor ddwysaidd ydoedd dysgleirder buddygoliaethus y wynebpryd hwnw, fel y llesteiriai hyd yn nod wylofain galar. Ymgasglent o'i deutu mewn dystawrwydd pryderol.

"Efa!" ebe St. Clare yn ddistaw.

Ond ni chlywodd hi.

"O Efa, dywedwch wrthym beth ydych yn ei weled?—beth ydyw?" meddai ei thad.

Rhedai gwên garuaidd dros ei gwyneb; ac mewn geiriau toredig, bloesg, dywedai;—

"O! gariad!—gorfoledd!—tangefedd!" rhoddai ochenaid, ac aeth trwodd o farwolaeth i fywyd.

Ffarwel, blentyn anwyl! y mae y drysau dysglaer tragywyddol wedi cau ar dy ol; ni chawn weled dy wyneb prydferth mwy.

"Dyna ni wedi ei danfon hi trwy'r afon o'r anialwch i Ganaan," ebe James.

"Wel, yn wir, 'roedd hi'n llawer ffitiach i'r nefoedd nag i'r ddyar yma," ebe F'Ewythr Robert.

"Wedi i'r ymdrech farwol fyned trosodd," ebe James, "safai St. Clare fel delw fud uwch ben corff marw ei anwylaf Efa, fel pe na buasai yn gweled, nac yn clywed, nac yn teimlo dim. Yr oedd y dyrnod megys wedi taflu ei enaid i gyflwr o syfrdandod. Yr oedd Adolph a Rosa yn brysur o'i ddeutu yn trefnu yr ystafell, gan osod blodeu o amgylch ogylch, ac oddeutu y corff; edrychai St. Clare arnynt megys heb eu gweled.

Agorodd y drws drachefn, a deuai Topsi i mewn, a'i llygaid yn chwyddedig gan wylo, ac yn dal rhywbeth o dan ei harffedog. Amneidiai Rosa arni yn wgus i fyned ymaith,—ond ymlaen yr äi Topsi.

"Rhaid i chwi fyn'd allan," ebe Rosa, yn ddystaw—ond mewn dull digofus; "nid oes genych ddim *busness* i fod yma."

"O! gadewch lonydd i mi! Y mae genyf flodeuyn, y fath un tlws!" ebe Topsi. "Gadewch i mi i roi un ene."

"Ewch i ffwrdd!" ebe Rosa, yn fwy penderfynol drachefn.

"Gadewch iddi aros," ebe St. Clare yn ddisymwth, gan daro ei droed ar y llawr:—"Hi a gaiff ddyfod!"

Tynodd Rosa ei chorn ati ar hyn, a daeth Topsi ymlaen, a gosododd ei hoffrwm wrth draed y corff; ac yna, taflodd ei hun i lawr yn ddisymwth gyda gwaedd frawychus, a wylai a llefai yn resynus.

Rhedai Miss Ophelia i'r ystafell, ac ymdrechai ei chodi a'i thawelu, ond yn ofer.

"O Miss Efa! O Miss Efa! fi licio fi marw hefyd!"

Yr oedd rhyw wylltineb treiddiol yn ngwaedd y plentyn; rhedai y gwaed i wyneb St. Clare, yr hwn o'r blaen oedd mor wyned a'r mynor, a'r dagrau cyntaf ar ol marw Efa a safent yn ei lygaid.

"Codwch i fyny, blentyn," ebe Miss Ophelia, "a pheidiwch a wylo fel yna; y mae Miss Efa wedi myned i'r nefoedd,—y mae hi yn angel."

"Ond medra i dim 'i gwel'd hi!" ebe Topsi; "a ni cha i byth 'i gwel'd hi!" a thorai i lefain drachefn.

Safasant oll yn ddystaw am enyd.

"Hi d'eyd bod hi 'n caru fi—hi daru hefyd!" ebe Topsi. "O'r anwyl! O'r anwyl! 'does neb wedi adel ar 'i hol hi!—nid oes chwaith!"

"Y mae hyny yn ddigon gwir," ebe St. Clare; "ond edrychwch a fedrwch chwi ddim cysuro rhywfaint ar y creadur truan," ebe fe wrth Miss Ophelia.

"Fi d'muno na b'aswn i 'rioed wedi fy geni," ebe Topsi,—"'doedd arna i dim isio dwad i'r byd yma, ffor yn y byd; mi gwel'd dim iws ar ddyar ynddo fo."

Codai Miss Ophelia hi oddiar lawr, a chymerai hi allan o'r ystafell hòno i'w hystafell ei hunan.

"Topsi bach," ebe hi yn dirion wrthi, "peidiwch tori'ch calon. Yr wyf fi yn eich caru, er nad wyf yn debyg i'r plentyn anwyl hwnw sydd wedi ein gadael. Yr wyf yn gobeithio fy mod wedi dysgu rhywfaint am gariad Crist oddiwrthi hi. Mi allaf fi eich caru,—yr ydwyf yn wir! ac ymdrechaf roddi pob help a allwyf i chwi i ddyfod yn eneth dda a chrefyddol."

Yr oedd dull a llais Miss Ophelia yn dweyd mwy na'r geiriau; ac yr oedd y dagrau gonest a dreiglent tros ei gruddiau yn dweyd mwy na hyny; ac o'r awr hòno allan, hi a ennillodd ddylanwad ar feddwl Topsi na fuasai ganddi erioed o'r blaen; ac ni chollodd mohono byth wedi hyny.

"O fy Efa!" ebe St. Clare ynddo ei hun; "yr hon y darfu i'w bywyd byr ar y ddaear effeithio cymaint o ddaioni.—Y fath gyfrif fydd genyf fi i'w roddi am fy mlyneddau hirion!"

"Ond ni a awn heibio i hanes y claddedigaeth galarus," ebe James.

Yr oedd yno lawer o wychder yn y seremoni bruddaidd hòno. Yr oedd yno liaws o alarwyr hefyd—nid galarwyr mewn enw ac ymddangosiad yn unig; ond galarwyr mewn gwirionedd: ond yr oedd yno un yn teimlo mwy na'r cwbl, un yn gofidio am ei gyntaf a'i uniganedig—a'r fath uniganedig hefyd! Ni raid i mi ddweyd mai St. Clare oedd yr un hwnw; teimlai efe megys

pe buasai ei galon yn disgyn i'r bedd, pan ddodid ei anwylaf Efa ynddo. Nid oedd na llefau na dagrau yn ei alar ef. Y mae eithafoedd tristwch tudraw i wylofain a dagrau. Y mae fel yn rhy ddwfn yn yr enaid i dori allan. Am Marie, yr oedd hi yn gwylltio ac yn llesmeirio, yn gwaeddi ac yn achwyn. Nid oedd neb yn teimlo dim ond y hi, meddai. Yr oedd yn synu at St. Clare ei fod mor ddystaw a dideimlad. Y drwg mawr oedd na buasai yn teimlo trosti hi. Cadwai yr holl dylwyth ar waith o'i deutu, i weini iddi; ond yr oedd yno un oedd yn gallu myned i mewn i ysbryd a theimladau ei feistr, a hwnw oedd F'Ewythr Tomos. Canlynai ar ei led-ol i ba le bynag yr elai; a phan y gwelai ef yn eistedd yn llonydd a gwelw yn ystafell Efa, ac yn dal ei Beibl bychan hi yn agored o'i flaen, er na welai na gair na llythyren o hono, gan ei feddwl wedi ei lyncu yn ei ofid am dani. Yr oedd mwy o dristwch a thrallod, dybiai Tomos, yn y llygad dwys, sefydlog, sych hwnw, nag oedd yn holl lefau a wylofain Marie i gyd.

Symudodd y teulu o'r palas gerllaw y llyn yn fuan i ddinas New Orleans, a cheisiai St. Clare ymysgwyd oddiwrth ei ofid a'i hiraeth, drwy newid lle a golygfeydd; ond pa le bynag yr elai, glynai ei ofid wrtho. Codai allan, ymddyddanai â'i gyfeillion, gwenai, darllenai y newyddiaduron, dadleuai ynghylch *politics*; ond, o dan y cwbl, yr oedd ei galon yn gwaedu, a holl deimladau ei enaid yn archolledig.

"Dyn rhyfedd iawn ydyw St. Clare," ebe Marie wrth Miss Ophelia, un diwrnod, mewn tôn achwyngar. "Yr oeddwn yn wastad yn meddwl, os oedd dim yn y byd hwn a garai, mai ein hanwyl Efa fach ydoedd; ond ymddengys ei fod yn ei hanghofio yn rhwydd iawn. Ni allaf yn fy myw gael ganddo siarad am dani. Yr oeddwn yn dysgwyl y buasai yn dangos mwy o deimlad."

"Y maent yn dweyd i mi fod dyfroedd llonydd yn rhedeg yn ddyfnach," ebe Miss Ophelia.

"O! nid wyf fi 'n credu y fath beth; nid yw ond siarad gwag. Os bydd pobl yn teimlo, hwy a ddangosant hyny—ni allant wrtho; ond eto peth anffortunus iawn yw meddu teimladau. Buaswn i yn dewis yn hytrach fod fel St. Clare. Y mae fy nheimladau yn fy nychu i."

"Yn sicr, missis, y mae Misar St. Clare yn myned mor deneu a'r cysgod;—nid yw byth yn bwyta dim," ebe Mami. "Fi gwbod fo dim anghofio Miss Efa—fi gwbod dalle neb byth i hanghofio hi—y beth bechan anwyl bendigedig."

"Wel, beth bynag, nid yw yn teimlo dim trosof fi," ebe Marie; "ni ddywedodd gymaint a gair o gydymdeimlad wrthyf; a rhaid ei fod yn gwybod faint mwy y teimla mam nag y gall un dyn wneyd."

"Y galon a ŵyr ei chwerwder ei hun," ebe Miss Ophelia yn ddifrifol.

"Dyna'r peth oeddwn i yn ei feddwl. Mi wn i beth ydwyf yn ei deimlo; ond nid yw yn ymddangos fod neb arall yn meddwl. Byddai Efa yn gallu cydymdeimlo â mi; ond y mae hi wedi myned!" ebe Marie, gan ymollwng ar ei glwth, a syrthio i wylofain.

Un o'r creaduriaid annedwydd hyny ydoedd Marie, a orbrisiant y pethau a gollasent, y rhai, tra yr oeddynt yn eu meddiant nad oeddynt byth yn eu gwerthfawrogi. Edrychai ar bob peth o oedd ganddi, i chwilio a nodi allan feiau a gwallau ynddo; ond unwaith y collai ef, nid oedd dim terfyn ar ei chanmoliaeth iddo.

Tra yr oedd yr ymddyddan hwn yn myned ymlaen yn y parlawr, yr oedd un arall yn myned ymlaen yn y llyfrgell.

Tomos, llygaid yr hwn oedd yn wastad ar ei feistr, a'i gwelsai yn myned i'w lyfrgell rai oriau o'r blaen, ac wedi hir ddysgwyl am dano i ddyfod allan, penderfynodd o'r diwedd fyned i mewn ɩt . Aeth i mewn yn araf ddystaw. Yr oedd St. Clare yn gorwedd ar lwth, yn mhen pellaf yr ystafell. Gorweddai ar ei wyneb, â Beibl Efa yn agored o'i flaen, ychydig oddiwrtho. Rhodiai Tomos ymlaen ato, a safai yn betrusgar, heb wybod beth a wnelai. Cyfodai St. Clare i fyny yn sydyn; edrychodd arno. A'r ymddangosiad didwyll o serch, pryder, a chydymdeimlad, a welai yn wyneb Tomos, a gofodd effaith ddwys ar deimladau ei feistr. Rhoddodd ei law arno, a gogwyddai ei ben i orphwys arni.

"O! Tomos, fy machgen, y mae yr holl fyd mor wag a phlisgyn wy!" ebe fe.

"Mi a wn misar, mi a wn," ebe Tomos. "Ond O! tae misar dim ond ydrach i fyny—i fyny lle mae 'n hanwyl Miss Efa—i fyny at yr Arglwydd Iesu."

"Ha! Tomos! yr wyf yn edrych i fyny; ond y drwg ydyw; nid wyf yn gallu gweled dim er edrych. Mi a ddymunwn pe gallwn."

Ocheneidiai Tomos yn ddwys.

"Ymddengys y rhoddwyd i blant, a rhai bychain syml fel chwi, i allu gweled pethau na allwn i—pa fodd y mae hyny yn bod?" ebe St. Clare.

"'Am i ti guddio y pethau hyn rhag y doethion a'r rhai deallus, a'u dadguddio o honot i rai bychain,'" ebe Tomos, "ïe, O Dad, canys felly y gwelid yn da yn dy olwg di.'"

"Tomos, nid wyf fi yn credu—ni allaf gredu. Yr wyf wedi arfer ammheu," ebe St. Clare, "Mi a ddymunwn gredu y Beibl hwn,—ond ni allaf."

"Misar anwyl—gw'ddiwch ar yr Arglwydd—'Arglwydd yr wyf yn credu, cymhorth fy anghrediniaeth,' fel ene, misar anwyl"

"Pwy a ŵyr ddim am ddim oll?" ebe St. Clare, â'i lygaid yn arswydo, ac yn siarad megys wrtho ei hun.—"A oedd yr holl gariad prydferth, a'r ffydd hyny yn ddim yn y byd ond rhyw gysgod ac ymddangosiad o deimlad dynol—heb ganddynt ddim gwirioneddol i bwyso arno, ac yn diflanu ymaith gyda'r anadl. Ai nid oes yr un Efa mwyach, yr un nefoedd—yr un Crist—dim oll?"

"O, misar anwyl, oes y mae, mi wn y fod; yr wy'n sicir o hono," ebe Tomos, gan syrthio ar ei liniau. "Credwch, o Misar anwyl—credwch!"

"Pa fodd y gwyddoch fod Iesu Grist yn bod, Tomos? ni welsoch ef erioed."

"Mi teimlo fo yn f' ened, misar—fi teimlo fo 'rwan! O misar, pen ges i ngwerthu ffwrdd oddiwrth fy hen wraig a'r plant, mi bron gwallcofi—mi teimlo fel tase pob peth wedi darfod; ond mi safodd yr Arglwydd da yn fy ymyl, a mi ddeydodd, 'Na ofna dim, Tomos:' a mi daeth â gole a llawenydd i ff'ened i, a mi naeth y cwbl i fyny; a mi 'rwan mor hapus, ac yn caru pawb, ac yn teimlo yn 'wllysgar i fod yn eiddo 'r Arglwydd, a gneyd i 'wllys o, a bod yn rhwle lle bo'r Arglwydd isio i mi bod. Fi gwbod dalle hyn dim dwad o hona i, oblegid fi 'n gr'adur tlawd, grwgnachlyd. O'r Arglwydd y mae y peth, a fi gwbod bod o 'n gw'llysgar i neyd 'run peth i misar."

Llefarai Tomos â'i ddagrau yn ffrydio tros ei wyneb, a'i wylofain yn boddi ei lais. Gorphwysai St. Clare ei ben ar ysgwydd Tomos, a gwasgai ei law.

"Tomos, yr ydych yn fy ngharu," ebe fe.

"Fi 'n gw'llysgar i roid y mywyd i lawr heddyw, er mwyn gwel'd misar yn Gristion," ebe Tomos.

"Y bachgen ffol!" ebe St. Clare, gan hanner gyfodi. "Nid wy' fi yn werth cariad un galon onest ddaionus, fel yr eiddoch chwi."

"O misar! y mae un mwy na fi yn caru chi!—mae'r Arglwydd Iesu bendigedig yn caru chi."

"Pa fodd y gwyddoch chwi hyny, Tomos?" ebe St. Clare.

"Fi teimlo fo yn ff'ened, O misar! 'Cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth!'"

"Syndod!" ebe St. Clare, gan droi draw,—"bod hanes dyn a fu byw a marw ddeunaw can' mlynedd yn ol yn gallu effeithio fel hyn ar bobl yn awr. Ond nid dyn oedd efe," ebe fe yn sydyn drachefn. "Ni fu gan un dyn erioed y fath allu grymus a hirbarhaol. O na allwn gredu yr hyn a ddysgodd fy mam i mi, a gweddïo fel y gallwn pan oeddwn yn fachgen."

"Os gwelith misar yn da," ebe Tomos, "bydde Miss Efa yn arfer darllen y pennod yma mor dlws. Mi bydde da gen i tae misar yn i darllen o—fi cael neb i darllen ar ol Miss Efa."

Yr unfed ar ddeg o *Ioan* ydoedd y bennod—yr hanes effeithiol am godi Lazarus. Darllenai St. Clare hi yn uchel, ond gor-

fyddai iddo ymaros yn aml, gan fel yr oedd yr hanes yn meistroli ei deimladau. Penliniai Tomos o'i flaen, â'i ddwylaw yn mhleth, a dynodiant o serch, hyder, a ffyddlondeb, yn gwisgo ei wynebpryd gonest.

"Tomos," ebe ei feistr, "y mae hyn oll yn ymddangos yn beth gwirioneddol i chwi."

"Fi gallu i jest i wel'd o 'n blaen digon, misar," ebe Tomos.

"Mi fuasai dda genyf pe cawswn i eich llygaid, Tomos."

"Fi dymuno o nghalon ar yr Arglwydd, i misar 'u cael nhw!"

"Ond chwi a wyddoch, Tomos, fod genyf fi lawer iawn mwy o wybodaeth na chwi: beth pe dywedwn wrthych nad wyf fi yn credu y Beibl hwn?"

"O misar!" ebe Tomos, gan godi ei ddwylaw mewn arswyd.

"Ai ni siglai hyny ddim ar eich ffydd chwi, Tomos?"

"Dim un rhithin!" ebe Tomos.

"Paham, Tomos? rhaid i chwi wybod y gwn i fwy na chwi!"

"O misar! ai ni daru chi darllen fel y mae o'n cuddio oddiwrth y rhai doethion a'r rhai deallus, ac yn dadguddio i'r rhai bychen. Ond toedd misar dim o difri 'rwan yn sicir," ebe Tomos, drachefn, yn bryderus.

"Nac oeddwn, Tomos; nid oeddwn o ddifrif—nid wyf yn anghredu—ac yr wyf yn meddwl bod rheswm i gredu—ond eto nid wyf yn credu. Yr wyf yn rhyw ammheu, ac y mae hyny yn beth drwg a phoenus."

"Tae misar yn gw'ddïo," ebe Tomos.

"Pa fodd y gwyddoch nad wyf yn gweddïo, Tomos?"

"Bydd misar yn gw'ddïo?"

"Mi a wnawn, Tomos, pe byddai rhywun yno i'w gael pan fyddwn yn gweddïo; ond nid yw ddim ond llefaru wrth ddyddymdra, pan fyddaf yn gwneyd. Ond dowch, Tomos, gweddïwch yn awr, a dangoswch i mi sut i wneyd."

Yr oedd calon Tomos yn llawn, a thywalltodd hi allan mewn gweddi ag oedd wedi ei gwasgu i mewn er's meityn. Yr oedd un peth yn eglur ddigon; yr oedd Tomos yn credu fod yno rywun i wrandaw, pa un bynag ai bod ai peidio. Teimlai St. Clare ei hun yn cael ei gludo ymaith gan lifeiriant ei ffydd a'i deimlad megys at byrth y nefoedd, a theimlai fel pe buasai yn cael ei ddwyn yn agosach at Efa.

"Diolch i chwi, fy machgen," ebe St. Clare. "Yr wyf yn caru eich clywed, Tomos; ond ewch, a gadewch fi i mi fy hun. Mi siaradaf ragor â chwi ryw dro arall."

Gadawodd Tomos yr ystafell yn ddystaw.

"Y mae bellach yn hen bryd i ninnau fyned i ffwrdd yn ddystaw," ebe James. "Yr ydych wedi bod yn ddystaw iawn i gyd yma heno."

"Dystawrwydd oedd yn gweddu i'r stori brudd-alarus a gawsom;" ebe Modryb Elin, "ac yr oedd hi 'n stori orfoleddus

hefyd, ar un olwg. Yr oedd dydd ei marwolaeth yn well na dydd ei genedigaeth i Efa bach; ond yr oedd yn ddiwrnod tywyll a du yn y teulu; ac nid rhyfedd fod yno 'r fath wylofain a dagrau ar yr amgylchiad, pan oedd un a wnaethai ei hunan mor anwyl i bawb yn ymadael oddiwrthynt am byth."

"Y mae yn dda gen i bod y stori ene drosodd," ebe F'Ewythr Robert. "Ond druan o'i thad hi! fedra i ddim peidio a meddwl am dano fo."

"Yr oeddwn i yn teimlo yr ymddyddan rhyngddo fo a F'Ewythr Tomos yn y llyfrgell, yn effeithio braidd fwy arnaf fi na dim yn yr hanes," ebe Mrs. Harris. "Yr oeddwn yn ceisio casglu gobaith fod rhyw lewyrch yn dechreu tori ar ei gyflwr. Pwy a ŵyr na fu marwolaeth Efa yn fywyd iddo fe, wedi'r cwbl?"

"Os felly fu," ebe Modryb Elin,—

'Fe esgorodd dyfnder galar
Ar lawenydd hyfryd iawn'

yn y diwedd. Felly, y mae efe yn peri

'I'r hyn sydd yn wenwyn perffaith,
Rai amserau i wella clwy',
Pan mae 'r feddyginiaeth oreu,
Rai amserau 'n clwyfo mwy.'

Felly, bu'r oruchwyliaeth lem yna yn sicr o effeithio er ei ddwyn ato ei hun, ac at Dduw; neu efe a aeth ymhellach a chaletach nag oedd o'r blaen."

"Mi 'roedd o 'n deyd y mhrofiad i 'ninion, pen oedd o'n son sut y bydde hi arno fo wth geisio gw'ddïo," ebe F'Ewythr Robert. "Methu a chael bod gin i neb o 'mlaen—neb i fyn'd ato fo; wel tae dim ond t'w'llwch o flaen y'n llygid i, nes bydd ym meddwl i 'n rhw gaffio ac yn pylfalu, r'wsut."

"Wel, 'os gallant ymbalfalu am dano ef, a'i gael,'" ebe Mrs. Harris, "'nid yw efe yn ddiau nepell oddiwrth bob un o honom.' Y mae yn werth dal ati i ymbalfalu am oes, os ceir ef yn y diwedd, F'Ewythr Robert, bach."

"Bu Job yn cwyno rywbeth yn debyg," ebe Modryb Elin. "'O! na wyddwn pa le y cawn ef! fel y deuwn at ei eisteddfa ef;' ac yn troi ar dde ac ar aswy, yn ol ac ymlaen, 'ond ni fedraf ei ganfod ef,' meddai. Ond yr oedd hyny o gysur ganddo,—'Efe a edwyn fy ffyrdd i.' Y mae yn dywyll fel yna ar wir Gristion, weithiau. Ac ebe Elihu wrtho, 'Er dywedyd o honot na weli ef, eto y mae barn ger ei fron ef, dysgwyl dithau wrtho.'"

"'D oedd hi ddim felly ar F'Ewyrth Tomos," ebe F'Ewythr Robert; "mi 'r oedd o 'n medrud gafel r'wsut."

"Ië, dyna yw gweddïo yn iawn—gafael, chwedl chwithau," ebe Modryb Elin; "ond rhaid palfalu cryn lawer, weithiau, cyn cael gafael. 'Nid oes a alwo ar dy enw, nac a ymgyfyd i ym-

aflyd ynot,' meddai'r prophwyd Esay. Rhaid ymgodi i ymaflyd —ymgodi o'r cnawd, ac uwchlaw rheswm—ymgodi mewn ffydd; nid oes dim ond gallu ffydd a'n cwyd ni, ac a'n nertha ni i ymaflyd mewn gweddi. 'Canys rhaid i'r hwn sydd yn dyfod at Dduw gredu ei fod ef, a'i fod yn obrwywr i'r rhai sy'n ei geisio.' Mae lle i ofni fod llaweroedd o rywbethau elwir yn weddïau, yn bethau meirw, heb ddim gafael ynddynt. Fe allai y bydd y gweddïwr, druan, yn llawn o wres o ryw fath, ac yn cynneu i dân, gan ei amgylchu ei hun â gwreichion o eiriau, a bloeddiadau, a'r nefoedd fel yn dweyd uwch ei ben—'Rhodia dithau wrth lewyrch dy dân, ac wrth y gwreichion a gynneuaist;' ac 'ni dderbyn y dyn hwnw ddim gan yr Arglwydd.' Y mae ambell un arall fel Tomos, yn myn'd i'r nefoedd rhag ei flaen. Y mae yn gafael mewn rhyw addewid, ac yn gafael yn ei Dduw hefo'r addewid hòno; ac y mae yn gafael yn nghydwybod a theimlad pawb fo'n ei glywed o, nes y maent hwy yn teimlo, a nefoedd a daear fel yn cyd-ddweyd, "Wele, y mae efe yn gweddïo.' Yr oedd mwy o hen weddïwyr fel hyn er's talwm nag sydd 'rŵan, mi fyddaf fi yn ofni."

"Hwyrach mai chwi sy'n myn'd yn hen, Modryb Elin," ebe Mrs. Harris. "Y mae cryn duedd mewn hen bobl i feddwl fod pobpeth yn myn'd yn waeth nag ydoedd er's talwm. Mi glywais i un hen ŵr yn taeru nad ydyw y tywydd, na'r haul, na'r lleuad, na'r gwynt, na'r gwlaw, ddim byd yn debyg ag oeddynt yn yr hen amser; ac yr oedd yr hen ŵr yn barnu yn sicr oddiwrth hyny bod diwedd y byd ger llaw."

"Wel, yn wir, hwyrach mai ynof fi y mae 'r cyfnewidiad," ebe Modryb Elin, "a gobeithio mai ïe, hefyd; mae o'n bod, beth bynag, yn mh'le bynag y mae o. Mi fydda innau, fel yr hen ŵr hwnw hefo'r haul a'r lleuad, yn meddwl yn aml nad ydyw'r pregethu, na'r gweddïo, na'r canu, na'r profiadau, ddim fel yr oeddynt er's talwm. Nid ydwyf yn gwel'd neb na dim yn aros yr un fath o hyd, ond yr hen Feibl yma. Ac mi fyddaf fel pe bawn yn teimlo rhyw fwy o undeb rhyngwyf a'r hen bobl sy wedi blaenu, nag sy rhyngwyf a'r tô presennol o grefyddwyr."

"Tynu yn agos i fyn'd ar eu hole nhw yr ydych, Modryb Elin," ebe Mrs. Harris.

"Mi fyddaf yn cael fy hun, weithiau," ebe Modryb Elin, "yn ysbryd yr hen bennill hwnw,—

> "'R wy'n teimlo f' ysbryd am gartrefu
> Gyda'r dorf aneirif fawr,
> O rai cyntafanedigion,
> Sydd o fewn y nef yn awr."

"Wel, hai! hai! dowch adre, mam," ebe James; "mae hi yn rhy hwyr i chwi fyn'd i'r nefoedd heno. Os ewch chwi a Modryb Elin yno unwaith, ddowch chwi ddim yn eich holau y rhawg."

"Ië, pe baem yno unwaith, ni fyddai arnom eisieu dyfod yn ein holau byth," ebe Modryb Elin. "Ni fyddai raid—

——— 'Teithio'r ddaear mwyach
Ymhlith temtasiynau'r llawr,
Ond dysgleirio'n mysg myrddiynau,
O gylch yr orsedd, fel y wawr.'"

"Wel, wel, treiwch y nghael inne hefo chi ono," ebe F'Ewythr Robert, yn bur ddifrifol.

"Na, 'n wir, f'ewyrth, rhoswch chi yma, hefo ni," ebe Cati, "os rhaid i modryb gael myn'd."

"Na, ni 'rosa inne ddim yn hir iawn yma eto," ebe F'Ewythr Robert, gan ysgwyd ei ben. "'Rydw i wedi cael aros yn hir iawn—yn rhy hir o lawer, o ran dim defnydd neis i o nyddie. Mi 'naeth yr Efa bach hòno fwy o dd'ioni mewn un trigen mynyd o'i bowyd, na neis i mewn trigen mlynedd. Mae mowyd yn myddangos i mi yn beth gwahanol iawn i ddim y gwelis i o 'rioed o'r blaen, y dyddie yma."

Edrychodd Cati yn synllyd ar ei hewythr, ond ni ddywedodd ddim. Ac ar hyn, ymadawodd y dyeithriaid i fyned adref.

---

## NOSON XXVII.

"STORI brudd-alarus tua'i diwedd sydd genyf i'w hadrodd i chwi heno eto," ebe James: "ac wedi i mi adrodd hòno i chwi, mi a grynhoaf y gweddill o'r 'Caban' yn bur fyr, i roddi terfyn arni. Yr wyf wedi bod eisoes yn llawer hwy nag y bwriedais pan oeddwn yn dechreu."

"Cymer d'amser, machgen i, cymer d'amser," ebe F'Ewythr Robert. "Mae arna i ofn yn y nghalon dy wel'd di 'n darfod. Mi 'rydw i chwedi cael llawer iawn iawn o bleser o'r hen 'Gaban' ene, a pheth lles hefyd, 'rwy'n gobeithio."

"Dyma fel y dechreua y llyfr y stori bruddaidd wyf yn myned i adrodd i chwi heno," ebe James:—

Llithrai wythnos ar ol wythnos heibio yn mhalasdŷ St. Clare, ac ymsefydlai tònau bywyd drachefn yn eu llonyddwch arferol, wedi i'r llestr bychan hwnw ymsuddo danynt. Mor feistrolgar a gorthrechol, er yn waethaf i'n holl deimladau, y myn galwedigaethau cyffredin, oerllyd, bywyd, weithio eu ffordd ymlaen! Rhaid i ni fyth fwyta, ac yfed, a chysgu, a deffro drachefn—bargenio, prynu, gwerthu, gofyn ac ateb cwestiynau—yn fyr, erlyn ar ol mil o gysgodion, er y dichon y bydd pob dyddordeb ynddynt wedi darfod. Y mae yr ymarferiad oerllyd o alwedigaethau bywyd yn aros, er y bydd pob teimlad o hyfrydwch ynddynt wedi dianc.

Yr oedd holl deimladau a gobeithion bywyd St. Clare wedi ymglymu megys yn ddiarwybod iddo am Efa. Er ei mwyn hi y trefnai ei feddiannau, y cynlluniai, ac y gwnelai hynyma a hynacw;—prynu, cyweirio, newid, dillynu, er ei mwyn hi, oedd wedi bod gyhyd yn ymarferion ganddo—fel, yn awr, wedi iddi fyned, ymddangosai nad oedd dim yn y byd i'w wneyd, nac i feddwl am dano.

Y mae yn wir fod bywyd arall—un, os unwaith y credir ynddo, a saif fel ffugr difrifol, arwyddocaol, o flaen y pethau, oni bai ei fod ef, a ellid eu galw yn wagnodau diystyr amser; ond yn eu cysylltiad âg ef, newidir hwy i wrthddrychau cyfrinol, o werth annhraethadwy. Gwyddai St. Clare hyn yn dda; a llawer gwaith y clywai megys y llais plentynaidd yn galw arno oddiuchod, ac y gwelai y llaw fechan hòno yn pwyntio allan ffordd y bywyd iddo. Ond yr oedd marweidd-dra galar dwys yn pwyso arno—ymgodi nis gallai. Yr oedd yn feddiannol ar y naturiaeth hòno a allai ddirnad pethau crefyddol yn eglurach a chywirach drwy ei chraffder a'i greddfau cynhenid, nag y gall llawer Cristion gwirioneddol ac ymarferol. Ymddengys bod y ddawn i allu gwerthfawrogi, a'r syniad i deimlo dillynder cuddiedig prydferthion moesol, yn feddiannol yn aml gan y rhai ag y mae eu holl fywyd yn arddangos diofalwch diystyr o honynt. Felly y llefara Moore, Byron, a Goethe, yn fynych, ymadroddion mwy doeth a desgrifiadol o wir syniadaeth grefyddol, nag allai llawer dyn arall ag y mae ei holl fywyd yn cael ei lywodraethu gan grefydd wneyd. Y mae diystyrwch o grefydd yn drosedd mwy ofnadwy yn y cyfryw ddynion—yn bechod marwol.

Ni chymerasai St. Clare arno erioed i lywodraethu ei hun âg unrhyw rwymedigaeth grefyddol. Yr oedd ganddo y fath olygiadau greddfol, megys, am eangder y rhwymedigaethau Cristionogol, fel yr ymgiliai yn ol mewn rhagolwg ar yr hyn a ragdeimlai a wasgid ar ei gydwybod, os unwaith yr ymroddai iddynt. Oblegid y mae y natur ddynol mor anghyson, yn neillduol mewn personau cyrhaeddgraff, fel yr ymddengys esgeuluso peth yn gwbl oll yn well nag anturio arno a methu ei gyflawni yn berffaith.

Er hyn oll, yr oedd St. Clare, mewn llawer o bethau, yn ddyn arall..

"O! mae yn dda gen i glowed hyn ene," ebe F'Ewythr Robert. "Mae ene rw obeth bach y daw o'n ddyn arall trwyddo toc. Ond sut y mae hi 'n myn'd ymlaen?"

"Wel, fel hyn," ebe James, gan fyned ymlaen â'r stori:—

Efe a ddarllenai yn Meibl bach Efa yn amlach, ac yn fwy difrifol a dwys. Meddyliai yn ddwysach a difrifolach am ei gysylltiadau â'i weinidogion, a phethau eraill, nes y teimlai yn hynod o anfoddlawn wrth ei ddull blaenorol a phresennol o fyw;

ac un peth a wnaeth yn fuan wedi ei ddychweliad i New Orleans, oedd dechreu y gorchwylion cyfreithiol ag oedd yn anghenrheidiol i wneuthur F'Ewythr Tomos yn ŵr rhydd; yr hyn oedd i gael ei gwblhau yn berffaith mor gynted ag y gellid myned trwy y ffurfiau gofynol yn y gyfraith. Ar yr un pryd, yr oedd yn myned yn hoffach hoffach o Tomos bob dydd. Nid oedd dim yn yr holl fyd a ddygai Efa ar gof iddo mor effeithiol a Tomos; cadwai ef yn agos ato yn wastadol; ac er mor gynnil a gochelgar ydoedd i ddangos ei deimladau a'i feddwl, byddai yn eu gollwng allan gyda Tomos; ac ni buasai neb yn synu wrth hyny chwaith, o'r rhai welsent y dynodiant o'r serch a'r ffyddlondeb, gyda'r rhai y canlynai Tomos ei feistr ieuanc bob amser.

"Wel, Tomos," ebe ei feistr, dranoeth wedi iddo ddechreu gosod goruchwyliaeth ei ryddhad ar waith. "Yr wyf yn myned i wneyd gŵr rhydd o honoch; felly, ceisiwch eich pethau yn barod i fyned i Kentuck."

Y llewyrchiad disymwth o lawenydd yn wynebpryd Tomos, fel y cyfodai ei ddwylaw, ac y torai allan gan ddywedyd, "Bendigedig fyddo 'r Arglwydd!" a darawodd rywbeth yn chwith ar St. Clare; nid oedd yn hoffi gweled Tomos mor barod i'w adael.

"Ni chawsoch y fath amser caled yma, fel y byddai raid i chwi fod mor awyddus, Tomos," ebe fe, braidd yn sychlyd.

"Na, na, misar! nid hyny ydi 'r peth—bod yn ddyn *rhydd!* Dene 'r peth 'rydw i 'n gorf'leddu am dano."

"Wel, Tomos, ai nid ydych yn meddwl eich bod yn well allan yma, o'ch rhan eich hunan, na phe buasech yn ŵr rhydd?"

"Nag wyf, yn wir, misar!" ebe Tomos, gydag angerdd neillduol. "Nag wyf, yn wir!"

"Paham, Tomos? ni allasech byth ennill, wrth eich diwrnod gwaith, y fath ddillad, a'r fath fywioliaeth, ag a roddais i chwi."

"Fi gw'bod hyny, Misar St. Clare; bydde gwell gin i gael dillad sal, cartre' sal, pobpeth sal, a'u cael nhw 'n eiddo i fi fy hun, na chael y peth gore, a nhwthe 'n eiddo dyn arall. Fi teimlo felly, misar. Fo 'n peth naturiol, misar, fi meddwl."

"Y mae yn debyg genyf ei fod felly, Tomos; chwi a fyddwch yn myned ymaith, ac yn fy ngadael i yn mhen tua mis," ebe fe, braidd yn anfoddog; "ond paham na ddylech fod yn llawen am hyny, y mae yn anhawdd i neb ddweyd," ebe fe, drachefn, mewn tôn siriolach; a chan godi i fyny, efe a rodiai yn ol a blaen ar y llawr.

"Fi dim gadel, tra bo misar mewn trwbwl," ebe Tomos; "fi aros tra bo misar isio fi, os gall fi fod o rw defnydd."

"Tra byddwyf fi mewn trallod, Tomos?" ebe St. Clare, gan edrych yn synllyd trwy y ffenestr. "A, pha bryd y bydd fy nhrallod heibio?"

"Pan daw Misar St. Clare yn Cristion," ebe Tomos.

"Ac yr ydych yn meddwl aros hyd y diwrnod hwnw?" ebe St. Clare, gan led-wenu, fel y troai ei wyneb oddiwrth y ffenestr, a gosod ei law ar ysgwydd Tomos,—"Ffei, Tomos, y bachgen meddal a diniwed! Ni chadwaf mo honoch hyd hyny. Ewch adref at eich gwraig a'ch plant, a chofiwch fi atynt oll yn garedig."

"Fi ffydd i gredu y daw 'r diwrnod hwnw," ebe Tomos yn ddifrifol, â'i ddagrau yn ei lygaid,—"y mae gan yr Arglwydd gwaith i misar."

"Gwaith, ai 'e?" ebe St. Clare. "Wel, yn awr, Tomos, rhowch i mi gael eich barn pa fath waith ydyw,—gadewch glywed."

"Wel, y mae gen gr'adur tlawd fel fi waith i neyd dros yr Arglwydd; a Misar St. Clare, sy' gantho 'sgeidieth a choweth, a chyfeillion—faint mawr galle fo neyd tros Duw?"

"Yr oeddwn yn meddwl, Tomos, fod ar yr Arglwydd ein heisieu ni i wneyd llawer trosto," ebe St. Clare dan wenu.

"Ni g'neyd gwaith tros Dduw, pan bo ni g'neyd rhw w'sanetl i'w gr'aduried o?"

"Dyna dduwinyddiaeth ragorol, Tomos, gwell na'r hon a bregetha Dr. B——, mi wnaf lŵ," ebe St. Clare.

Atelid yr ymddyddan ar hyn gan un yn hysbysu bod ymwelwyr wedi dyfod i mewn.

Wedi hyn, rhoddir desgrifiad o'r modd yr effeithiodd marwolaeth Efa ar wahanol aelodau y teulu. Gyda golwg ar Marie, yr oedd hi yn fwy drwgnwydog, anniddig, grwgnachlyd, ac annyoddefol nag erioed, ymroddai i wneyd pawb o'i hamgylch yn annedwydd. Teimlai y gweinidogion, yn enwedig Mami druan, y golled am Efa bach yn ddirfawr; byddai hi yn sefyll yn darian a chysgod iddi hi ac eraill o'r gweinidogion rhag dialedd nwydau ei mam anynad. Yr oedd galar Mami yn neillduol ar ol ei meistres ieuanc yn ddwys a dwfn iawn—wylai nos a dydd ar dori ei chalon.

Teimlai Miss Ophelia y golled yn fawr iawn; ond yn ei chalon gywir, onest hi, dygai y teimlad 'ffrwyth i fywyd tragywyddol.' Yr oedd fyth mor ddiwyd a dyfal-fanwl yn y cyflawniad o'i dyledswyddau, ond yr oedd yn eu cyflawni mewn ysbryd arall. Yr oedd yn dirionach ac addfwynach ei thymher—yn fwy dyfal-ymroddgar i addysgu Topsi—ni ochelai gyffwrdd â hi, fel o'r blaen, ac ni ddangosai un teimlad o adgasrwydd tuag ati, canys ni theimlai felly mwyach. Edrychai arni yn awr fel creadur anfarwol, a anfonasid gan ragluniaeth ddwyfol iddi i'w dysgu a'i harwain i ogoniant a rhinwedd.

Ni ddaeth Topsi yn sant ar unwaith, ond yr oedd bywyd a marwolaeth Efa wedi effeithio cyfnewidiad amlwg ynddi. Nid oedd mwyach yn ystyfnig annheimladwy, ond dangosai ei bod

yn dymuno ac yn ymdrechu yn ddifrifol i fod yn ufudd a da,—ymdrech afreolaidd, ac a dorid yn fynych, y mae yn wir; ond hi a gynnygiai arno drachefn a thrachefn.

Un diwrnod, pan alwai Miss Ophelia ar Topsi, hi a ddaeth i'r ystafell dan wthio rhywbeth i'w mynwes.

"Beth ydych yn ei wneyd yna, y faeden? chwi a fuoch yn lladrata rhywbeth, mi wn yn dda," ebe y ffraethbert Rosa, yr hon a anfonasid i'w galw—a chydiai yn galed yn ei braich.

"Ewch chi 'nghylch y'ch busness, Miss Rosa!" ebe Topsi, gan dynu oddiwrthi "tydi o dim yn perthyn i chi."

"Dim o'ch coegni!" ebe Rosa, "mi a'ch gwelais yn cuddio rhywbeth—mi a wn am eich castiau." Ac ymaflai Rosa ynddi drachefn, a cheisiai wthio ei llaw i'w mynwes, tra yr ymdrechai ac y ciciai Topsi yn wrol, gan ymladd dros ei hiawnderau. Dygodd sŵn yr ymrysonfa Miss Ophelia a St. Clare i'r lle.

"Y mae wedi bod yn lladrata," ebe Rosa.

"Naddo, ddim," gwaeddai Topsi mewn wylofain a chyffro.

"Rhowch ef i mi, beth bynag sy genych!" ebe Miss Ophelia yn benderfynol.

Petrusai Topsi i ufuddhau, ond ar yr ail orchymyn, hi a dynai allan o'i mynwes becyn bychan, wedi ei wneyd i fyny yn nhroed un o'i hen hosanau ei hun.

Agorai Miss Ophelia ef. Yr oedd ynddo lyfr bychan, a roddasai Efa i Topsi, yn cynnwys adnod o'r ysgrythyr wedi ei threfnu am bob dydd o'r flwyddyn. A'r cydyn gwallt a roddasai iddi ar y diwrnod hygof hwnw y canasai yn iach i'r gweinidogion, wedi ei lapio mewn papyr.

Effeithiodd yr olwg yn ddwys iawn ar St. Clare: yr oedd y llyfr bach wedi ei gau mewn llain hir o alarwe du, a dorasid o'i galarwisgoedd.

"I ba beth y rhwymwch y llyfr i fyny yn hwn?" ebe St. Clare, gan ddal y llain galarwe yn ei law.

"Am—am—am—i fod o 'n perthyn i Miss Efa. O peidiwch cym'ryd o ffwrdd, os gwelwch yn da!" ebe hi, gan eistedd ar y llawr, a llefain yn ddwys iawn.

Yr oedd yr olygfa yn gymysg o'r prudd a'r digrifol. Yr hen hosan—y llain galarwe—y llyfr—y cydyn gwallt prydferth;—a mawr drallod Topsi.

Gwenai St. Clare, ond yr oedd dagrau yn codi i'w lygaid, fel y dywedai,—"Dowch, dowch, peidiwch wylo; chwi a'i cewch hwy," ac wedi eu dodi ynghyd, efe a'u taflai ar ei glin, a galwai Miss Ophelia gydag ef i'r parlawr.

"Yr wyf yn meddwl yn wir y gellwch wneyd rhywbeth o'r eneth yna," ebe fe. "Y mae y meddwl sydd yn alluog i deimlo gwir alar fel yna, yn un gobeithiol y gellir gwneyd rhyw dda o honi. Rhaid i chwi ddal ati i edrych beth a ellwch wneyd o' honi."

"Y mae y plentyn wedi gwella yn rhyfeddol," ebe Miss Ophelia, "y mae genyf obaith cryf am dani. Ond Augustine," ebe hi, gan ddodi ei llaw ar ei ysgwydd, "y mae genyf un peth i'w ofyn, Pwy sydd i berchenogi y plentyn hwn? y chwi, ynte fi?".

"Oni ddarfu i mi ei rhoddi i chwi?" ebe St. Clare.

"Ond nid yn ol y gyfraith: y mae arnaf eisieu ei chael yn feddiant cyfreithlawn i mi."

"Wel, fy nghares," ebe St. Clare, — "beth a feddylia Cymdeithas y Diddymiad? Hwy a apwyntiant ddiwrnod o ympryd am y gwrthgiliad hwn, os trowch chwi yn gaethfeistres."

"O! *nonsense!* Y mae arnaf eisieu ei chael yn eiddo i mi, fel y byddo genyf hawl i'w chymeryd i'r taleithiau rhyddion, a rhoddi ei rhyddid iddi, fel na byddo i'r cwbl wyf yn geisio wneyd iddi, gael ei ddadwneyd."

"O! fy nghares! y fath wneyd drwg fel y del daioni, ydyw peth fel yna!"

"Nid oes arnaf eisieu i chwi ysmalio, ond rhesymu," ebe Miss Ophelia, "nid yw o un dyben i mi ymdrechu addysgu y plentyn hwn, os na allaf ei ddiogelu rhag niweidiau y gaethwasiaeth. Ac os ydych mewn gwirionedd yn foddlon i mi ei chael—y mae arnaf eisieu i chwi wneyd rhodd-ammodeb (*deed of gift*), neu ryw bapyr a ddalio yn wyneb cyfraith!"

"Wel, wel," ebe St. Clare, "mi a wnaf hyny," ac eisteddai i lawr, a chymerai newyddiadur i fyny i ddarllen.

"Ond y mae arnaf eisieu ei chael yn awr," ebe Miss Ophelia.

"Beth ydyw 'r brys yn awr sydd arnoch?"

"Oblegid mai yr awr hon ydyw yr unig amser i wneyd un peth," ebe Miss Ophelia; "dowch yn awr, dyma bin a phapyr ac inc, ysgrifenwch bapyr!"

Yr oedd St. Clare, fel y rhan fwyaf o ddynion o'r un ansawdd natur ag ef, yn gas iawn ganddo ymaflyd mewn gorchwyl yn yr amser presennol, gan hyny yr oedd yn bur anfoddog wrth Miss Ophelia am wasgu mor galed arno.

"Beth yn y byd yw y mater," ebe fe, "ai ni ellwch gymeryd fy ngair, fe ellid meddwl eich bod wedi cymeryd gwersi gan Iuddewon, wrth eich bod yn gwasgu mor galed ar ddyn!"

"Y mae arnaf eisieu gwneyd yn sicr o'r peth," ebe Miss Ophelia. "Gallech chwi farw, neu fethu yn eich amgylchiadau, ac yna hyrddid Topsi ymaith i'w gwerthu, er dim oll a allwn i wneyd erddi."

"Wel, yn wir, yr ydych yn ddarbodus i'r eithaf, ond gan fy mod wedi syrthio i ddwylaw Janci, nid oes dim i'w wneyd ond cydsynio."

Ymaflai yn y pin, ac ysgrifenai yr ammodeb rhag blaen: yr

hyn a allasai ei wneyd yn hawdd, gan ei fod yn hollol gydnabyddus â ffurfiau y gyfraith: a dododd ei enw wrth y papyr.

"Dyna, ai nid yw ar ddu a gwyn yn awr, Miss Vermont!" ebe fe, gan estyn y papyr iddi.

"Dyna fachgen da," ebe Miss Ophelia, "ond ai nid oes eisieu enw tyst wrtho?"

"O! gwir iawn, oes:" a galwodd ar Marie i ddyfod i mewn.

"Marie, y mae ar eich cares eisieu eich enw, dodwch ef i lawr yn y fan yma."

"Beth yw hyn?" ebe Marie, fel yr edrychai tros y papyr. "Y fath ynfydrwydd, yr oeddwn yn meddwl bod ein cares yn rhy grefyddol i wneyd y fath bethau arswydus; ond" ebe hi, gan ymaflyd yn y pin, ac ysgrifenu ei henw, "gan fod ganddi awydd i'r teclyn yna, y mae iddi groeso o hono, yr wyf fi 'n siwr."

"Dyna yn awr, y mae yn eiddo i chwi, gorff ac enaid," ebe St. Clare, gan estyn y papyr iddi.

"Nid yw ddim mwy yn eiddo i mi yn awr nag oedd o'r blaen," ebe Miss Ophelia, "nid oes gan neb ond Duw hawl i'w rhoddi i mi, ond mi a allaf ei hamddiffyn bellach."

"Wel, y mae yn eiddo i chwi trwy rest o gyfraith ynte," ebe St. Clare, a throai yn ol i'r parlawr, ac eisteddai gyda'i bapyr.

Dilynai Miss Ophelia ef yn fuan, canys wedi iddi gadw y papyr yno, ni eisteddai hi ond pur ychydig yn nghymdeithas Marie un amser.

"Augustine," ebe hi, yn sydyn fel yr eisteddai i lawr wrth ei gweuadwaith. "A wnaethoch chwi unrhyw ddarpariaeth dros eich gweinidogion rhag y dygwyddo i chwi farw?"

"Naddo," ebe St. Clare, a darllenai yn mlaen.

"Yna, gall eich tynerwch tuag atynt droi yn greulondeb mawr iddynt, o dipyn i beth."

Meddyliasai St. Clare yr un peth ei hun lawer gwaith.

"Yr wyf yn meddwl gwneyd rhywbeth yn fuan," ebe fe.

"Pa bryd?" ebe Miss Ophelia.

"O, un o'r dyddiau yma."

"Beth pe byddech farw yn gyntaf?"

"Beth ydyw'r mater fy nghares?" ebe St. Clare, gan ollwng i lawr ei bapyr, ac edrych arni. "A ydych yn gweled arwyddion y dwymyn felen neu y cholera arnaf, gan eich bod mor bryderus yn nghylch y pethau hyn?"

"'Yn nghanol bywyd, yr ydym yn angeu;'" ebe Miss Ophelia.

Codai St. Clare i fyny ar hyn, a dodai ei papyr heibio, a rhodiai i'r drws a agorai i'r *verandah*, er mwyn rhoddi terfyn ar yr ymddyddan annyddanus hwn; adroddai y gair olaf, "angeu," drachefn wrtho ei hun ac fel y gogwyddai ei bwys ar y rheiliau,

ac yr edrychai ar yr olygfa o'i flaen, efe a adroddai y gair drachefn—"angeu!" "peth rhyfedd," ebe fe, "fod y fath air, a'r fath beth ag angeu, a ninnau yn gallu ei anghofio—y gall dyn fod yn fyw, yn iach, yn llawn o obeithion, gofalon, a dymuniadau, un diwrnod, a'r dydd nesaf wedi myned—myned ymaith yn hollol, ac am byth."

Yr oedd yn hwyrddydd tra hyfryd; ac fel y rhodiai i gŵr arall y *verandah*, efe a ganfu Tomos yn ddyfal uwchben ei Feibl, yn pwyntio â'i fys at bob gair fel yr elai ymlaen, ac yn sibrwd y geiriau iddo ei hunan yn hynod ddifrifol.

"Y mae arnoch eisieu i mi ddarllen i chwi," ebe St. Clare, gan eistedd yn ei ymyl.

"Os gwel misar yn da," ebe Tomos, yn ddiolchus, "mi gall misar gneyd o 'n fwy eglur o lawer."

Cymerai St. Clare y llyfr, ac wedi taflu cipolwg ar y fan—efe a ddechreuai ddarllen y rhanau oedd Tomos wedi eu nodi allan. Y gyfran oedd hòno:—

"A Mab y dyn, pan ddel yn ei ogoniant, a'i holl angelion sanctaidd gydag ef, yna yr eistedd efe ar orseddfa ei ogoniant; a chydgesglir ger ei fron ef yr holl genedloedd; ac efe a'u didola hwy, fel y didola y bugail y defaid oddiwrth y geifr." Darllenodd ymlaen hyd yr adnodau diweddaf,—"Yna y dywed y Brenin wrth y rhai a fyddant ar ei law aswy "Ewch ymaith oddiwrthyf, chwi rai melldigedig i'r tân tragywyddol; oblegid bum newynog ac ni roisoch i mi fwyd, bu arnaf syched, ac ni roisoch i mi ddiod; bum ddyeithr, ac ni'm dygasoch gyda chwi; noeth, ac ni'm dilladasoch; bum glaf ac yn ngharchar, ac nid ymwelsoch â mi. Yna yr atebant hwythau iddo, Arglwydd, pa bryd y'th welsom yn newynog, neu yn sychedig, neu yn ddyeithr, neu yn noeth, neu yn glaf, neu yn ngharchar, ac ni weiniasom i ti?" Yna yr etyb efe iddynt gan ddywedyd,—"Yn gymaint ag nas gwnaethoch i un o'r rhai lleiaf hyn, nis gwnaethoch i minnau."

Effeithiai y geiriau yn ddwys ar St. Clare, canys efe a'i darllenai drosodd drachefn,—yr ail waith yn arafaidd, fel pe buasai yn troi y geiriau yn ei feddwl.

"Tomos," ebe fe, "ymddengys fod y rhai sy'n cael y driniaeth galed hon wedi bod yn byw yn hollol fel y bum i, yn byw yn dda, yn esmwyth, yn foethus, ac heb drafferthu eu hunain i ymholi pa nifer o'u brodyr oedd yn newynog, neu yn sychedig, yn glaf, neu yn ngharchar."

Ni ddywedodd Tomos ddim. Cyfodai St. Clare i fyny, a rhodiai yn fyfyriol i fyny ac i lawr y *verandah*, fel pe buasai wedi ymgolli yn ei fyfyrdodau, yn gymaint felly, fel y bu raid i Tomos goffâu ddwywaith iddo, fod y gloch dê wedi canu, cyn cael ei sylw.

Ymddangosai yn absennol a meddylgar wrth y bwrdd; ar ol tê, aeth efe, a Marie, a Miss Ophelia i'r parlawr, mewn dystawrwydd.

Gorweddai Marie ar ei glwth, ac yr oedd yn fuan mewn trwmgwsg. Yr oedd Miss Ophelia, hithau, yn brysur ar waith yn gwau. Eisteddai St. Clare i lawr wrth y *piano*, a dechreuai chwareu tôn dyner doddedig. Ymddangosai mewn dwfn fyfyrdod, ac fel pe buasai yn ymddyddan âg ef ei hun, trwy gyfrwng y beroriaeth. Yn mhen enyd agorodd *drawer*, a chymerai hen lyfr cerddoriaeth, dalenau yr hwn oeddynt felynion gan henaint, a dechreuai ei droi, ac edrych arno.

"Dyna," ebe fe wrth Miss Ophelia, "un o hen lyfrau fy mam oedd hwn, a dyma ei llaw ysgrifen, dowch yma ac edrychwch arni,—hi a gopïodd ac a drefnodd y dernyn hwn allan o farwgân (*Requiem*) Mozart!"

Aeth Miss Ophelia ymlaen ato.

"Arferai ei ganu yn bur fynych," ebe St. Clare, "yr wyf fel pe bawn yn ei chlywed y mynyd hwn!'

Tarawai rai tànau yn ardderchog, a dechreuai ganu yr hen ddernyn lladin godidog y *Dies Iræ*.

Clywai Tomos, yr hwn oedd o'r tu allan, yn y *verandah*, sain y canu, a hudid ef i ddynesu ymlaen i wrandaw: nid oedd yn deall y geiriau, bid siwr, ond effeithiai y beroriaeth a'r dull o ganu yn ddwys iawn arno, yn neillduol pan ganai St. Clare y darnau mwyaf toddedig: gallasai Tomos gydymdeimlo a mwynhau yn llawer mwy, pe deallasai y geiriau prydferth a ddadgenid!

"Rhoddir y pennill lladinaidd i lawr," ebe James, "â math o gyfieithiad o hono, yn Seisneg; ond nid yw y cyfieithiad ond tlawd, a sychlyd, mewm cymhariaeth i'r gwreiddiol."

"Gallaswn ninnau roddi math o gyfieithiad o'r cyfieithiad Saesneg i'r Cymraeg, ond mi a roddaf i chwi ychydig o linellau pur agos iddo o ran eu hystyr, o waith yr hen Bant-y-celyn,—

'Gan iti oddef marwol glwy,
P'odd gelli attal nefol ras,
A chuddio 'th gariad rhagof mwy,
Rhag llifo 'n genllif pur i maes;
Ond troswyf fi fy Arglwydd mawr,
Daeth dafnau tros dy ruddiau pur,
Ac er fy mwyn ce'st goron ddrain,
A dwfn glwyf y bicell ddur;
Dy drigfan yn y nef a gair,
Ond ti dde'st i gystuddiau heb ri'
Gan ado'r holl delynau aur,
Er mwyn gwaredu f' enaid i,
A fyddi mwy yn ddyeithr im':
A all cariad dwyfol, pur didrai,
Fy ngadael i elynion llym,
Neu ynte newid neu lesgau,"

Taflai St. Clare deimlad dwys doddedig i'r geiriau, canys ymddangosai fel pe buasai llen-gysgod blynyddau wedi ei thynu

ymaith, ac yr oedd fel pe buasai yn clywed llais ei fam yn arwain ei lais ef; yr oedd y llais a'r offeryn megys pe buasent yn fyw, ac yn taflu allan mewn teimladaeth fywiog y ceinciau cyffrous hyny a luniasai Mozart fel ei farwgân ef ei hunan.

Wedi darfod canu, eisteddai St. Clare, a phwys ei ben ar ei law am enyd, ac yna dechreuai rodio yn ol a blaen ar lawr yr ystafell.

"Y fath feddwl ysplenydd ydyw hwnw am y farn olaf," ebe fe,—"unioni holl gamwrion yr oesau,—deongli pob dyrys gwestiynau moes, gan ddoethineb digyfeiliorn. Mewn gwirionedd, y mae yn ystyriaeth arswydlawn."

"Y mae yn un ofnadwy i ni," ebe Miss Ophelia.

"Dylai fod felly i mi, yr wyf yn tybied," ebe St. Clare, gan sefyll yn fyfyrgar. "Yr oeddwn yn darllen i Tomos y prydnawn hwn, y bennod hòno yn *Mathew*, sydd yn rhoddi desgrifiad o honi, ac effeithiodd yn ddwys arnaf. Gallasai un feddwl y buasai y rhai a gauir allan o'r nefoedd yn cael eu cyhuddo o ryw ddrygau ysgeler, fel yr achos o'u gwrthodiad; ond nid felly, condemnir hwy am esgeuluso gwneyd daioni, fel pe byddai hyny yn cynnwys pob drwg."

"Ond beth," ebe fe, drachefn, yn hynod ddifrifol a theimladol, "beth a ddywedir am un y darfu i'w galon ei hun, yr addysg a gafodd, ac anghenion cymdeithas, ei alw a'i gymhell yn ofer i ymdrechu gwneyd daioni;—yr hwn a ymdroai yn edrychydd segur, cysglyd, ar drueni a dyoddefiadau dynoliaeth, pan ddylasai fod yn ymdrechgar a gweithgar?"

"Mi feddyliwn i y dylai edifarhau, a dechreu ar ei waith yr awr hon," ebe Miss Ophelia.

"Bob amser yn ymarferol, ac i'r pwynt," ebe St. Clare, dan wenu. "Ni adewch i mi amser i feddwl a golygu byth, fy nghares; yr ydych bob amser yn fy ngwasgu i'r amser presennol. Y mae yr *awr hon* dragywyddol genych yn eich meddwl bob amser."

"Yr *awr hon* ydyw yr holl amser y mae dim a wnelwyf fi âg ef," ebe Miss Ophelia.

"Fy anwyl Efa fechan—y plentyn hoff!" ebe St. Clare. "Yr oedd ei chalon seml hi wedi tori allan waith ar fy nghyfer."

Y tro cyntaf wedi marwolaeth Efa y soniodd ei thad gymaint a hyna am dani, oedd hwn.

"Y mae y golwg sy genyf fi ar Gristionogaeth y fath," ebe fe, a chwanegai, "fel yr wyf yn meddwl na all un dyn ei phroffesu yn gyson, heb daflu holl nerthoedd ei fodoliaeth i wrthwynebu y trefniant echryslawn hwn o anghyfiawnder, sydd yn gorphwys wrth wraidd ein cyfansoddiad gwladwriaethol; ac os byddai galwad, aberthu ei fywyd yn yr ymdrech. Hyny yw, nid wyf yn meddwl y gallwn i fod yn Gristion fel arall; er fy mod yn

sicr yn gydnabyddus â llawer iawn o Gristionogion goleuedig na wnant ddim o'r fath beth; ac yr wyf yn addef fod difrawder pobl grefyddol yn yr achos hwn—eu dideimladrwydd yn ngwyneb creulonderau tuag at drueiniaid, y rhai a'm llanwent i â dychryn, wedi cynnyrchu mwy o anffyddiaeth ynwyf fi, nag a wnaeth dim arall."

"Os gwyddech chwi hyn oll, paham na buasech yn ei wneuthur?" ebe Miss Ophelia.

"O! am nad oes genyf ond y fath hòno o haelfrydedd ag sydd yn gynnwysedig mewn gorwedd ar y *sofa*, a beio yr eglwys a'r clerigwyr, am na byddent yn gyffeswyr a merthyron. Fe all un weled yn eithaf da, chwi a wyddoch, fel y dylai pobl eraill fod yn ferthyron."

"Wel, a ydych chwi yn myned i wneyd fel arall yn awr, ynte?" ebe Miss Ophelia.

"Duw yn unig a ŵyr y dyfodol," ebe St. Clare. "Yr wyf yn fwy gwrolfrydig nag oeddwn, oblegid fy mod wedi colli yr oll a feddwn; a gall yr hwn nad oes ganddo ddim i'w golli redeg pob anturiaeth a pherygl."

"Ond pa beth ydych ar fedr ei wneuthur?"

"Fy nyledswydd, yr wyf yn gobeithio, tuag at y tlawd a'r rheidus, mor gyflym ag y gallwyf ei chael allan a'i deall," ebe St. Clare, "gan ddechreu gyda'm gweinidogion fy hun, i'r rhai, hyd yma, ni wnaethum ddim oll; ac hwyrach, ryw amser a ddaw, y dichon y gallaf wneuthur rhywbeth i'r holl ddosbarth o drueiniaid; rhywbeth er gwaredu fy ngwlad oddiwrth y gwaradwydd sydd arni, ger bron holl genedloedd gwareiddiedig y ddaear."

"A ydych yn tybio y gall fod yn bosibl y gwna y genedl byth ryddhau y caethion yn wirfoddol?" ebe Miss Ophelia.

"Ni wn i ddim," ebe St. Clare. "Y mae yr amser hwn yn dymmor gweithrediadau mawrion. Y mae gwroniaeth ac anhunanolrwydd yn ymddangos yma ac acw ar y ddaear. Darfu i'r pendefigion yn Hungari ryddhau miliynau o gaethion, a gwneyd aberth arianol dirfawr wrth hyny; ac hwyrach y gellir cael dynion yn ein mysg ninnau, y rhai nad ydynt yn prisio anrhydedd a chyfiawnder wrth y *dollars* a'r *cents*."

"Prin yr wyf yn coelio hyny," ebe Miss Ophelia.

"Ond tybiwch ein bod ni yn codi i fyny yfory, ac yn rhyddhau y caethion, pwy a hyfforddiai y miliynau hyn, ac a'u dysgent pa fodd i ddefnyddio eu rhyddid? Ni allent byth wneyd dim o honi. Y ffaith yw, yr ydym ni yn rhy ddiog a diddarbodaeth ein hunain, i roddi ar ddeall iddynt am y diwydrwydd a'r ymdrech sydd yn anghenrheidiol er gwneyd dynion o honynt. Byddai raid iddynt ymfudo i daleithiau y gogledd, lle mae gweithio a llafurio yn beth defodol ac ymarferol; a dywedwch i

mi, yn awr, a oes digon o ddyngarwch Cristionogol yn eich taleithiau gogleddol i ymgymeryd â'r drafferth o'u haddysgu? Yr ydych yn anfon miloedd o ddoleri tuag at genadiaethau tramor; ond a allech chwi oddef i baganiaid gael eu hanfon i'ch trefi, a'ch pentrefi, a rhoddi eich amser, a'ch meddyliau, a'ch arian, er eu haddysgu, a'u hennill yn Gristionogion? Pa nifer o deuluoedd yn eich tref chwi a gymerent ddyn a dynes negroaidd i mewn atynt, a'u haddysgu, a chyd-ddwyn â hwy, ac ymdrechu eu gwneyd yn Gristionogion? Pa drafnidiwr a gymerai Adolph, pe mynwn i wneyd ysgrifenydd o hono; neu gelfyddydwr, os ewyllysiwn iddo ddysgu rhyw alwedigaeth? Os byddai arnaf eisieu dodi Jane a Rosa mewn ysgol, pa nifer o ysgolion sydd yn y taleithiau gogleddol a'u derbynient i mewn? Pa nifer o deuluoedd a roddai fwrdd a llety iddynt? Ac eto, y maent mor wynion a nemawr ferched yn y wlad. Chwi a welwch, fy nghares, bod arnaf eisieu i ni gael cyfiawnder. Yr ydym mewn sefyllfa ddrwg. Nyni ydym orthrymwyr mwyaf *amlwg* y negro, ond y mae rhagfarn anghristionogaidd y gogledd yn orthrymwr llawn mor greulawn, ymron."

"Wel, fy nghar, mi a wn mai felly y mae," ebe Miss Ophelia. "Felly yr oeddwn i, hyd oni welais mai fy nyledswydd ydoedd ymroi i orthrechu y teimlad hwnw; ond yr wyf yn hyderu fy mod wedi ei orchfygu, a mi a wn fod llawer o bobl dda yn y gogledd, y rhai nad oes eisieu ond eu goleuo yn y peth hwn, a dangos iddynt eu dyledswydd, na wnaent hi. Byddai, yn sicr, yn fwy o hunan-ymwadiad i dderbyn paganiaid i'n plith, nag ydyw i anfon cenadon atynt; ond yr wyf yn meddwl y gwnelem hyny."

"Gwnaech chwi, mi a wn," ebe St. Clare. "Mi a ddymunwn weled unrhyw beth na wnaech chwi, os meddyliech mai eich dyledswydd fyddai!"

"Wel, nid wyf yn rhyw anghyffredinol dda," ebe Miss Ophelia. "Gwnai eraill yr un peth, ond unwaith iddynt ei weled fel yr wyf fi. Yr wyf yn bwriadu cymeryd Topsi gyda mi adref. Syna ein cyfeillion, ond odid ar y cyntaf; ond yr wyf yn meddwl y deuant i weled yr un fath ag yr wyf finnau. Heblaw hyny, mi a wn fod llawer o bobl yn y gogledd yn gwneyd yn gymhwys fel yr ydych chwi yn dweyd."

"Oes, ond y lleiafrif ydynt; a phe byddem ni yn dechreu rhyddhau yn lled gyffredinol, ni a gaem glywed oddiwrthych yn fuan."

Ni wnaeth Miss Ophelia un ateb. Bu enyd o ddystawrwydd; ac yr oedd wynebpryd St. Clare wedi ei wisgo â dynodiant gorbruddaidd a synllyd.

"Ni allaf wybod beth sydd yn peri i mi feddwl cymaint am fy mam heno," ebe fe. "Y mae genyf ryw deimlad rhyfedd a

dyeithr, fel pe byddai hi yn agos ataf. Y mae y pethau a arferai hi ddweyd wrthyf yn dyfod i'm meddwl yn barhaus. Y mae yn syndod beth a allai fod yn dwyn pethau aethant heibio mor fyw-iog i'n meddyliau, weithiau."

Rhodiai yn ol ac ymlaen ar hyd yr ystafell am rai mynydau ymhellach, ac yna dywedai—

"Yr wyf yn meddwl y rhedaf i lawr yr heol, am ychydig, i edrych pa newyddion sydd."

Cymerai ei het, ac allan âg ef.

Aeth Tomos ar ei ol i'r cyntedd, a gofynodd a oedd efe i fyned gydag ef.

"Nac ydych, Tomos, fy machgen," ebe St. Clare. "Byddaf yn ol o hyn i ben awr."

Eisteddai Tomos i lawr yn y *verandah*. Yr oedd yn noson leuad-oleu hyfryd. Porthai Tomos ei fyfyrdodau drwy feddwl am gartref, am ei deulu, am y gobaith o gael ei ryddid yn fuan i ddychwelyd i ymweled drachefn â'i anwylion. Meddyliai am ei feistr ieuanc, cariadlawn, a gweddïai trosto. Ond byth ni allai anghofio Efa fach, yr hon a dybiai ef ei bod yn awr yn angyles mewn gogoniant. Yn nghanol ei fyfyrdodau, syrthiodd i gwsg, a breuddwydiai ei gweled yn dyfod, fel yr arferai gynt, â phleth o *jessamine* yn ei gwallt, a'i llygaid yn tanbeidio o fwynhad; ond fel yr edrychai arni, ymddangosai fel yn ymgyfodi oddiwrth y llawr, a diflanai o'i olwg; a deffröid Tomos gan guro uchel, cyffrous, wrth y porth, a sŵn llawer o leisiau.

Prysurodd i'w agor, ac i mewn y deuai lliaws o ddynion yn dwyn megys corff ar lwth, wedi ei amwisgo â mantell. Disgyn-odd goleu y lamp ar ei wyneb, a rhoddai Tomos grochwaedd o ddychryn, a ddadseiniai yr holl dŷ, fel yr elai y dynion ymlaen lle yr oedd Miss Ophelia, fyth, yn eistedd, yn gwau, ac y dodent ef i lawr.

Troisai St. Clare i westy, i edrych dros bapyr hwyrol; a thra yr oedd yn darllen, torodd ymrafael rhwng dau foneddwr, ag oeddynt eill dau yn lled feddwon. Ymdrechai St. Clare, ynghyd ag eraill, i'w gwahanu, a derbyniai St. Clare frathiad angeuol yn ei ochr, â chyllell groca, pan oedd yn ceisio ei chipio allan o law un o honynt.

Llenwid y tŷ â wylofain a galar; tynai y gweinidogion eu gwallt, ac ymgreinient ar y llawr. F'Ewythr Tomos, a Miss Ophelia, yn unig a ddangosent hunan-feddiant; syrthiai Marie mewn llewygfeydd. Darparai Miss Ophelia le i'w ddodi i or-wedd ar lwth, ac yno dodid ef yn llewygedig gan goll gwaed. Adfywiodd ychydig yn y man, ac agorai ei lygaid, y rhai a droai o amgylch yr ystafell, hyd oni sefydlasant ar arlun ei fam.

Daeth y meddyg i mewn yn fuan, ac yr oedd yn amlwg ar ei wynebpryd, pan edrychai ar y dyoddefydd, nad oedd dim gobaith;

ond efe a ymroddai i rwymo yr archoll, ac elai ef, a Miss Ophelia a Tomos, ymlaen gyda 'r gorchwyl ynghanol llefau a chrïau y gweinidogion brawychedig.

"Yn awr," ebe y meddyg, "rhaid i ni eu cael oll allan; y mae y cwbl yn dybynu ar iddo gael llonydd a thawelwch."

Agorai St. Clare ei lygaid, ac edrychai yn ddwys ar y trueiniaid trallodus, y rhai yr ymdrechai y meddyg a Miss Ophelia eu cael allan o'r ystafell. "Druain o honynt!" ebe fe, ac ymddangosai dannodiad o hunan-edliwiaeth chwerw yn pasio tros ei wyneb. Gwrthodai Adolph yn benderfynol fyned allan. Yr oedd braw a dychryn wedi ei hollol amddifadu o bob hunan-feddiant: taflai ei hun ar y llawr, ac ni ellid mewn un modd cael ganddo godi. Gallodd Miss Ophelia berswadio y lleill i fyned allan, trwy ddangos fod bywyd eu meistr yn dybynu ar gael llonyddyddwch a dystawrwydd.

Ni allai St. Clare ddweyd ond ychydig; gorweddai â'i lygaid yn nghauad, ond yr oedd yn amlwg ei bod yn gyfyng iawn ar ei feddwl. Yn mhen ychydig, dodai ei law ar Tomos, yr hwn oedd ar ei liniau wrth ei ochr, a dywedai, "Tomos! Ow! Tomos!"

"Beth sydd, misar?" ebe Tomos, yn alarus,

"Yr wyf yn marw!" ebe St. Clare, gan wasgu ei law; "gweddïwch!"

"A fynech i ni alw am glerigwr?" gofynai y meddyg.

Ysgydwai St. Clare ei ben yn frysiog, a dywedai eilwaith, yn ddwysach, wrth Tomos, "Gweddïwch!"

A gweddïo a wnaeth Tomos â'i holl feddwl a'i galon, dros yr enaid oedd ar fin ymadael—yr enaid ag oedd megys yn edrych mor bryderus a galarus drwy y llygaid mawrion, gleision, hyny. Yr oedd, mewn gwirionedd, yn weddi yn cael ei hoffrwm drwy lefain cryf a dagrau.

Pan ddybenodd Tomos ei weddi, estynodd St. Clare ei law allan, ac ymaflodd yn ei law ef, gan edrych yn ddyfal arno, heb ddweyd dim. Cauodd ei lygaid, ond daliodd ei afael yn llaw Tomos; canys yn mhyrth tragywyddoldeb, ymeifl y llaw wen a'r llaw ddu y naill yn y llall, heb adnabod dim gwahaniaeth. Murmurai yn araf wrtho ei hunan yn awr ac eilwaith,—

"Gan iti oddef marwol glwyf.
* * *
Ond ti dde'st i gystuddiau heb ri',
Gan ado'r holl delynau aur,
Er mwyn gwaredu f'enaid i."

Yr oedd yn amlwg fod y geiriau y buasai yn eu canu yr hwyr hwnw yn myned trwy ei feddwl—geiriau o ddeisyfiad yn cael eu cyfeirio at anfeidrol dosturiaethau. Symudai ei wefusau ar brydiau, fel y syrthiai rhanau o'r emyn oddiwrthynt.

"Y mae ei feddwl yn dyrysu," ebe y meddyg.

"Nac ydyw! y mae yn dyfod ato ei hun, o'r diwedd!" ebe St. Clare; "o'r diwedd! o'r *diwedd!*" ebe fe.

Yr oedd yr ymdrech i siarad yn ei lwyr nychu, ac ymdaenai gwelwedd marwolaeth trosto; ond gydag ef, syrthiai ar ei wynebpryd ddynodiant prydferth o dangnefedd, cyffelyb a welir ar wyneb plentyn blinedig yn ei gwsg, yr hwn oedd fel pe buasai wedi disgyn oddiwrth esgyll ryw ysbryd tosturiol.

Gorweddai felly am enyd fèr. Gwelent fod llaw gadarn angeu arno. Fel yr oedd yr ysbryd ar ymadael, agorai ei lygaid gyda llewyrchiad disymwth o oleuni, fel o lawenydd ac adnabyddiaeth, a dywedai, "Mam!" a bu farw!

Cauodd James y llyfr, ac ymdorodd ffrwd o ddagrau ac wylofain allan oddiwrth bawb ar yr aelwyd. Cyn hyn yr oedd dystawrwydd y bedd yn teyrnasu; ond yr oedd yn amlwg fod y teimladau yn ymgroni, ac ar gauad y llyfr torodd yr argaeon, ac ymollyngodd y cefnllif mawr allan. Yr oedd yr aelwyd yn fuan yn wleb trosti gan ddagrau; ond bu hir enyd cyn i neb ddweyd gair. F'Ewythr Robert oedd y cyntaf i gael ei anadl a'i leferydd.

"Mi ddiengodd!" ebe fe. "Do, mi a ddiengodd am byth! Dene be ydi achub hyd yr eitha! O diolch am hyny!"

"Wel, y mae yna ryw le i obeithio ei fod o wedi dianc," ebe Modryb Elin, "a'i gipio megys pentewyn o'r tân. Yr oedd fel pe buasai llaw gras achubol yn gweithio ar ei gyflwr trwy y prydnawn hwnw. Yr oeddwn yn meddwl, wrth wrando'r hanes, am Joshua 'r archoffeiriad, yn sefyll ger bron angel yr Arglwydd, a Satan yn sefyll ar ei ddeheulaw i'w gyhuddo, ac i edliw ei ddillad budron iddo. Yr oedd yr hen gyhuddwr yn brysur iawn gydag yntau yn ei gyfyngder—yn edliw, ac yn codi holl bechodau ei oes yn fynyddau o flaen ei feddwl, i geisio cau a gwasgu ei enaid mewn anobaith. Ond y mae lle i obeithio, os oedd Satan yno, bod angel yr Arglwydd yno hefyd, fel y mae yr hanes yn dweyd; fod megys gwên tangnefedd wedi syrthio ar ei wyneb, fel pe buasai wedi disgyn oddiwrth esgyll rhyw ysbryd tosturiol. Pwy a ŵyr na cheryddwyd yr hen gyhuddwr, ac na ddywedodd rhyw lef ddystaw fain wrtho yntau hefyd, 'Wele symudais dy anwiredd oddiwrthyt, a gwisgaf di hefyd â newid dillad.' Os oedd cymaint a gronyn o had mwstard o ffydd yn ei enaid tlawd yn ei gyfyngder, pan oedd yn bloesg adrodd y geiriau,

'Gan iti oddef marwol glwy'.'

Yr oedd yno ddigon i symud ymaith fynyddau euogrwydd holl bechodau ei oes, ac i'w ddyrchafu o'r dyfnderau i'r lan; canys ni chollwyd un enaid erioed, ac ni chollir yr un byth, a edrycho tua'r fan hono am fywyd. Y mae—

"Gan iti oddef marwol glwy',
P'odd gelli attal nefol ras?"

yn ddadl â rhyw nerth anfeidrol ynddi yn ngeneu ffydd, mewn enaid euog tlawd—dadl na fedd y nefoedd ddim modd i'w throi heibio a'i gwrthod."

"Anaml iawn y darllenais nag y clywais hanes mor brudd-ofidus a'r hanes yna," ebe Mrs. Harris. "Y gwr boneddig ieuanc, talentog, hawddgar, a gobeithiol hwnw, yn cael ei dori ymaith â dyrnod disymwth ac annysgwyliadwy, o ganol ei deulu a'i gyfeillion, o ganol ei fwriadau a'i amcanion, pan oedd fel un wedi deffro ac agoryd ei lygaid i ddechreu byw o ddifrif; ac un yn meddu y fath fanteision a galluoedd, dybiasom ni, i fod yn ddefnyddiol. Yr oeddwn yn edrych arno yn debyg fel y gwelais bren ffrwythau ar Galanmai weithiau, yn llawn blodau, ac yn addaw cnwd mawr o ffrwyth arno fel pe buasai; ond erbyn y boreu yfory, rhyw awel wenwynig wedi myned trosto, a'r blodeu oll wedi eu deifio, a gwywo, a syrthio, a phob gobaith am ffrwyth oddiarno y tymmor hwnw wedi darfod ar unwaith."

"Ië, ond y mae gobaith i'r pren am dymmor arall i flodeuo a ffrwytho," ebe Modryb Elin; "'ond gwr a fydd marw, ac a dorir ymaith, a dyn a drenga, a pha le y mae?' Pan y mae ei dymmor ef yn darfod yn angeu, 'Y dydd hwnw y derfydd am ei holl amcanion ef' am byth. Bwriadu, addunedu, ac oedi cyflawni, oedd ei goll mawr o, fel miloedd eraill. Yr oedd y Miss Ophelia hono yn pregethu athrawiaeth iach a phwysig iawn iddo fo a ninnau—mai *yn awr* yw yr unig amser y mae a wnelo ni âg ef;—yr *oedi* yma ydyw lleidr amser, a llofrudd eneidiau. Dan goleddu rhyw goegamcanion i ddiwygio, a dechreu ar eu gwaith a'u dyledswyddau yn mhen rhyw amser i ddod, y mae tymmor bywyd miloedd o ddynion yn myned heibio ac yn darfod. Yr haf a'r cynauaf yn pasio, a hwythau yn y diwedd heb fod yn gadwedig. Yr oedd St. Clare, yn wir, fel pe buasai y gwaith da wedi ei ddechreu ynddo, ac yntau fel wedi dechreu gweithio allan waith da, ac yn ymddangos fel un penderfynol i weithio o ddifrif—gwneyd ei ddyledswydd mor gyflym ag y medrai ei chael hi allan, fel y dywedai, gan ddechreu gartref gyda'i weision. Ond os gorphenwyd y gwaith da ynddo fo, cafodd ei dori i lawr cyn iddo gael ond prin ddechreu yr hyn oedd wedi ei hir fwriadu, ac oedi ei gyflawni, ac fe allai na orphenodd neb mo hono fo ar ei ol—chafodd o orphen mo hono beth bynag."

"Naddo; ac ni orphenodd neb arall mohono chwaith," ebe James, "fel y cewch chwi glywed eto. Ni bu y gwaith da a ddechreuodd St. Clare yn ddaioni yn y byd i neb, canys dinystriodd Marie y cwbl."

"Gellid cymhwyso y geiriau hyny, 'Yr hyn wyt ar fedr ei wneuthur, gwna ar frys,' at bob dyn sy'n meddwl gwneyd rhyw ddaioni," ebe Modryb Elin, 'Canys nid oes na gwaith na dychymyg, na gwybodaeth, na doethineb, yn y bedd, lle yr wyt ti yn myned.'"

"'Rwy'n meddwl fod gwers bur sobr i chwithau, fel proffeswyr crefydd, i'w dysgu oddiwrth ryw bethau ddywedodd o wrth ei gares y prydnawn hwnw," ebe Tomos Harris. "Yr oedd o yn deyd fod gweled y rhai oedd yn proffesu Cristionogaeth mor ddideimlad a difraw ynghylch drygau ag oedd yn boen a dychryn i'w feddwl o, yn codi ammheuaeth yn ei feddwl nad oedd dim byd mewn crefydd, yn fwy na dim arall; ac mi fydd pethau cyffelyb yn effeithio yn gyffelyb arnaf finnau hefyd, a dweyd y gwir. A mi 'roeddwn i 'n meddwl peth arall, a mi 'rydw i 'n ei feddwl o eto—ei fod o yn well Cristion fel yr oedd o na'r Cristionogion rhei'ny, a'u bath, a'r pregethwyr oedd yn eu cefnogi nhw hefyd."

"Wel, y mae hona yn wers ac yn addysg ddwys i broffeswyr crefydd, yn sicr iawn," ebe Modryb Elin, "ac y mae yn wir ddigon fod dyn fel St. Clare yn rhagori llawer ar y fath broffeswyr a'r rhei'ny. Ar yr un pryd dylasai gofio, a dylech chwithau gofio, mai nid proffeswyr crefydd, ond y Beibl, ydyw rheol dyledswydd pob dyn, ac yn ol y Beibl y bernir pob dyn yn y dydd olaf. 'At y gyfraith ac at y dystiolaeth, oni ddywêdant yn ol y rheol hon, hyny sydd am nad oes oleuni ynddynt.'"

"Wel, yn wir, pe tae pyrffeswrs anwastad yn meddwl gimin o ddrwg mae nhw 'neyd i grefydd," ebe F'Ewythr Robert, "mi ddychyrnen, a mi ddiwygien, ne mi adawen grefydd, debic cin i. Mae isio i'r rhei'ny sy'n pyrffesu yu bod en credu y Beibil, ddanos 'i bod nhw 'n teimlo 'i fod o 'n wir, trwy fyw yn 'i ol o, cin y credith pobl erill o."

"Mae'r bobl sy'n byw mewn anufudd-dod i'r gair," ebe Modryb Elin, "yn wastad yn edrych am esgus i dawelu eu meddyliau yn y cyflwr hwnw, ac y maent hwy yn siwr o weled pob peth fyddo o le mewn proffeswyr; nid oes nemawr un esgus allant hwy gael yn ateb cystal i'w pwrpas nhw a hono. Anaml iawn y gwelant nac y soniant ddim am rinweddau crefyddwyr, oblegid nad ydynt hwy byth yn edrych am danynt. Mae aml ddyn a demtiai broffeswr â'i holl egni i wneyd rhyw ddrwg, er mwyn cael rhyw esgus tros ei ddrwg ei hun, a chael y pleser o son am dano fo."

"Oes, y mae ymbell un felly," ebe F'Ewythr Robert. "Ydach chi 'n cofio William, Hafod y ci, ystalwm? mi fydde hwnw, chwedi iddo ddarfod 'i fisnes mewn ffair ne farchnad, wel y diafol, 'yn ceisio 'r neb a allo lyncu,' yn cynllwyn rhw byrffeswr ne gilydd i geisio 'i feddwi fo, ne 'i dynud o i rw helynt ne gilidd: ac os llwydde fo, mi fydde yn deyd y stori yn mhob man gyda blas."

"Ond 'doedd St. Clare ddim yn un felly," ebe Tomos Harris.

"O nac oedd, nag oedd!" ebe F'Ewythr Robert, "'roedd o'n whanol iawn i hyny, yn gofidio 'i galon wrth weled cyrfydd yn byw mor anghyson â'u proffes."

"Wel, yr wyf yn dysgwyl y gwela i chwithau yn broffeswr eto, cyn bo hir, F'Ewythr Robert," ebe Mrs. Harris.

"Mi alla ddeyd cimin a hyn i chi," ebe yr hen ŵr. "Mi 'rydw i 'n meddwl mwy am grefydd y dyddie yma nag ddarum mi 'rioed, mi 'roedd clowed son am yr oedi yma, 'n myn'd at y' nghalon i 'narw 'narw: mae arna' i ofn 'i hoedi hi, nes eith hi yn rhy ddweddar arna i, os nad ydi hi wedi myn'd."

---

## NOSON XXVIII.

"Yr wyf fi am dynu tua'r pen, gynted ag y gallwyf bellach," ebe James. "Gan hyny, ni wnaf ond rhoddi crynoad o weddill yr hanes, mewn bras grybwyllion o bethau."

Diwrnod du iawn i'w holl weinidogion caethion, oedd dydd marwolaeth St. Clare. Gallesid dweyd y gair hwnw uwch eu penau bellach—"Udwch, y ffynidwydd, canys torwyd y cedrwydd." Dyna Efa bach, ag oedd yn gedrwydden gysgodfawr iawn iddynt hwy, wedi ei thori; a chyda bod sŵn ei chwymp hi wedi dystewi, dyna fwyall angeu âg un dyrnod yn tori ei thad hawddgarol i lawr. Fel hyn, gadewid hwy yn agored i'r dymhestl—y fieren Marie, oedd bellach i deyrnasu arnynt; yr hon oedd yn myned yn fwy cam a phigog o hyd. Effeithiodd marwolaeth ei phlentyn a'i gŵr arni i'w gwneyd yn fwy anhydrin ac anynad nag oedd o'r blaen. Yr oedd llywodraeth y teulu bellach ar ei hysgwyddau, a llywodraeth flin, orthrymus, ydoedd i'r holl ddeiliaid truain. Ceisiai Miss Ophelia gyfryngu a sefyll rhwng ei chynddaredd a'r trueiniaid, ond ychydig iawn fu ei llwyddiant. Topsi oedd yr unig un ddiogel; canys nid oedd ganddi awdurdod ar hono, gan ei bod wedi ei throi trosodd i Miss Ophelia: felly daeth yr olaf hono i fod y flaenaf o'r cwbl, o ran ei sefyllfa.

Dechreuodd gweinidogaeth y fflangell yn bur fuan, wedi marwolaeth St. Clare. Cyflawnodd Rosa ryw drosedd yn erbyn mawrhydi ei meistres, ac er ei holl ymbiliau a'i dagrau, ac eiriolaeth Miss Ophelia trosti, mynodd Marie ei gyru i'r cospdy i gael ei fflangellu. Mudodd yr holl lawenydd o blith y gweinidogion wedi colli eu meistr tirion. Nid oedd bellach ond arswyd, a phryder, a phrudd-der i'w weled yn eu gwynebau. Bygythiai Marie yn aml, roddi pob peth i fyny, a gwneyd arwerthiad cyhoeddus o honynt: oll ac er mor arswydus oedd hyny iddynt, yr oedd eu sefyllfa bresennol mor flin, nes oedd llawer o honynt yn dymuno i hyny gymeryd lle, yn hytrach nag aros yn y cyflwr hwnw.

Fodd bynag, o'r diwedd, daeth Marie i'r penderfyniad i wneyd felly, a rhoddodd yr achos yn law goruchwyliwr i'w ddwyn oddiamgylch, a phenodwyd diwrnod, a rhoed allan hysbysiadau ei fod i gymeryd lle.

"Ni werthwyd mo F'Ewyrth Tomos, 'does bosib' gen' i," ebe F'Ewythr Robert, "â'i fistar chwedi rhoid 'i air iddo fo, i fod o am roid 'i ryddid iddo fo,—a chwedi dechre' gneyd y papure 'n barod at hyny."

"Do, F'Ewythr Robert, fe'i gwerthwyd o 'n siwr i chwi," ebe James, "er y cwbl, ac er i Miss Ophelia eiriol a dadleu ei goreu trosto, a dwyn ar gof i Marie fod ei gŵr yn ei ddyddiau olaf wedi addaw ei ryddid iddo, a dechreu gwneyd y parotoadau anghenrheidiol i hyny: a dwyn ar gof iddi hefyd, mai un o ddymuniadau olaf Efa fach oedd i Tomos gael ei ryddid i fyned adref at ei deulu."

"Ac mi fedrodd y filen ddal yn ngwyneb y cwbwl, a'i werthud o?" ebe F'Ewythr Robert.

"Do, hi fedrodd," ebe James.

"Wel, be oedd hi 'n ddeyd, pen oedd y ddynes dda hono 'n dadle 'r pethe ene trosto fo?"

"O! cymeryd arni syrthio i ffitiau, fel y byddai hi yn arfer gwneyd, os croesid hi: a chwyno iddi ei hun fod pawb a phobpeth yn troi yn ei herbyn hi—synu na buasai Miss Ophelia yn fwy ystyriol a theimladwy drosti nag y buasai yn son dim am y fath bethau wrthi: a gwelodd hono yn fuan nad oedd o un dyben iddi geisio ei pherswadio, a rhoddodd i fyny y gorchwyl mewn anobaith."

"Wel, wel," ebe yr hen ŵr, gan grafu ei lechwedd, "be ddeyda' i?—hum"—

"Wel, tewch a deyd dim," ebe Modryb Elin, "dyna 'r goreu i chwi:" canys gwelai hi fod tymher yr hen ŵr wedi cyffroi i ddigofaint, ac ofnai rhag y buasai iddo roddi y ffordd iddi, a dywedyd rhyw eiriau geirwon. Yr oedd arni fwy o arswyd rhag hyn yn awr, yn gymaint a bod llawer o gyfnewidiad wedi cymeryd lle yn ddiweddar yn nheimlad ac ymddygiad yr hen ŵr. Gobeithiai fod y "gwaith da" wedi ei ddechreu ynddo, a mawr oedd ei phryder rhag y buasai iddo gael ei daflu yn ol i'w hen arferion. Gwyddai hi yn dda fod cyflwr enaid yn ei sefyllfa bresennol ef yn un tyner a pheryglus; canys os pan fyddo un dan radd o argyhoeddiad ac ymroddiad meddwl i ddilyn buchedd newydd y syrth yn ol i un o'i hen arferion llygredig yn wyneb ryw brofedigaeth, yr ymesyd y gelyn arno yn y fan i'w guro i lawr i anobaith, er lladd pob ymroad yn y meddwl i geisio ymadferu drachefn.

"Wel, ïa, debic cin i," ebe 'r hen ŵr yn y man, "tewi a deyd dim ydi 'r gore i mi: ond mae hi 'nanodd iawn hefyd, yn wyneb peth wel ene—dos dithe 'mlaen â'r hanes, James bach!"

"Wel, i chwi, y diwrnod tywyll a du hwnw a ddaeth,—diwrnod yr arwerthiad, pan oedd cyrff ac eneidiau y creaduriaid truain, gorthrymedig, a dychrynedig, i fyned dan y morthwyl, fel cynnifer o anifeiliaid, neu ddodrefn: ac nid felly yn unig chwaith, canys fe fydd yn gyffredin iawn fwy o gellwair a choeg-ddigrifwch, anystyriaeth, a dideimladrwydd, wrth fargenio yn marchnad dynion nag a welir wrth brynu a gwerthu anifeiliaid."

Gwerthwyd yr holl weinidogion, fodd bynag, rhai yma, a rhai acw, a gwahanwyd hwy oddiwrth eu gilydd byth i gyfarfod ar y ddaear mwy, ac ni chlybuwyd gair o hanes llawer o honynt ar ol hyny. Pa galedi a chyfyngderau yr aethant drwyddynt,—pa gynnifer o ddagrau eu gofid a dderbyniodd y ddaear i'w chostrel, ac o ocheneidiau llwythog a ollyngasant i glustiau yr awelon, nid oes ond Efe, yr hwn sydd yn edrych i lawr o'r nefoedd i wrandaw uchenaid y carcharorion, a ŵyr; a phan ymofyno efe am waed efe a'u cofia hwynt, nid anghofia waedd y cystuddiol,—"Canys nid anghofia y tlawd byth, gobaith y trueiniaid ni chollir byth."

Ond am F'Ewythr Tomos, prynwyd ef gan ryw adyn, neu fwystfil, neu ryw anghenfil o greadur rhwng dyn a bwystfil a chythraul, o'r enw Simon Legree, yr hwn oedd yn berchenog planhigfa gotwm ar yr Afon Goch; ac yn feistr lliaws mawr o gaethion. Y mae y desgrifiad a roddir o'r blaidd-ddyn hwn yn arswydus dros ben. Byddai adrodd hanes ei holl greulonderau yn ddigon i beri i'ch clustiau ferwino, ac i'ch gwaed fferu; ac i ddwylaw y creulawn hwnw y goddefodd rhagluniaeth ddoeth y nefoedd i F'Ewythr Tomos druan syrthio.

Yr oedd wedi bwriadu gwneuthur Tomos yn fath o arolygwr ar ei gaethion, i'w gyru a'u fflangellu; ond ni ymgymerai Tomos â'r fath swydd ar un cyfrif. Dywedai hyny yn benderfynol, ond yn barchus wrtho. Addawai weithio ar ei feusydd â'i holl nerth iddo, ond am yru a fflangellu, na oddefai ei gydwybod na'i deimlad ef iddo fod a wnelai ddim â'r fath orchwyl. Gyrai hyn ei feistr yn gynddeiriog wallgof, tyngai a rhegai, a bygythiai—rhuthrai arno, gan ei ddyrnodio a'i gicio, a'i faeddu, a'i archolli, a bytheiriai lwon ofnadwy, y mynai ei blygu at ei ewyllys, a churo ei grefydd allan o hono,—ei fod wedi ei brynu gorff ac enaid, ac yr ystwythai ef i gyflawni pa beth bynag a archai iddo. Ond safai Tomos dan y driniaeth mor addfwyn a'r oen, ac eto mor ddiysgog a dianwadal a'r graig.

"Na, na, misar," ebe fe, "nid yw fy ened yn eiddo chi! ni darfu chi, ac ni allech chi ei brynu fo—mae wedi ei brynu a thalu am dano, gan un sy'n abl i'w gadw o,—tydi o ddim pwys —gellwch chi 'neyd dim niwed i mi!"

Edrychai yn llygaid Legree fel y llefarai, tra yr oedd y dagrau yn gymysg â'r gwaed a redai o'i archollion yn ffrydio i lawr dros ei ruddiau.

"Alla i ddim?" ebe Legree, gyda dirmyg,—"Ni gawn wel'd! Sambo, Quimbo," ebe fe wrth ddau oruchwyliwr negroaidd oedd ganddo, "dewch yma, a rhowch i'r ci hwn y fath driniaeth ac y cofio am dani am un mis, beth bynag."

Daeth y ddau negro cawraidd ymlaen, ac ymaflasant yn Tomos, gyda math o bleser cythreulig i'w weled yn eu hwynebau ag a ffurfiai ddelweddiad priodol o "alluoedd y tywyllwch." Curasant a baeddasant ef tra y daliodd eu nerth; a gadawsant ef yn waedlyd ac archolledig i gyd trosto, mewn hen ystafell oerllyd, yn nghanol hen gelfi, lle y gorchuddid ef gan yr ednogion poenus hyny a elwir *mosquitoes*, y rhai a ychwanegent ei boenau yn ddirfawr, drwy ysu ei archollion; tra yr oedd syched llosgedig —y mwyaf arteithiol o'r holl ddyoddefiadau—yn llenwi i fyny gwpan ei drueni.

"O Arglwydd da, edrych arnaf!—dyro i mi y fuddygoliaeth —dyro i mi y fuddygoliaeth ar y cwbl oll!" erfyniai Tomos, yn nyfnder ei drallod a'i boenau.

Yr oedd yn perthyn i'r sefydliad, wraig *mulatto* brydferth iawn—un oedd yn amlwg ei bod wedi cael dygiad i fyny da ac uchel—a gwraig o feddwl grymus a galluoedd cryfion. Prynasid hi gan Legree, i'w darostwng yn gaethforwyn i'w nwydau. Sylwasai F'Ewythr Tomos ar hon yn neillduol, yn fuan wedi iddo ddyfod yno; ac yr oedd yntau wedi tynu ei sylw hithau. Yr oedd yn amlwg fod ei sefyllfa bresennol yn un annyoddefol i'w theimladau; a'i bod yn ffieiddio ei hun, nes oedd ei bywyd yn faich iddi. Eto yr oedd ganddi ryw awdurdod ar Legree, na feddai neb arall mohono. Yr oedd yn gasach ganddi am dano nag am un creadur arall yn y greadigaeth: gwyddai yntau hyny, ac yr oedd hyny yn ei greuloni yn ddirfawr. Anfonodd hi unwaith i weithio ar y blanigfa gyda 'r caethion eraill, i edrych a allasai, drwy hyny, ddarostwng ei meddwl a'i chael yn fwy hyblyg. Gweithiai gerllaw i Tomos y diwrnod hwnw; ac er na phasiodd yr un gair rhyngddynt, daethai meddwl y ddau i ryw ymgydnabyddiaeth â'u gilydd! ond ni chafodd yr oruchwyliaeth hon ddim o'r effaith a ddymunasai Legree arni. Pan ddaeth y gweithwyr, yr hwyr hwnw, â'u basgedau cotwm i gael eu pwyso, er gweled a gyflawnasai pob un dasg y dydd, safai Legree ei hun wrth y clorian: pan ddaeth tro Cassy (canys dyna oedd ei henw), hi a ddaeth ymlaen â'i basged, gydag agwedd ddiystyrllyd a ffrom; fel y rhoddai hi yn y clorian, edrychai Legree yn ei llygaid gyda golwg o gymysg deimladau, fel pe buasai yn edrych am effeithiau dymunol i'r oruchwyliaeth ynddi. Sefydlodd hithau ei llygaid duon yn graffus arno, a dywedai rywbeth yn Ffrengig—beth a ddywedodd, nid oedd neb yn y lle yn gallu deall—ond taflodd ryw ddynodiant cythreulig dros wynebpryd Legree. Cododd ei ddwrn, fel pe

buasai ar fedr ei tharaw; a safai hithau gan edrych arno gyda dirmyg, ac yna troai ymaith oddiwrtho.

Yn awr, pan oedd Tomos wedi ei adael ei hunan yn y cyflwr a ddesgrifiwyd, ac yn anfon ei ymbiliau at yr Hwn oedd yn abl i'w wrandaw a'i gynnorthwyo, efe a glywai sŵn traed yn yr ystafell, a llewyrchai goleuni llusern ar ei wyneb.

"Pwy sy yna? O! er mwyn trugaredd y nefoedd, estynwch ychydig ddwr i mi."

Pwy oedd yno ond Cassy: gosodai ei llusern ar lawr, a thywalltai ddwfr o gostrel, a diodai ef. Llyncai gwpanaid ar ol cwpanaid, gan mor angerddol ei syched.

"Yfwch gymaint sydd arnoch eisieu," ebe hi; "mi a wyddwn yn dda sut y byddai hi. Nid hwn yw y tro cyntaf i mi fod allan y nos yn diodi syched un yn eich sefyllfa chwi."

"Diolch i chwi, missis," ebe Tomos, wedi iddo ddarfod yfed.

"Na elwch fi, missis," ebe hi, "nid wyf fi ond caethes druenus fel eich hunan—un mwy darostyngol nag y gellwch chwi byth fod!" ebe hi, mewn tôn chwerw, fel yr elai at y drws, ac y llusgai i fewn fath o *fatress*, dros yr hwn y taenai gynfasau wedi eu gwlychu mewn dwfr oer—"treiwch dreiglo eich hun, druan, ar y rhai'n," ebe hi.

Bu Tomos yn hir cyn y gallai ymlusgo ac ymdreiglo ar y glwth hwn; ond wedi gorwedd arno, teimlai lawer o esmwythad oddiwrth effaith y cynfasau gwlybion ar ei glwyfau.

"Dyna, druan," ebe Cassy, "y peth goreu, a'r oll a fedraf fi wneyd i chwi!"

Eisteddai y wraig ar y llawr yn synllyd, â'i dwylaw am ei gliniau; ac yn mhen enyd torodd allan gan anerch Tomos, a dywedai,—

"Nid yw o un dyben, druan bach—nid yw o un dyben i chwi gynnyg gwrthsefyll. Ymddygasoch yn wrol, ac yr oeddych yn gwneyd yn iawn; ond ofer ydyw y cwbl. Yr ydych yn nwylaw cythraul: yn ei law ef y mae 'r awdurdod, a rhaid i chwi roi i fyny yn y diwedd."

"Rhoi i fyny?" Ai nid oedd gwendid dynol a phoenau corfforol wedi sibrwd hyny yn ei glustiau o'r blaen? Cyffroai Tomos; canys yr oedd y wraig chwerw ei henaid, gyda'i llygaid gwylltion a'i llais cynhyrfus, yn ymddangos fel corfforiad o'r demtasiwn yr oedd yn ymdrechu yn ei herbyn.

"O Arglwydd! O Arglwydd!" efe a ruddfanai, "Pa fodd y gallaf roi i fyny?"

"Nid yw o un dyben galw ar yr Arglwydd—nid yw efe byth yn gwrandaw," ebe y wraig. "Nid oes un Duw, yr wyf fi yn coelio; neu os oes, y mae wedi cymeryd plaid yn ein herbyn ni. Y mae pobpeth—nefoedd a daear—yn ein herbyn—pobpeth am ein gwthio i uffern: a phaham nad äem yno?"

Chuai Tomos ei lygaid, gan echrydu at ymadroddion annuwiaidd y wraig.

"Yr ydych yn gweled," ebe hi, "na wyddoch ddim byd am dani; yr wyf fi yn gwybod. Mi a fum yn y lle hwn bum mlynedd, gorff ac enaid, dan draed y dyn hwn. Yr wyf yn ei gasau, fel yr wyf yn casau y cythraul! Yma yr ydych ar blanigfa unig, ddeng milltir oddiwrth yr un nesaf ati. Nid oes yma un dyn gwyn i dystiolaethu, pe caech eich llosgi yn fyw—pe byddech yn cael eich tori ymaith fesur y fodfedd, a'ch taflu i'r cwn i'ch bwyta neu eich crogi i fyny, a'ch fflangellu i farwolaeth! Nid oes yma un gyfraith ddwyfol na dynol, a all wneyd y daioni lleiaf i chwi nac i yr un o honom; ac am y dyn yma, nid oes dim creulonwaith yn bod ar nad yw yn ddigon cythreulig i'w gyflawni. Mi a allwn beri i wallt undyn sefyll ar ei ben, a gwneyd iddo rincian dannedd, pe dywedwn y pethau welais yma; ac nid yw o un dyben ceisio gwrthwynebu. A oedd arnaf fi eisieu dyfod yma i fyw gydag ef? Ai nid oeddwn yn wraig wedi ei dwyn i fyny yn foethus a thyner; ac efe—y nefoedd fawr!—pwy a beth ydyw o! Ac eto yr wyf wedi byw gydag ef y pum mlynedd hyn, dan felldithio pob moment o'm bywyd, nos a dydd. Ac yn awr, y mae wedi ceisio un newydd—peth ieuanc pymtheg oed—un wedi ei dwyn i fyny yn grefyddol, medd hi. Dysgasai ei meistres flaenorol iddi hi ddarllen y Beibl, a dygodd ei Beibl gyda hi yma—i uffern!"

Merch ieuanc brydferth, o'r enw Emeline, oedd yr un newydd hon, a brynasai Legree yn yr un hynt fasnachol ag y prynasai efe Tomos a rhai eraill, gan amcanu gwneyd gordderch o honi.

Plethodd Tomos ei ddwylaw fel un mewn trallod a dychryn meddwl wrth wrandaw.

"Arglwydd Iesu! a ydwyt wedi ein llwyr anghofio?" ebe fe yn y man. "Cymhorth, Arglwydd, cymhorth—yr wyf ar darfod am danaf!"

"A pha beth yw y cwn truenus hyn yr ydych yn gweithio gyda hwy, fel y dyoddefech fel hyn yn eu hachos? Troai pob un o honynt yn eich erbyn y tro cyntaf y caent gyfle. Y maent oll mor greulawn a dideimlad tuag at eu gilydd ag y gallant fod; nid yw o un dyben yn y byd i chwi ddyoddef, yn hytrach na gwneyd unrhyw niwed iddynt."

"Y cryduried trien," ebe Tomos, "beth a'u gwnaeth nhw 'n greulon? Ac os rho i fyny a 'marfer â'r peth, mi a ine, o dipin i beth, 'run fath a nhw. Na, na, missis! mi gollis bob peth—gwraig a phlant, a chartref, a misar tirion, a base fo 'n gneyd fi yn dyn rhydd, pe cowse fo fyw wythnos yn hwy. Yr wyf wedi colli pob peth yn y byd yma, a 'rwan, ni cholla i mo'r nefoedd hefyd. Na talla fi dim troi 'n dyn drwg gyda'r cwbwl!"

"Ond ni all fod y gwna yr Arglwydd ei osod fel pechod yn ein

herbyn ni," ebe y wraig, "pan yr ydym yn cael ein gorfodi i'r peth; ond rhoddir hyny yn nghyfrif y rhai sydd yn ein gorthrechu."

"Gwneir," ebe Tomos; "ond ni cheidw hyny ni rhag myned yn drygionus ein hunain. Os ä i mor drygionus a creulon a'r Sambo ene, bydd o fawr gwhanieth i mi sut y gnai fyn'd felly —bod felly sy'n beth dychrynllyd yn ngolwg i."

Sefydlodd y wraig olwg gyffrous a dychrynedig ar Tomos, fel pe buasai ryw syniad newydd wedi taraw i'w meddwl: a chan ddwys ocheneidio, hi a dorai allan—

"O'r tad trugarog! yr ydych yn dweyd y gwir—O! O! O!" a syrthiodd ar y ddaear gyda grnddfanau, fel un yn cael ei dirdynu gan arteithiau meddwl.

Bu enyd od dystawrwydd wedi hyn. "O missis!" ebe Tomos, yn ddystaw, yn y man.

Cyfododd y wraig yn sydyn, â'i hwynebpryd wedi dychwelyd i'w ddelweddiad hylym pruddaidd arferol.

"Os gwelwch yn da, missis," ebe Tomos, "mi â'u gwelis nhw 'n taflu fy ngoban i'r gornel acw, ac yn i phoced hi mae Meibil i, os gwele missis yn da i ystyn o i mi."

Estynodd Cassy ef iddo. Agorodd Tomos ef ar ran ag oedd wedi ei farcio ganddo, a'i fynych ddarllen—y gyfran hòno ar y golygfeydd olaf yn mywyd yr Hwn trwy ei gleisiau ef yr iacheir ni.

"Os bydd missis cystal a darllen hwn yna, mae o'n gwell na dwr."

Cymerai Cassy y llyfr gyda golwg sychlyd, ddiystyr. Yna, darllenai yn uchel, mewn llais tyner, a chyda phwysleisiad prydferth hynod, yr hanes toddedig hwnw am y dyoddefydd gogoneddus. Fel y darllenai ymlaen, crynai ei llais yn fynych; ac weithiau, methai fyned ymlaen yn hollol, pan yr ymattaliai, hyd nes y gallai adfeddiannu ei hunan. Pan ddaeth y geiriau tarawiadol, "O Dad, maddeu iddynt, canys ni wyddant beth y maent yn ei wneuthur," hi a roddodd y llyfr heibio, a chan guddio ei gwyneb yn nghudynau tewion ei gwallt, hi a dorodd i wylo yn ddwys iawn. Wylai Tomos hefyd, a chymysgai ei ddagrau âg erfyniadau.

"Tae ni dim ond gallu cadw at 'nyna," ebe fe. "'Roedd yn myddangos yn beth mor naturiol iddo ef; ond rhaid i ni mydrechu mor galed i allu gneyd! O Arglwydd, helpia ni! O bendigedig Arglwydd Iesu, helpia ni!"

Missis," ebe Tomos, yn mhen enyd, "mi rydw i'n gwel'd rwsut, ych bod chi 'mhell uwchlaw i mi ymhob peth; ond y mae un peth y galle missis ddysgu, hyd yn nod oddiwrth Tomos dlawd. Chi deyd bod yr Arglwydd yn cym'ryd plaid yn ein herbyn ni, am fod o gadel i ni gael yn baeddu a'n curo; ond chi 'n gwel 'd fel y bu ar i Fab i hun, bendigedig Arglwydd y

gogoniant—a nid oedd o'n dlawd? Ac a fuom ni, yr un o honom ni, 'rioed mor isel ag y bu o? Nid ydi 'r Arglwydd wedi 'n hanghofio ni, yr wy 'n sicir o hyny. 'Os dyoddefwn, ni a deyrnaswn gydag ef,' medd yr 'sgrythyr. 'Ond os gwadwn ef, yntau hefyd a'n gwâd ninnau. Ai ni daru nhw ddim dyodde i gyd—yr Arglwydd a'i dysgyblion? Dywed y 'sgrythyr, fel y cawson nhw 'u llabuddio, a'u llifio, ac y buon nhw 'n crwydro mewn crwyn defed a chrwyn geifr, yn ddyddim, yn gystuddiol, ac yn ddrwg 'u cyflwr. Tydi 'n bod ni 'n dyodde, run rheswm i beri i ni feddwl bod yr Arglwydd wedi troi yn ein herbyn ni; ond i'r gwrthwyneb, os glynwn ni wrtho a peidio mollwng i pechod."

"Ond paham y mae efe yn ein gosod mewn amgylchiadau nas gallwn ddim help ond pechu?" ebe y wraig.

"Yr wy 'n meddwl bod gynon ni help," ebe Tomos.

"Chwi gewch weled," ebe Cassy, "beth ellwch chi wneyd. Byddant am eich pen yfory eto, mi a'i hadwaen hwynt; mi a welais ei holl arferion; ni allaf oddef y meddwl am yr holl bethau creulawn a wnant i chwi; a gwnant i chwi roi i fyny o'r diwedd."

"Arglwydd Iesu!" ebe Tomos, "cymer ofal ff'ened! O Arglwydd! paid a gadel i mi roi fyny!"

"O'r anwyl!" ebe Cassy, "mi a glywais yr holl lefain a'r gweddïo yma o'r blaen; ac er y cwbl, gorfu iddynt roi y goreu yn diwedd. Dyna Emeline: y mae hi 'n ceisio dal allan, ac felly yr ydych chwithau, ond i ba ddyben? Rhaid i chwi roi y goreu, neu fe'ch lleddir bob yn fodfedd."

"Wel, ynte, mi fyddaf farw!" ebe Tomos. "Nyddan' nhw mowyd i allan cyd y medron nhw, dallan nhw dim help i mi farw rw amser! A chwedi hyny, dallan nhw gneyd dim chwaneg. Yr wy 'n dawel, mi wn gna 'r Arglwydd fy helpio i, a nwyn i trw 'r cwbwl."

Ni atebodd y wraig un gair—eisteddai, â'i llygaid duon yn sefydlog ar y llawr.

"Gallai mai dyna 'r ffordd," ebe hi, megys wrthi ei hun; "ond am y rhai sy wedi ymollwng, nid oes un gobaith am danynt hwy!—dim oll! Yr ydym yn byw mewn aflendid, ac wedi byw mor ffiaidd, nes ydym yn gorfod ffieiddio ein hunain. Yr ydym yn hiraethu am farw, ond ni feiddiwn ladd ein hunain—dim gobaith!—dim gobaith!—dim gobaith! Dyma yr eneth yma, Emeline, at yr un oed ag oeddwn innau."

"Chwi am gwelwch i yn awr," ebe hi wrth Tomos, gan siarad yn bur gyflym; "gwelwch beth ydwyf! wel, fe'm dygwyd i fyny yn nghanol llawnder a moethau,—y peth cyntaf wyf yn gofio, yw, chware o gwmpas, pan oeddwn yn blentyn, mewn parlwrau ysplenydd; a chael fy nghadw a'm gwisgo 'n orwych;

a phawb yn y lle, ac a ymwelent â'r lle, yn fy nghanmawl. Yr oedd gardd o flaen ffenestri y gorneuadd (*saloon*), ac yno yr arferwn chwareu gyda 'm brodyr a'm chwiorydd. Dodwyd fi mewn gwyryfdŷ, ac yno y dysgais fiwsig, Ffrancaeg, a gwnïadwaith, a phob peth o'r fath; pan oeddwn yn bedair-ar-ddeg oed, daethum adref i gladdedigaeth fy nhad. Bu ef farw yn bur ddisymwth, a phan aed i drefnu yr amgylchiadau, cafwyd allan nad oedd yno prin ddigon o feddiannau i dalu y dyledion; a phan gymerodd yr echwynwyr gyfrif o'r eiddo, dodwyd fi i lawr, fel rhan o hono. Caethes oedd fy mam, a bwriadai fy nhad yn wastad fy ngweyd i yn rhydd; ond nid oedd wedi cyflawni ei fwriad, ac felly dodwyd fi i lawr ar y rhestr. Gwyddwn yn wastad beth oeddwn, ond nid oeddwn erioed wedi meddwl llawer am hyny. Nid oes neb yn meddwl bod dyn cryf, iachus, yn agos i farw. Yr oedd fy nhad yn ddyn perffaith iach, bedair awr cyn ei farwolaeth. Efe oedd un o'r rhai cyntaf a gymerwyd gan y colera yn New Orleans. Dranoeth wedi ei gladdedigaeth, cymerodd gwraig fy nhad ei phlant gyda hi, ac aethant i blanigfa ei thad hi. Gadawyd y gorchwyl o drefnu yr amgylchiadau yn nwylaw cyfreithiwr ieuanc; a deuai ef yno bob dydd. Byddwn yn ei weled yn aml, a siaradai yn dirion a pharchus wrthyf. Un diwrnod, daeth â gŵr ieuanc gydag ef, yr hwn a dybiwn i y prydferthaf a welswn erioed. Ni anghofiaf byth y noson hono. Rhodiais gydag ef yn yr ardd. Yr oeddwn i yn unig, ac yn alarus; ac yr oedd yntau mor dirion a charedig wrthyf. Dywedodd wrthyf iddo fy ngweled cyn i mi fyned i'r gwyryfdŷ, a'i fod yn fy mawr garu er ys hir amser, ac y byddai efe yn gyfaill a noddwr i mi;—yn fyr, er na ddywedodd efe hyny wrthyf,—yr oedd wedi talu dwy fil o ddoleri am danaf, a'i eiddo ef oeddwn;—yr oeddwn yn ewyllysgar i fod yn eiddo ef; oblegid yr oeddwn yn ei garu—ei garu!" ebe hi drachefn. "O, fel yr oeddwn yn caru y dyn hwnw! Ac yr wyf yn ei garu eto, ac mi a'i caraf tra fo anadl ynof! Yr oedd mor brydferth, mor wych, mor ardderchog! Dododd fi mewn tŷ ysplenydd, gyda gweinidogion, dodrefn, cerbydau, a gwisgoedd—pob peth a allai arian bwrcasu i mi; ond nid ar y pethau hyn yr oeddwn yn gosod fy nghalon—am dano ef yn unig yr oeddwn yn gofalu. Yr oeddwn yn ei garu yn fwy na 'm Duw a fy enaid fy hun; a phe ceisiaswn, ni allaswn wneyd dim mewn un ffordd ond fel y ceisiai ef genyf. Nid oedd arnaf eisieu ond un peth yn unig—yr oedd arnaf eisieu iddo fy mhriodi; meddyliwn, os oedd yn fy ngharu, fel y dywedai ei fod, y buasai yn foddlawn i'm priodi, ac i'm gosod yn rhydd. Ond efe a'm darbwyllai fod hyny yn anmhosibl; a dywedai, os byddem ond yn unig yn ffyddlawn y naill i'r llall, fod hyny yn briodas yn ngolwg Duw. Os ir hyny, ai nid oeddwn i yn wraig y dyn hwnw? ai nid oeddwn

yn ffyddlawn iddo? Dros saith mlynedd, ai ni ddarfu i mi wylio pob edrychiad a symudiad o'i eiddo; a byw ac anadlu yn unig i'r dyben o'i foddio? Cafodd y dwymyn felen, a thros ugain dydd a nos myfi a wyliais trosto fy hunan yn unig; myfi a roddai ei gyffyriau iddo, ac a wnai bob peth fyddai arno eisieu; ac efe a'm galwai "ei angel" yr amser hòno, a dywedai fy mod wedi achub ei fywyd. Bu i ni ddau blentyn prydferth—bachgen oedd yr hynaf, yr hwn a alwem, Henry; yr oedd yn wir ddelw ei dad—yr oedd ganddo y fath lygaid prydferth, y fath dalcen teg, a'i wallt yn hongian yn gudynau o'i amgylch; ac yr oedd ysbryd a thalentau ei dad ynddo hefyd. Yr oedd Elisa fach, (y ferch) meddai, yr un fath a fi. Arferai ddyweyd wrthyf, mai fi oedd y wraig brydferthaf yn Louisiana—yr oedd mor falch o honof fi a'r plant. Yr oedd yn hoffi yn fawr i mi eu gwisgo yn wych, a'm cymeryd i a hwythau o amgylch mewn cerbyd agored; a chlywed y sylwadau a wnelai pobl arnom; ac arferai lanw fy nghlustiau â'r pethau a ddywedai pobl mewn ffordd o ganmoliaeth i mi a'r plant. O! yr oedd y rhai hyny yn ddyddiau dedwydd—yr oeddwn yn meddwl fy mod mor ddedwydd ag y gallasai unrhyw un fod; ond er hyny, y dyddiau drwg a ddaethant. Daeth cefnder iddo i ymweled âg ef, yr hwn oedd yn gyfaill neillduol ganddo; yr oedd yn meddwl yn fawr iawn o hono; ond y fynyd gyntaf y gwelais ef, nis gwn paham, yr oeddwn yn arswydo rhagddo; oblegid teimlwn yn sicr, yn fy meddwl, y byddai iddo ddwyn drygfyd arnom. Efe a hudai Henry i fyned allan gydag ef, ac yn aml ni ddeuent adref hyd ddau a thri yn y boreu. Ni feiddiwn yngan gair: oblegid yr oedd Henry mor uchelfrydig, fel yr oedd arnaf ofn. Hudodd ef i'r chwareudai; ac yr oedd efe yn un o'r rhai hyny, wedi iddynt unwaith gychwyn, nad oes dim sefyll, na throi yn ol mwyach. Efe a'i dygodd gyda hyny i gyfathrach â boneddiges arall, a gwelais yn fuan fod ei galon wedi ymddyeithrio oddiwrthyf fi. Ni ddywedodd ddim wrthyf, ond yr oeddwn yn ei weled ddydd ar ol dydd. Teimlwn fy nghalon yn ymdòri, ond ni allwn ddywedyd gair wrtho ar y mater. Yn fuan cynnygiodd yr adyn a'n dinystriodd fy mhrynu i a'r plant,—er ei alluogi i dalu dyledion ei hapchwareuon, y rhai a safent yn ei ffordd i briodi, fel yr ewyllysiai; ac efe a'n gwerthodd iddo. Dywedai wrthyf un diwrnod, bod ganddo alwedigaeth i fyned i'r wlad, ac y byddai oddi cartref am bythefnos neu dair wythnos. Siaradai yn fwy caredig nag arferol, a dywedai y deuai yn ei ol; ond ni ddarfu hyny fy nhwyllo;—gwyddwn fod yr amser wedi dyfod. Yr oeddwn megys pe buaswn wedi fy nhroi yn gareg; ni allwn siarad, nac wylo deigryn; cusanodd fi, a chusanodd y plant, lawer gwaith, ac aeth allan. Gwelais ef yn marchogaeth ar ei geffyl, a gwyliais ef hyd onid aeth o'r golwg, ac yna syrthiais i lawr mewn llewyg.

"Yna daeth yr adyn melldigedig ymlaen i gymeryd meddiannau. Dywedodd ei fod wedi fy mhrynu i a'm plant, a dangosodd i mi y papyrau. Melldithiais ef ger bron Duw, a dywedais wrtho, y byddwn farw yn hytrach na byw gydag ef.

"Fel y mynoch," ebe fe, "ond os na ymddygwch yn rhesymol, mi a werthaf y ddau blentyn, lle na chlywoch chwi byth son am danynt. Dywedodd wrthyf ei fod bob amser yn meddwl am fy nghael, a'i fod wedi tynu Henry, a'i faglu i ddyled, i'w orfodi i fy ngwerthu o bwrpas—ei fod wedi ei hudo i syrthio mewn cariad â gwraig arall; ac y gallwn weled wedi y cwbl, na roddai efe i ryw ychydig 'stranciau, a dagrau, a phethau o'r fath hyny.

"Ymroddais iddo, canys yr oedd fy nwylaw wedi eu rhwymo. Yr oedd fy mhlant dan ei awdurdod—pa bryd bynag y gwrthwynebwn ei ewyllys mewn dim, soniai am eu gwerthu hwy, a gwnaeth fi mor ymostyngar i'w ewyllys ag y dymunasai. O! y bywyd ydoedd!—i fyw, a byw o ddydd i ddydd mewn trueni! ac i fod yn rhwym gorff ac enaid wrth un a gasäwn. Oni fuaswn yn darllen i Henry, a chwareu ar y piano iddo, a chanu iddo! ond pobpeth a wnawn i'r dyn hwn oedd yn faich calon i mi: eto, yr oedd arnaf ofn nacau unrhyw beth. Yr oedd yn hynod o frwnt a chaled tuag at y plant. Yr oedd Elisa yn beth fechan ofnus; ond yr oedd Henry yn ëon ac uchelfryd, fel ei dad, ac nid oedd erioed wedi cael ei ddysgyblu a'i gadw danodd. Byddai bob amser yn cweryla âg ef, ac yr oeddwn yn byw mewn ofn a dychryn gwastadol. Ymdrechais ddysgu y plentyn i ymddwyn yn barchus tuag ato, a gofalwn fy ngoreu i'w gadw oddiwrtho; oblegid yr oedd fy holl enaid wedi ei glymu wrth y plant, ond ni wnaeth y cwbl ddim lles. *Efe a werthodd y ddau blentyn!* Cymerodd fi allan i farchogaeth un diwrnod: a phan ddaethum adref, yr oeddynt wedi myned! Dywedodd wrthyf ei fod wedi eu gwerthu, a dangosodd i mi yr arian, pris eu gwaed. Ymddangosodd i mi fod pob peth megys wedi fy ngadael, gorphwyllais a melldithiais,—melldithiais Dduw a dyn, ac yr wyf yn credu mewn gwirionedd fod arno fy ofn, am beth amser—ond ymgaledodd drachefn. Dywedodd fod fy mhlant wedi eu gwerthu; ond pa un a gawn weled eu gwynebau byth mwyach ai peidio, y dybynai hyny arno ef, ac os na fyddwn i yn dawel, y caent hwy deimlo o'm plegid. Wel, chwi a ellwch wneyd fel y mynoch â gwraig, wedi i chwi gael ei phlant dan eich awdurdod. Gwnaeth i mi ymostwng a bod yn dawel. Swynai fi â gobeithion y byddai iddo, hwyrach, eu prynu yn ol, ac felly yr aeth pethau ymlaen am wythnos neu ddwy. Yr oeddwn un diwrnod yn rhodio allan, ac aethum heibio i'r fflangelldy. Gwelais fagad o bobl wrth y porth, a chlywn lais plentyn yn gwaeddi; ac yn ddisymwth, dyna fy Henry yn dianc oddiar ddau neu dri o ddynion ag oeddynt yn ei ddal, ac yn rhedeg

ataf dan waeddi ac ymaflyd yn fy ngwisg. Daethant i fyny ato dan dyngu yn arswydus, a dywedodd un o honynt wrtho, wynebpryd yr hwn nis gallaf byth ei anghofio, nad oedd wiw iddo feddwl cael dianc felly, ei fod yn myned âg ef i'r fflangelldy, ac y ca'i wers yno na allai byth ei hanghofio. Eiriolais ac erfyniais drosto, ond ni wnaent ond chwerthin am fy mhen. Gwaeddai y plentyn ac edrychai yn fy wyneb, a glynai yn fy ngwisg nes y darfu iddynt wrth ei lusgo ymaith, rwygo godre fy ngŵn i'w ganlyn. Aethant âg ef ymaith, ac yntau yn llefain, 'Mam! Mam! Mam!' Yr oedd un dyn o'r rhai oedd yn sefyll yno, fel pe buasai yn tosturio trosof; cynnygiais iddo yr holl arian a feddwn, os gwnelai gyfryngu i'w achub: ysgydwodd ei ben, a dywedai fod y dyn yn dyweyd fod y bachgen wedi bod yn sarhaus ac anufudd er pan brynasai ef, a'i fod yn myned i'w dori i fewn yn iawn am unwaith. Troais ymaith, a rhedais, ac yr oedd ei lais yn gwaeddi yn fy nglustiau bob cam. Aethum i'r tŷ, a rhedais i'r parlawr lle y cefais y bwtler. Dywedais yr hanes wrtho, ac erfyniais arno fyned a chyfryngu; chwarddodd arnaf, a dywedodd nad oedd y bachgen yn cael dim ond oedd yn ei haeddu, bod yn rhaid ei dori i fewn, a goreu po'r cyntaf—beth a ellwch ddysgwyl?" ebe fe.

"Teimlais, fel pe buasai rhywbeth yn tori yn fy mhen y moment hwnw; teimlwn yn syfrdanllyd a llidiog. Yr wyf yn cofio gweled cyllell fawr lem ar y bwrdd; ac yr wyf yn cofio rhywbeth am danaf fy hun yn cipio gafael ynddi, ac wedi hyny aeth y cwbl yn dywyll, ac ni wybum ddim arall ar ol hyny dros ddyddiau lawer.

"Pan ddaethum ataf fy hun, yr oeddwn mewn ystafell drefnus—ond nid fy ystafell fy hun. Yr oedd hen wraig ddu yn gwylio arnaf, a deuai meddyg i edrych am danaf, a chymerid llawer iawn o ofal yn fy nghylch. Yn mhen amser, deallais ei fod ef, fy ngorthrymwr, wedi myned ymaith, ac wedi fy ngadael yn y tŷ hwnw i gael fy ngwerthu, pan wellhawn; a dyna paham y cymerent gymaint o ofal am danaf.

"Ni ddysgwyliais y buaswn yn gwella, a gobeithiwn na wnawn; ond fy ngadael a wnaeth y dwymyn, a daethum eilwaith yn iach, ac i rodio. Gwnaent i mi ymwisgo bob dydd, a deuai boneddigion i fewn yn fynych, a mygent eu *cigars* ac edrychent arnaf, a gofynent gwestiynau i mi, a dadleuent ynghylch fy achos. Yr oeddwn mor ddystaw a phruddglwyfus, fel na fynai yr un o honynt mo honof. Bygythient fy fflangellu, os na fyddwn lawenach. O'r diwedd, un diwrnod, daeth boneddwr o'r enw Stuart i'r lle—ymddangosai fel pe buasai ganddo rywfaint o deimlad drosof. Gwelodd fod rhyw drymder dirfawr ar fy nghalon, a daeth i ymweled â mi ar ei ben ei hun lawer gwaith; ac o'r diwedd, perswadiodd fi i fynegu fy helynt iddo.

Prynodd fi o'r diwedd, ac addawodd wneyd yr oll a allai er dyfod o hyd i'm plant a'u prynu yn ol. Aeth i'r gwesty lle yr oedd fy Henry wedi ei werthu iddo; ond dywedent wrtho yno, ei fod wedi ei werthu i blanigwr i fyny yr Afon Pearl: dyna y newydd diweddaf a glywais am dano. Cafodd allan wedi hyny pa le yr oedd fy merch; yr oedd dan gadwraeth hen wraig: cynnygiodd swm dirfawr am dani, ond ni werthent hi. Cawsai Butler allan mai i mi yr oedd arno eisieu ei phrynu, a danfonodd air ataf, na chawn byth mo honi. Yr oedd Cadben Stuart yn dirion iawn wrthyf. Yr oedd ganddo blanigfa ysplenydd, a chymerodd fi iddi. Ganwyd i mi fab yno, O! y plentyn hwnw!—fel yr oeddwn yn ei garu!—mor debyg i'm Henry bach druan, ydoedd! Ond yr oeddwn wedi gwneyd fy meddwl i fyny, oeddwn, yr oeddwn, na cha'i un plentyn i mi drachefn fyw i dyfu i fyny; cymerais y bychan yn fy mreichiau, pan oedd yn bythefnos oed, a chusenais ef, ac wylais uwch ei ben, ac yna rhoddais *laudanum* iddo, a deliais ef wrth fy mynwes, tra y cysgodd hyd farwolaeth. Wylais a galerais ar ei ol, a phwy a feddyliasai nad mewn camgymeriad y rhoddasom y cyffyr iddo? Ond dyna un o'r ychydig bethau y mae yn dda genyf o'u plegid yn awr. Nid yw yn edifar genyf hyd heddyw; y mae ef o leiaf allan o boen. Beth gwell na marwolaeth a allaswn roddi iddo, blentyn, blentyn, truan! Yn mhen ychydig, daeth y colera i'r gymydogaeth, a bu y Cadben Stuart farw o hono. Yr oedd pawb a ewyllysient gael byw yn marw—a minnau, er i mi fyned i wared at ddrws angeu i erfyn am gael myned i mewn, oeddwn yn gorfod *byw*. Wedi hyny, gwerthwyd fi o law i law, hyd nes y gwywais, ac y llygrodd fy ngwedd, a chefais dwymyn; a'r pryd hwnw y prynodd yr adyn hwn fi, a dygodd fi yma, a dyma lle yr ydwyf!"

Terfynodd ei 'stori yn y fan hon, rhedasai trwyddi yn gyflym a chyffrous—weithiau fel pe buasai yn ei hadrodd wrth Tomos, ac weithiau megys pe buasai yn ei hadrodd wrthi ei hun. Llefarai gyda'r fath angerdd teimlad, nes oedd Tomos fel wedi anghofio ei hunan a'i archollion wrth wrandaw arni; a chan ymgyfodi ar ei benelin, efe a'i gwyliai fel y rhodiai yn ol ac ymlaen, â'i gwallt du hirllaes yn cyhwfanu o'i hamgylch fel y symudai.

"A chwi a ddywedwch wrthyf," ebe hi, yn mhen enyd, "fod Duw yn bod,—Duw, yr hwn sydd yn edrych i lawr ac yn gweled pethau fel hyn. Gallai fod. Arferai y chwiorydd yn y gwyryfdy ddywedyd wrthyf am ddydd barn, pan y deuai pob peth i'r goleu; ai ni ddisgyn dialedd, ynte!"

"Ni feddyliant fod yr hyn ydym ni yn oddef, yn ddim yn y byd; na'r hyn y mae ein plant yn orfod ddyoddef, nid yw o un pwys. Ond bum i yn rhodio yr heolydd pan ymddangosai fel pe buasai digon o drueni yn gwasgu ar fy nghalon i yn unig i suddo y ddinas. Dymunaswn i'r tai syrthio arnaf, neu fod i'r

daear fy llyncu. Do! ac yn nydd y farn, mi a safaf i fyny ger bron Duw, yn dyst yn erbyn y rhai a'm dinystriasant i a'm plant gorff ac enaid! Pan oeddwn yn blentyn, meddyliwn fy mod yn grefyddol,—yn caru Duw, a gweddïo; yn awr, yr wyf yn enaid colledig, yn cael fy erlyn gan ddiafliaid, y rhai sydd yn fy mhoeni ddydd a nos,—y maent yn fy ngwthio ymlaen o hyd o hyd——ac mi a'i gwnaf hefyd un o'r dyddiau yma!" ebe hi gan gau a gwasgu ei llaw, tra y tywynai y gorphwylliad yn ei llygaid duon trymaidd. "Mi a'i hyrddiaf i'r lle y mae yn perthyn iddo, y ffordd feraf hefyd,—un o'r nosweithiau nesaf, pe baent yn fy llosgi yn fyw am hyny." Dilynai hyn â chwerthiniad gwyllt, yr hwn a adseiniai dros y lle, a dybenai mewn wylofain chwerw—taflai ei hun ar y llawr, gan ymgreinio mewn chwerwder enaid.

Aeth y ffit orphwyllog trosodd yn fuan; a chyfodai ar ei thraed, a nesäai at Tomos ?

"A allaf fi wneyd rhywbeth yn ychwaneg i chwi, druan?—a gaf fi roddi ychydig ddwfr i chwi."

Yr oedd prydferthwch a graslonrwydd yn ei dull a'i llais, yn dywedyd hyn, ag oedd yn wahanol iawn i'w dull gwylltiog blaenorol.

Yfai Tomos y dwfr, ac edrychai yn ddifrifol a thosturiol yn ei gwyneb.

"O missis! mi a ddymunwn i chwi fyned ato Ef, yr hwn a all roddi i chwi y dwfr bywiol," ebe fe.

"Myned ato Ef! pa le y mae efe? pwy yw efe?" ebe Cassy.

"Yr Hwn y darllenasoch am dano i mi—yr Arglwydd Iesu."

"Mi a welais ddarlun o hono, uwchben yr allor, pan oeddwn yn blentyn," ebe Cassy,—"ond nid yw efe yma—nid oes dim yn y byd yma, ond pechod ac anobaith—Ow! Ow!" gan roddi ei llaw ar ei mynwes, a thynu ei hanadl, fel megys i godi pwysau trwm.

Edrychai Tomos fel pe buasai ar fedr dweyd rhywbeth yn mhellach, ond hi a'i hattaliodd, "Peidiwch a siarad druan," ebe hi, "ymdrechwch gysgu, os gellwch;" a chan osod dwfr yn ei gyrhaedd, a gwneuthur cymaint a allai i'w wneyd mor gomfforddus ag oedd modd, hi a'i gadawodd.

"Felly yr ydwyf finnau yn tewi ac yn gadael ar hynyna heno," ebe James.

"Wel, wel," ebe F'Ewythr Robert, "y mae 'r slafri ene 'n rhw bydew diwaelod o 'rchylldod a thrieni! Ddaru mi ddim meddwl 'rioed o'r blaen y gallse 'r cythrel a phechod 'neuthur dynion yn gyrduried caled, dideimlad, a chreulon, fel mae 'r llyfr ene 'n rhoid hanes am danyn' nhw. Son am 'stwilod 'r anialwch—mae rheini 'n ddiniwed wrth y fath ene! Mi fydd arna' i frys am gael clowed be' ddo'th o'r ddynes dd'waetha ene, druan; a sut fu hi ar F'Ewythr Tomos yn y diwedd.'

# NOSON XXIX.

"YR oeddych yn dywedyd neithiwr," ebe James, fod arnoch frys i gael gwybod sut fu hi ar Cassy a F'Ewythr Tomos, yn y diwedd: y mae arnaf finnau frys i ddwyn y 'stori i ben bellach, a hyny a wnaf mor gynted ag y gallaf."

Yr oedd Legree, braidd yn edifar ganddo erbyn tranoeth ddarfod iddo draddodi Tomos i ddwylaw creulawn Sambo a Quimbo i gael y fath driniaeth ysgeler; nid o herwydd y teimlai un gradd o dosturi trosto, ond o herwydd ei bod ar ganol dyddiau cynauaf y cotwm, a bod Tomos yn un o'r dwylaw goreu a feddai at waith, ac y byddai yn awr yn analluog i weithio am rai dyddiau. Edliwiai Cassy ei ffolineb iddo yn hyn; canys gwyddai hi, mai hono oedd yr unig ffordd debygol i lwyddo gydag ef i beidio ail ymosod ar Tomos. Tyngai, a rhegai, a melldithiai wrthi—mynai ef blygu Tomos yn ufudd i'w ewyllys, y curai ei grefydd a'i gyndynrwydd allan o hono, costied a gostio. Haerai Cassy yn benderfynol na allai byth ystwytho Tomos i wneyd dim a ystyriai oedd yn greulawn ac allan o le. Gyrai hyn Legree yn gynddeiriog, i falu ewyn, a glafoerio llwon a rhegfeydd, fel dyn gorphwyllog, neu un â naw lleng o gythreuliaid o'i fewn. Aeth i ymweled â Tomos y boreu dranoeth, ac wedi rhoddi cic iddo, gorchymynai iddo godi ar ei draed,—cyfododd yntau drwy fawr boen a thrafferth—archodd Legree iddo fyned ar ei liniau o'i flaen i erfyn maddeuant am ei anufudddod o'r blaen, ac i addaw bod yn blygedig ac ufudd o hyn allan. "Misar Legree," ebe Tomos, "dalla fi dim i gneyd o—fi gneyd dim ond fi meddwl bod yn iawn—fi gneyd yr un peth eto, os byth y daw 'r amser—fi byth gneyd peth creulon, sut bynag y daw hi arna i."

"Ië, ond ni wyddoch chwi beth a ddaw, mistar Tomos; yr ydych chwi 'n meddwl bod y peth gawsoch chwi yn rhywbeth —ond 'rwy 'n dweyd, nad oedd o ddim yn y byd—dim! Sut y leicech chwi gael y'ch rhwymo wrth goeden, a'ch llosgi ar dân ara'—a fydde hyny yn beth hyfryd?" ebe Legree.

"Misar," ebe Tomos, "mi gw'bod gellwch chi gneyd pethe ofnadwy, ond,"—ebe fe, gan ymsythu a dyrchafu ei ddwylaw. "Ond wedi i chi ladd y corff—chi medru gneyd dim 'chwaneg. Ac, O! y mae trag'wyddoldeb i ddyfod wedi hyny."

"Tragywyddoldeb!" Treiddia y gair trwy enaid Tomos, gyda goleuni a nerth, fel y dywedodd ef; treiddiodd trwy enaid yr adyn Legree hefyd fel brathiad scorpion—rhinciai ei ddannedd mewn cynddaredd ar Tomos; ond yr oedd yn rhy lawn o lid·



LEGREE YN TARAW TOMOS.

iawgrwydd i ddweyd dim. Ond teimlai Tomos ei hun fel wedi cael gollyngdod meddwl, a'i gadarnhau â nerth yn ei enaid, ac ebe fe, mewn llais eglur a llawen, "Misar Legree: gan i chi fy mhyrnu i, bydda mi 'n was ffyddlon a gonest i chi. Mi rhoi i chi holl waith y nwylo—f' holl amser, a f' holl nerth—ond am f' ened, mi dim rhoid hwnw i ddyn marwol! Mi glynu wrth yr Arglwydd, a gneyd i orch'mynion o, o flaen pawb, byw ne' farw: gellwch chi bod 'n siwr o hyny, fi dim rhithin o ofn marw, dim gwaeth gen i farw na pheidio, gellwch fflangellu fi—ll'wgu fi—llosgi fi—os gnewch chi felly, chi gnewch dim byd ond gyru fi hyny cynt i'r lle mae arna' i eisieu myn'd."

"Mi na i chwi roi i fyny er hyny, cyn y darfydda' i â chwi!" ebe Legree, mewn cynddaredd.

"Mi gael help," ebe Tomos, "gnewch chi byth mono fo."

"Pwy ddiawl sy'n myn'd i'ch helpio chi?" ebe Legree, gyda dirmyg.

"Yr Arglwydd Hollalluog!" ebe Tomos.

"D—m—io chi!" ebe Legree, a tharawodd Tomos â'i ddwrn, nes oedd ar lawr.

Ymaflai llaw oer dyner yn Legree ar hyn,—troai ei wyneb—pwy oedd yno, ond Cassy.

"A fyddwch chwi y fath ffwl?" ebe Cassy yn Ffrancaeg, "gadewch lonydd iddo! gadewch i mi ei ymgeleddu i'w adferu i fyned at ei waith i'r maes eto; ai nid fel yr oeddwn i 'n dweyd y mae hi yn bod?"

Rhoddodd Legree ei bwnc i fyny ar hyn.

"Wel, cymerwch eich ffordd!" ebe fe, yn surllyd wrth Cassy.

"Gwrando di," ebe fe wrth Tomos, "Na i ddim delio â thi, 'rwan, am fod prysurdeb gwaith yn galw, a bod arna' i eisieu 'r dwylaw i gyd ato; ond ni wnaf byth anghofio, mi rhof o ar lawr yn dy gyfri di, a ryw dro mi fynaf gael tâl allan o dy hen groen du di, cofia di!" ac allan âg ef.

Edrychai Cassy ar ei ol, a dywedai—"Y mae dy gyfri dithau i ddyfod eto! Tomos, druan, pa fodd yr ydych?"

"Yr Arglwydd a anfonodd ei angel i gau safn y llew am y tro hwn," ebe Tomos.

"Am y tro hwn, bid siwr," ebe Cassy, "ond yn awr, y mae ei anfoddlonrwydd arnoch, i'ch canlyn i bob man, bob dydd yn glynu fel ci wrth eich gwddf, i sugno eich gwaed, a gwaedu ymaith eich bywyd fesur y dyferyn—mi a adwaen y dyn."

Yr oedd Legree, er ei holl galedwch, ei ryfyg, a'i anystyriaeth, yn un hynod o ofergoelus, a hawdd ei frawychu yn y ffordd hon, ac y mae creaduriaid bwystfilaidd o ddynion o'i fath ef yn bur gyffredin felly,—pethau gwrachaidd, gweiniaid ydynt hwy, dan y cwbl. Cafodd Sambo y cudyn o wallt Efa fach, a gadwai Tomos yn ei fynwes i gofio am dani, wedi syrthio oddiwrtho yn

rhwym mewn papyr, a dygodd ef i Legree. Dychrynodd yr adyn yn ofnadwy pan welodd ef, a phan ddywedodd Sambo pa fodd y cawsai ef. Tybiai Legree yn union mai rhyw foddion swyngyfaredd ydoedd; a rhegai a melldithiai Sambo am ei ddwyn iddo. Yn ei fyw ni allasai gael ymwared i'w feddwl oddiwrth y gwallt hwnw—dychymygai na fuasai byth yr un fath er pan welsai ef,—ei fod yn chwysu yn barhaus; ac ofnai yn fawr ei fod wedi ei reibio. Llosgasai y gwallt, ond yr oedd y meddwl am dano o hyd yn ei ddilyn, a chythryblid ef ganddo yn ei freuddwydion nos.

Yr oedd llygad craffus Cassy wedi craffu ar bob man gwan oedd arno; ac yr oedd yr amser yn nesâu bellach iddi droi hyny i'w mantais ei hun.

Llawer gwaith y meddyliodd ynddi ei hun am roddi terfyn ar einioes ei gwrthwynebwr creulawn ryw noson; awgrymai hyny mewn ymadroddion a arferai ar ddiwedd adroddiad ei hanes wrth Tomos. Agorodd ei meddwl a'i bwriad yn llawnach i Tomos drachefn, a cheisiai ei gydsyniad: ond hyn ni fynai Tomos ar un cyfrif—erfyniodd ac ymbiliodd arni yn y modd taeraf a dwysaf, i fwrw ymaith yn hollol y fath fwriad, a llwyddodd hefyd.

"Na, na, na!" meddai Tomos, gan ymaflyd yn ei dwylaw tyner, "na—yr enaid truan, gofidus—gwiw i chi g'neyd hyny; daru'r Harglwydd bendigedig 'rioed dywallt gwaed, ond 'i waed 'i hun; ac fe d'walltodd hwnw troson ni, pan oedden ni 'n elynion.—Boed iddo 'n helpio ni i ganlyn 'i ol o, a charu 'n g'lynion."

"Caru?" ebe Cassy—gyda threm lidiog—"caru 'r fath elynion! Ni all cig a gwaed wneyd y fath beth."

"Na, gall o dim!" ebe Tomos, "ond mae efe 'n rhoi i ni'r fuddygoliaeth,—dyna lle mae hi," gan edrych i fyny—"pan gallon ni garu a gweddïo tros bob peth a thrwy bob peth, mae y frwydyr drosodd, a'r fuddygoliaeth wedi 'i hynnill.—Gogoniant i Dduw!" ebe fe, gan edrych tua 'r nefoedd, yn gyffelyb i Stephan gynt.

Disgynai geiriau a llais Tomos gyda rhyw ddylanwad tynerol ar galon Cassy, a disgynai ei ddagrau fel gwlith ireiddiol ar ei dwylaw. Ymdaenai tynerwch tros lymder tanllyd ei llygaid—edrychai i lawr, a theimlai Tomos ewynau ei dwylaw yn llacâu, fel y dywedai;—

"Ai ni ddywedais i chwi, fod ysbrydion drwg yn fy erbyn? O! taid, Tomos, ni allaf fi weddïo; mi a ddymunwn pe gallwn. Ni ellais byth weddïo er pan werthwyd fy mhlant! Y mae yn rhaid fod y peth a ddywedwch chwi yn iawn; ond pan af fi i geisio gweddïo, ni allaf wneyd dim ond melldithio a chasâu.—Ni allaf weddïo!"

"Enaid truan!" ebe Tomos, yn dosturiol. "O Misse Cassy,

trowch at yr Arglwydd Iesu. Fo d'wad i rwymo 'r galon-ddrylliog, ac i gysuro 'r rhai galarus."

Safai Cassy yn ddystaw, â'r dagrau mawrion yn ei llygaid.

"Misse Cassy," ebe Tomos, drachefn, wedi byr ddystawrwydd. "Os galle chi fyn'd ffwrdd oddiyma—os tydi o 'n bosib—fi cynghori chi ag Emeline i fyn'd; hyny ydi, os gellwch chi myn'd heb dowallt gwaed,—nid fel arall."

"A wnaech chwi ddyfod gyda ni, y tad Tomos?"

"Na," ebe Tomos; bu amser y base fi 'n gneyd;—ond mae 'r Arglwydd yn rhoi gwaith i fi gneyd trosto fo mysg 'reneidie tlodion yma; a fi 'rosa gyda nhw—a dwyn fy nghroes hefo nhw hyd y diwedd. Y mae hi 'n gwahanol arnoch chi—mae 'n fagl i chi, yn fwy na gellwch chi dal; a bydde gwell i chi fyn'd os gellwch chi."

"Ni wn i am un ffordd ond trwy'r bedd," ebe Cassy. "Nid oes na bwystfil nac aderyn na all gael cartref yn rhywle; y mae gan hyd yn nod y nadroedd a'r addancod (*alligators*) leoedd i orwedd i lawr a chael llonyddwch; ond nid oes un lle i ni. Os awn i lawr i'r corsydd dyfnaf, bydd eu cŵn ar ein holau, i'n hela allan. Y mae pawb a phob peth yn ein herbyn ni, ac i ba le yr awn ni?"

Safai Tomos yn ddystaw am enyd; ond yn y man efe a ddywedai—

"Efe 'rhwn waredodd Daniel yn ffau 'r llewod,—a waredodd y llanciau yn y ffwrn dân—Efe 'rhwn a rodiodd ar y môr, ac a berodd i'r gwynt dawelu.—Y mae efe eto 'n fyw; ac mae gin i ffydd i gredu y gall o'ch gwaredu. Triwch, a mi weddia ine â ff'holl egni trosoch chi."

Buasai Cassy lawer gwaith am oriau yn ceisio ffurfio cynllun i ddianc; a rhoddodd i fyny fel un anobeithiol i lwyddo, bob un a ymgynnygiasai i'w meddwl; ond ar y moment hwn, tarawodd cynllun i'w meddwl, a ymddangosai mor syml a thebygol o droi allan yn llwyddiannus, fel y cynnyrchodd obaith disymwth ynddi.

"Y tad Tomos, mi a gynnygiaf!" ebe hi yn sydyn.

"Amen!" ebe Tomos, "yr Arglwydd a'ch helpio."

Yr oedd hen grogloft eang yn perthyn i dŷ Legree, ag oedd yn hollol anghyfannedd er's hir amser. Yr oedd peth o hen ddodrefn a chelfi y teulu a fuasent yn byw o flaen Legree yno, wedi ei storio ynddi. Yr oedd yn lle priodol iawn i fod yn gynniweirfa bwganod ac ysbrydion nos; ac yr oedd hen chwedlau am dani yn mysg y teulu, fod ysbrydion yn arfer nythu ynddi. Carcharasai Legree hen wraig negroaidd ynddi am wythnosau, rai blyneddau o'r blaen;—pa gyflafan a fu yno y pryd hwnw, ni ellir sicrhau—ond yr oedd y si yn mysg y negroaid am ryw ddiwedd anamserol iddi. Gwyddid fod corff yr hen

greadures annedwydd wedi ei gymeryd o honi i'w gladdu, rhyw ddiwrnod; ac ar ol hyny yr oedd y gair yn eu plith bod sŵn llwon a rhegfeydd, a sŵn curo i'w clywed yn yr hen groglofft yn fynych. Os dygwyddai Legree glywed rhyw chwedlau fel hyn, ymwylltiai yn ofnadwy, a thyngai y cai y nesaf a ddywedai y fath chwedl am yr hen groglofft ei gau a'i gadwyno ynddi; ond er y cwbl credid y chwedl. Yr oedd ystafell wely Cassy o dan yr hen groglofft; a beth a wnaeth, un diwrnod, ond mynu symud ei gwely i ystafell arall. Pan oedd hi a rhai o'r gweinidogion yn cyflawni hyn o orchwyliaeth, daeth Legree i'r tŷ.

"Holo, Cass," ebe fe, "beth sydd yn y gwynt yrwan?"

"Dim byd; ond fy mod i yn dewis cael ystafell arall," ebe hi'n sorllyd.

"Ac i ba beth y mae hyny da?"

"Yr wyf yn dewis i hyny fod," ebe Cassy.

"Y cythraul, ai mi 'rydych! ond i ba beth?"

"Am yr hoffwn gael llonydd i gysgu ychydig yn awr ac eilwaith."

"Cysgu! wel, pa beth sydd yn rhwystro i chwi gysgu?"

"Mi allwn ddyweyd i chwi, mi feddyliwn, pe byddai arnoch eisieu gwybod," ebe Cassy, yn sychlyd.

"Siaradwch allan, y faeden!" ebe Legree.

"O, dim yn y byd! Ni pharai ddim ond anesmwythder i chwi, yr wyf yn coelio. Dim ond ocheneidiau, a sŵn pobl yn ymryson ac yn ymrolio ar lawr y groglofft, o hanner y nos hyd y bore!"

"Pobl i fyny yn y groglofft!" ebe Legree, yn anesmwyth, ond gan dreisio chwerthiniad; "pwy ydynt, Cassy?"

Cododd Cassy ei llygaid duon llymion, ac edrychodd ef yn ei wyneb, gyda dynodiant a dreiddiai trwy ei esgyrn fel y dywedai, "Yn siwr iawn, Simon, pwy ydynt? mi a ddymunwn i chwi ddyweyd hyny i mi. Wyddoch chwi ddim, mae 'n debyg genyf?"

Ceisiodd Legree ergyd iddi â'i chwip farchogaeth, a thyngai y mawr lŵ; ond osgodd Cassy y fflangell, ac aeth i ddrws yr ystafell, ac edrychai yn ol, a dywedai, "Os ewch chwi i'r ystafell yna i gysgu, chwi a gewch wybod y cwbl ar y mater. Hwyrach y byddai yn well i chwi wneyd y prawf!" Yna cauodd y drws, a chlodd ef arno.

Tyngai a rhegai Legree, a bygythiai dòri 'r drws; ond ymlonyddodd bob yn dipin, a rhodiodd i ystafell arall. Gwelodd Cassy ar unwaith bod ei phicell wedi trywanu hyd adref; ac o'r awr hòno allan, ni pheidiodd a gweithio ymlaen arno.

Yr oedd cloer yn mur y groglofft, a gosododd Cassy wddf potel ynddi, fel pan fyddai yr awel leiaf o wynt, y clywid sŵn cwynfanus yn dyfod o honi; a phan fyddai yr awel yn bur gref,

byddai y sŵn yn cynnyddu yn ysgrechfeydd, y rhai a glywid o bryd i bryd gan y gweision, nes y llenwid yr holl dŷ a dychryn, ac yr adnewyddid yr hen chwedl am fwgan y groglofft yn eu mysg.

Yn mhen noson neu ddwy ar ol yr ymddyddan a nodwyd rhwng Legree a Cassy, eisteddai ef yn ei ystafell wrth dân coed, yr hwn a daflai oleuni anwadal o amgylch yr ystafell. Yr oedd yn noson ystormus, wyntog—y fath a bar bob math o sŵn a seiniau mewn hen dai candryll. Yr oedd y ffenestri yn rhincian, a'r cauadau yn curo, y drysau yn gwichiau, yn chwibanu, yn gruddfan, ac yn rhuo, ac yn chwyrnu yn ngyddfau y simneiau, ac weithiau yn pwffio y mwg a'r huddugl i lawr, fel pe buasai lleng o ysbrydion drwg yn dyfod ar eu holau. Buasai Legree yn ddiwyd gyda'i gyfrifon, ac yn darllen ei bapyrau, am rai oriau, tra yr eisteddai Cassy yn synllyd yn y gongl, ac yn syllu ar y tân. Rhoddai Legree ei newyddiadur o'i law, ac ymaflai mewn hen lyfr oedd ar y bwrdd, yr hwn y gwelsai Cassy yn ei ddarllen, yr hwyr hwnw; darllenodd yntau ynddo. Casgliad o chwedlau am ysbrydion, a llofruddiaethau, a drychiolaethau ydoedd; chwedlau ag sydd ganddynt ryw allu rhyfedd i hudo un yn ei flaen, wedi unwaith y dechreuo eu darllen.

"Pw, pw!" ebe Legree yn awr ac eilwaith—ond darllenai ymlaen o ddalen i ddalen, nes o'r diwedd, wedi darllen cryn lawer, y taflodd y llyfr o'i law gyda llŵ.

"Nid ydych yn credu mewn ysbrydion, ai ydych Cassy?" ebe fe, gan gymeryd gafael yn yr efail, i drefnu y tân. "Yr oeddwn yn meddwl fod genych chwi fwy o synwyr, nag y gadawech i sŵn eich brawychu."

"Nid yw o un pwys beth wyf yn gredu," ebe Cassy yn drahauslyd.

"Byddent yn ceisio fy nychrynu i gyda'u chwedlau, pan oeddwn ar y môr," ebe Legree. "Ni wna neb ddim o honof fi yn y ffordd hòno. Yr wyf yn rhy wydn i'r fath ffoledd effeithio arnaf."

Eisteddai Cassy gan graffu ei golygon yn llym arno. Yr oedd y llewyrch dyeithrol hwnw yn ei llygaid, a barai anesmwythder i feddwl Legree bob amser y sylwai arno.

"Nid oedd y sŵn yna ddim yn y byd, ond sŵn y llygod a'r gwynt," ebe Legree; "fe wna y llygod sŵn dieflig weithiau; byddwn i yn arfer eu clywed rai troion yn ngeudod y llong: a'r gwynt—taid anwyl! mi ellwch wneyd y peth a fynoch o sŵn gwynt!"

Gwyddai Cassy fod Legree yn anesmwyth ei feddwl o dan olygon ei llygaid; gan hyny, ni roddodd un ateb, ond eisteddai yn llonydd, gan eu sefydlu arno fel o'r blaen.

"Dowch, siaradwch allan, wraig—ai nid ydych yn meddwl yr un peth a mi?" ebe Legree.

"A all llygod rodio i lawr y grisiau, a cherdded trwy y ddyfodfa, ac agor drws wedi i chwi ei gloi ef, a gosod cader wrtho?" ebe Cassy; "a dyfod ymlaen at eich gwely, ac estyn allan eu llaw felly."

Cadwai Cassy ei llygaid hylym ar Legree, fel y llefarai; a syllai yntau arni yn gyffelyb i ddyn â'r hunlle arno, hyd—pan y gorphenodd ei stori, drwy ddodi ei llaw, ag oedd mor oered a'r iâ, ar ei law ef—y neidiodd yn ol, gyda llw mawr.

"Wraig, beth ydych yn feddwl? Ni wnaeth neb felly."

"O, naddo! siwr iawn! naddo! Ddywedais i hyny," ebe Cassy, gyda gwên watwarllyd.

"Ond—a—a welsoch chwi, mewn gwirionedd? Dowch, Cassy, beth ydyw?—yn awr, mynegwch!"

"Fe ellwch fyned yno i gysgu eich hunan," ebe Cassy, "os oes arnoch eisieu gwybod."

"A oedd yn dyfod o'r groglofft, Cassy?"

"Y fo—pa beth?" ebe Cassy.

"Wel, ond y peth oeddych yn son am dano."

"Ni ddywedais i am ddim byd wrthych, ebe Cassy."

Rhodiai Legree i fyny ac i lawr yr ystafell yn hynod o brydderus.

"Mi fynaf edrych i'r peth yma—mi edrychaf iddo heno—mi gymeraf fy llawddrylliau."

"Gwnewch fyned a chysgu yn yr ystafell hòno," ebe Cassy. "Mi a garwn yn fawr i chwi wneyd. Taniwch eich llawddrylliau—gwnewch."

Curai Legree ei draed yn erbyn y llawr, a rhegai yn echryslawn.

"Peidiwch a rhegi," ebe Cassy, "'does neb a ŵyr pwy a allai fod yn eich clywed. Gwrandewch!—beth oedd yna?"

"Beth?" ebe Legree, yn ddychrynedig.

Ar hyn, tarawai yr awrlais ddeuddeg o'r gloch. Ni ddywedai Legree air, ac ni symudai na llaw na throed—yr oedd ofn a dychryn wedi ei sythu; a daliai Cassy ei golwg arno, tra y cyfrifai darawiadau yr awrlais.

"Deuddeg o'r gloch! Wel, yn awr, ni a gawn weled," ebe hi, gan fyned ac agoryd y drws i'r rodfa, a sefyll fel un yn ymwrandaw. "Gwrandewch!—beth ydyw hwn yna?" ebe hi, gan godi ei bys.

"Dim ond y gwynt," ebe Legree; "ai nid ydych yn clywed mor felldigedig y mae yn chwythu?"

"Simon, dewch yma," ebe Cassy, mewn sibrwd dystaw, gan roddi ei llaw ar ei law ef, a'i arwain ymlaen at droed y grisiau, "a ellwch chwi wybod beth ydyw hwn yna?—ust!"

A dyma ysgrech wyllt yn dyfod megys i lawr y grisiau o'r oglofft. Curai gliniau Legree wrth eu gilydd gan ofn. Yr 'd ei wyneb yn wyn-lâs gan ddychryn.



CASSY YN DYCHRYNU LEGREE.

"Ai ni fyddai yn well i chwi geisio eich llawddrylliau?" ebe Cassy, mewn dull a barai i waed Legree fferu. "Y mae yn llawn bryd edrych i mewn i'r peth yma, chwi wyddoch. Hoffwn i chwi fyned i fyny yn awr; y maent wrthi yn brysur."

"Nag af fi ddim," ebe Legree, gyda llw.

"Paham hyny? nid oes y fath beth ag ysbrydion yn bod, chwi wyddoch! Dowch," a rhedai Cassy i fyny y grisiau, gan edrych yn ol arno. "Dowch ymlaen, dowch!" ebe hi.

"Yr wyf yn coelio mai y d——l ydych!" ebe Legree; "Dowch yn eich ol chwi, dowch Cass yn ol! Ni chewch chwi ddim myn'd."

Ond rhedai Cassy ymlaen, a chlywai Legree hi yn agor drws y fynedfa i'r groglofft, a dyma ffrwd nerthol o wynt yn rhuthro i lawr y grisiau, ac yn diffodd y ganwyll oedd yn ei law; a chyda hyny, ysgrechfeydd dychrynllyd, annaearol, fel pe buasent yn cael eu gwneyd yn ymyl ei glustiau.

Yn orphwyllog gan ddychryn, rhedodd Legree i'r parlawr, lle y dilynai Cassy ef yn y fan, yn welw ei gwedd, a'r llewyrchiad arswydol o hyd yn ei llygad.

"Yr ydych wedi cael llawn foddlonrwydd, mi obeithiaf," ebe hi.

"Yr andros i chwi, Cass," ebe fe.

"Am ba beth?" ebe Cassy. "Ni wnaethum i ddim ond myned i fyny a chau y drysau. Beth ydyw y mater yn y groglofft yna, Simon, feddyliech chwi?"

"Dim o'ch busnes chwi!" ebe Legree.

"O, ai nid yw? Wel," ebe Cassy, "y mae yn dda genyf nad wyf yn gorfod cysgu o dani mwy."

Dyna anghraifft o'r gamp a chwareuai Cassi gyda Legree, hyd nes y buasai yn haws ganddo roi ei ben yn ngenau llew, na myned i'r hen groglofft. Ar yr un pryd, yn y nos, pan oedd pawb yn cysgu, ystoriodd Cassy ymborth yn y groglofft, ddigon iddi hi ac Emeline fyw arno am ryw hyd, ynghyd â dillad y ddwy. Ac wedi gwneyd pob darpariadau, arosasant i ddysgwyl cyfleusdra priodol i osod eu cynllun mewn gweithrediad.

"Wel, yn awr," ebe James, "beth ydych yn feddwl o Cassy?"

Yr oedd F'Ewythr Robert yn bur anesmwyth er's meityn. Yr oedd ei ffon yn ei law, a churai hi yn erbyn y llawr o bryd i bryd. Ymysgydwai fel pe buasai rhywbeth yn ei ysu; edrychai o'i ddeutu a gwenai, ond ni ddywedai air; ond wedi i James adael bwlch iddo—

"Yn 'i feddwl o hòni hi?" ebe fe. "Dene 'r ddynes glyfra glywis 'rioed son am dani hi—iechid i'w chalon hi, medda i, o nghalon hefyd. Mi fase dda gin i gael y clwysdra i guro i chefn hi. Wel, i gnaeth o i'r dim—hen wlanen oedd o wedi 'r cwbwl. Beth wyt ti 'n ddeydyd, Elin? fedri dithe ddim gwel'd bai arni hi, debic cin i."

"Na fedra i wel'd fawr o fai arni hi, am a wn i," ebe Modryb Elin; "ac ystyried yr amgylchiadau yr oedd hi ynddynt; a chan nad oedd golwg iddi hi am ymwared mewn un ffordd arall, os cafodd hi ymwared hefyd. Yr oedd hi fel pe buasai yn gofalu i beidio dweyd anwireddau, ond yn cymeryd mantais ar amgylchiadau i weithio ar ofergoeledd yr adyn hwnw, a'i hudo i gredu twyll. Yr oeddwn yn gweled hyny yn y stori, fel y gellir ei weled yn aml, mai rhywbeth egwan ryfeddol ydyw calon yr annuwiol, er ei holl drwst i gyd; a pho mwyaf annuwiol fyddo dyn, gwanaf i gyd ydyw yn y pen draw. Mae deilen yn ysgwyd yn gwneyd trwst ofnadwy yn ei glustiau, ac yn ei yru i gymeryd ei draed, fel y mae un o gyfeillion Job yn sylwi; 'arthes echryslawn ydyw cydwybod euog.'"

"Y mae Shakspeare yn dweyd rhywbeth fel hyn," ebe James, 'Y mae y gydwybod yma yn gwneyd llyfrgwn o honom oll, weithiau;' ac felly yr oedd hi gyda Legree, druan."

"*Druan*, yn wir," ebe F'Ewythr Robert, "paid a chwyno iddo fo, da 'th dithe. "Mi 'roedd yn drugaredd i rw'beth dd'wad i'w g'warfod o, i 'scytio tipyn arno fo; mi 'rydw i'n rhw g'modi â Harli, mewn rhan, 'chwedi i mi glowed hanes y crylonddyn 'swydus ene."

"Peidiwch gofalu am hyny, F'Ewythr Robert," ebe James, "nid oeddwn ni 'n meddwl cwyno iddo fo, nac yn teimlo dim tosturi drosto: mae 'n hawdd genym ni ddweyd *druan* rywsut ar siarad fel hyn: ond un *truan* oedd o, truan iawn hefyd, mewn un ystyr."

"Dyna oedd yn llawen iawn gen i gael ar ddeall," ebe Modryb Elin, "fod F'Ewythr Tomos yn gwella bob gafel, yn gloewi yn mhob ffwrn: mi ddaw o allan fel yr aur ryw ddiwrnod, gewch chwi gylwed."

"Wel, gadewch i ni glowed yrwan sut y fu hi ar y ddynes ene, beth bynag," ebe F'Ewythr Robert: "mae F'Ewythr Tomos yn ddigon saff lle bynag botho fo; tase nhw' n medrud 'i roid o 'n uffern, tydw i ddim yn coelio y cowse fo niwed yn y byd ono, ond y base hi 'n dda arno fo yn y fan hono."

"Wel," ebe James, "y mae yr hanes yn dangos fod Cassy i fyny yn mhob peth ag oedd yn angenrheidiol i'r anturiaeth a ddechreuasai."

Daeth i ymddwyn yn fwy dengar a siriol gyda Legree, a gallodd ei hudo i'w chymeryd gydag ef i'r dref gyfagos, yr hon oedd ar lan yr Afon Goch. Cymerai y sylw manylaf o bob troad yn y ffordd, a dyfalai yn ei meddwl yr amser a gymerid i'w theithio.

O'r diwedd, daeth yr adeg i osod y bwriad mewn gweithrediad. Buasai Legree yn absennol, ar ymweliad yn y gymydogaeth; buasai Cassy yn hynod o siriol ac ennillgar yn ei hymddyg-

iad tuag ato am lawer o ddyddiau, ac ymddangosai ei bod hi ac yntau yn gymodol iawn â'u gilydd. Yr oedd yn awr gyda'r hwyr, ac yr oedd hi ac Emeline yn brysur ar eu parotoadau i gychwyn.

"Yn awr, dodwch eich *bonnet*, a gadewch i ni gychwyn: y mae oddeutu yr amser," ebe Cassy.

"Mae yn rhy oleu eto," ebe Emeline, "fe wel rhai o honynt ni."

"Yr wyf am iddynt ein gweled ni," ebe Cassy, yn ddidaro. "Deallwch y bydd raid iddynt erlyn ar ein hol, sut bynag. Y ffordd i mi am dani sydd fel hyn,—ni a awn allan trwy y drws cefn, ac a redwn i lawr, heibio y tai allan. Bydd Sambo neu Quimbo yn sicr o'n gweled—a hwy a redant ar ein hol—ni a redwn rhag ein blaen i'r gorslwyn: yna, ni allant ein dilyn ymhellach, hyd nes elont yn ol, a chodi 'r alarwm, a dyfod â'r cŵn allan, ac felly ymlaen; a thra byddant hwy yn mhen eu helynt, yn troi o gwmpas, ac yn dyrysu eu gilydd, fel y byddant bob amser ar y fath achlysuron, ni lithrwn ninnau ar hyd yr aber sydd yn rhedeg o'r tu cefn i'r tŷ. Dyrysa hyny y cŵn, oblegid ni allant arogli ar y dwr; rhed pob un allan o'r tŷ yn y cyffro i edrych am danom, ac yna ni lechiwn i fewn i'r tŷ, ac i fyny i'r groglofft, lle y mae genyf wely comfforddus wedi ei barotoi yn un o'r hen gistiau. Rhaid i ni aros yn y groglofft am beth amser, canys yr wyf yn dywedyd i chwi y cynhyrfa efe y nefoedd a'r ddaear am danom. Efe a gais gymhorth rhai o'r hen arolygwyr ar y planigfeydd eraill, a myn hynt fawr; änt tros bob modfedd o dir yn y gors acw. Y mae yn ymffrost ganddo na fedrodd neb erioed ddianc oddiarno fo; felly gadewch iddo hyntio wrth ei bleser."

"Mor dda yr ydych wedi ei chynllunio hi!" ebe Emeline—"pwy byth fuasai yn meddwl am y fath beth, ond chwi!"

Ni wnaeth Cassy nemawr sylw o hyn, ond ymddangosai fel yn benderfynol a hyderus hefyd.

"D'ewch," ebe hi, gan estyn ei llaw i Emeline.

Aeth y ddwy ffoadures allan yn ddystaw o'r tŷ, a chyfeirient eu gwynebau yn y llwybr a nodasai Cassy. Yr oedd yn gymysg oleuni haul a lleuad, pan aethant allan; ac fel y dysgwyliasai Cassy, pan oeddynt ar ynys y gorslwyn ag oedd yn amgylchu y blanhigfa, clywent lais yn galw arnynt i sefyll. Nid Sambo oedd, fodd bynag, ond Legree ei hun, yr hwn oedd yn brysio ar eu holau dan dyngu a rhegi. Dychrynodd Emeline, ac ymaflai yn mraich Cassy, a dywedai, "O! Cassy, yr wyf yn llewygu!"

"Os gwnewch, mi a'ch lladdaf," ebe Cassy, gan dynu picell o'i mynwes, a'i bygwth â hi. Atebodd hyny ei phwrpas, attaliodd y braw i Emeline lewygu, ac ymgollodd y ddwy o'r golwg yn y gorslwyn; ac ni allai Legree feddwl am fyned ymhellach nes cael cymhorth.

"Wel," ebe fe ynddo ei hun, "y maent yn y fagl yn awr, beth bynag, ac yn ddiogel ddigon, mi gân chwysu am hyn yna eto."

Rhedai yn ol, a gwaeddai, "Holo! Sambo, Quimbo, a phawb o honoch! y mae dwy ffoadures yn y gors, mi roddaf bum dolar i unrhyw un a'u dalio: trowch y cŵn allan—dowch â Tiger, a Fury, a'r lleill o honynt allan yn union!"

Ac allan yr aethant, yn wŷr ac yn wragedd, ac yn gwneuthur mawr derfysg a helynt, pob un yn awyddus am y wobr, neu i geisio ennill ffafr yn ngolwg eu meistr creulawn.

"Gawn ni saethu 'u nhw, misar?" ebe Sambo, fel yr estynai Legree wn iddo.

"Gellwch danio ar Cassy," os mynwch; y mae yn bryd iddi hi fyn'd at y diafol, yr hwn a'i pia hi; ond peidiwch a saethu at yr eneth," ebe Legree. "Yn awr, fechgyn, byddwch lewion a phrysur, pum dolar i bwy bynag a'u dalio, a gwydraid o frandi i bob un, ffordd bynag."

Ymaith â hwy â fflamdyrch yn eu dwylaw; a mawr oedd y swn rhwng y dynion a'r cwn, gan gyfeirio dan arweiniad eu blaenor Legree tua'r gorsle. Gadewsid y tŷ yn anghyfannedd, a llithrodd Cassy ac Emeline i mewn yn ol y cynllun, ac aethant i ffenestr i ymwrandaw ar swn y fintai helwrol am enyd. Cyn myned i fyny i'w lloches, y groglofft, cymerodd Cassy agoriad, a dattododd glo desc, a chymerodd rôl o arian-nodau oedd yno, a chyfrifodd hwynt.

"O, gadewch i ni beidio gwneyd hyn yna!" ebe Emeline.

"Peidio? Paham hyny?" ebe Cassy, "A fynech chwi newynu yn y gors? Arian sy'n ateb i bob peth, fy ngeneth!" a dodai y rhôl-ysgrifau yn ei mynwes.

"Lladrata ydyw!" ebe Emeline, yn bryderus.

"Lladrata?" ebe Cassy, gyda gwên ddirmygus, "ni raid i'r rhai sy'n lladrata cyrff ac eneidiau son wrthym am ladrata. Lladrad oedd pob un o'r nodau hyn, lladrad oddiar greaduriaid tlodion, newynllyd, y rhai a orwesgir â llafur a chaledi, a rhai y bydd raid iddynt fyned i drueni yn y diwedd, er elw iddo fo; gadewch iddo fo son am ladrata! Ond deuwch, byddai cystal i ni fyned i'r grogloft, y mae genyf ganwyllau a llyfrau yno i'n difyru, gellwch fod yn no siwr na ddeuant yno i chwilio am danom: os deuant, mi a chwareuaf ran bwgan â hwy, cant weled."

Erbyn myned i'r grogloft, gwelai Emeline fod yr ystafell wedi ei threfnu yn barod, a'i gwneyd yn gartref lled gysurus iddynt am dymmor.

"A ydych yn sicr na ddeuant yma i chwilio am danom."

"Mi hoffwn weled Simon Legree yn gwneyd hyny!" ebe Cassy; "ond na choeliaf, bydd yn rhy dda ganddo ymgadw draw; ac am y gweinidogion, byddai yn well gan bob un o honynt gael eu saethu na dangos eu gwyneb yma."

Teimlai Emeline yn fwy calonog ar ol hyn.

Wedi iddynt fod yno gryn enyd, clywent sŵn traed ceffylau, a chyfarthiad cŵn, a lleisiau dynol, yn gymysg, yr hyn a barai i Emeline ddychrynu yn fawr, ac edrychai yn ofnus ar Cassy.

"Dim ond yr hynt yn dychwelyd yn ol!" ebe Cassy: "edrychwch trwy y gloer yma, ai ni welwch hwy i lawr yna? Bu raid i Simon ei rhoi i fyny am heno, edrychwch fel y mae ei geffyl yn llaid a llaca drosto, wedi bod yn y gors; y mae y cŵn hwythau yn edrych yn siomedig braidd. Ha, syr, rhaid i chwi gynnyg eto, ac eto: nid yw yr helwriaeth yn y fan yna!"

"O! peidiwch a siarad gair," ebe Emeline, "beth pe clywent chwi?"

"Pe baent yn clywed, ni wnai ddim ond peri iddynt gymeryd mwy o ofal i gadw draw," ebe Cassy—"dim perygl—ni allwn gadw cymaint o sŵn ag a fynom, ni wna ddim ond chwanegu yr effaith."

Aeth Legree i'w wely y noson hono, yn ddrwg ei nwydau, ond addawai iddo ei hun iawn am y cwbl dranoeth.

Dranoeth, cesglid y lluoedd ynghyd. Daethai cyfeillion Legree o'r dref i'w gynnorthwyo, a dwylaw eraill o'r planigfeydd nesaf. Trefnid y fyddin ar y buarth, edrychai Cassy ac Emeline arnynt trwy gloer y grogloft, a chlywent y trefniadau a'r floddest oedd yn mysg yr helwyr. Rhenid dogn o frandi i bob un.

Ciliai Cassy yn ei hol, a chan blethu ei dwylaw ac edrych i fyny, "O, Dduw mawr Hollalluog! yr ydym oll yn bechaduriaid," ebe hi, "ond beth a wnaethom ni mwy nag eraill, fel y'n trinid yn y modd hwn."

Yr oedd rhyw ddifrifoldeb arswydlawn yn ei hwyneb a'i llais, fel y llefarai.

"Oni b'ai er eich mwyn chwi, blentyn," ebe hi, gan edrych ar Emeline, "mi aethwn allan atynt, ac a ddiolchwn i un o honynt a fuasai yn fy saethu i lawr; obegid pa ddefnydd fyddai rhyddid i mi? A allai rhyddid roddi fy mhlant yn ol i mi, neu fy ngwneyd yr hyn oeddwn o'r blaen?"

Yr oedd Emeline yn hanner ddychrynedig, wrth weled dull a chlywed geiriau Cassy. Edrychai yn bryderus, heb ddweyd dim. Cymerai afael yn ei llaw gyda hoffder plentynaidd.

"Peidiwch," ebe Cassy, gan geisio tynu ei llaw ymaith, "chwi a wnewch i mi eich caru; ac nid wyf am garu neb na dim byth ond hyny!"

"Cassy bach," ebe Emeline, "peidiwch a theimlo fel yna. Os caniata yr Arglwydd i ni gael ein rhyddid, hwyrach y cewch eich merch yn ol eto; ond beth bynag, byddwn i yn lle merch i chwi. Mi a wn na chaf byth weled fy hen fam mwy! Mi a'ch taraf chwi, pa un bynag a garoch chwi fi ai peidio!"

Gorchfygodd hyn ysbryd Cassy. Eisteddodd i lawr, a dodai ei braich am ei gwddf, a thynai ei llaw dros ei phen. A synai Emeline at brydferthwch ei llygaid anghymharol yn awr pan oeddynt wedi eu tyneru â dagrau.

"O, Em!" ebe Cassy, "yr wyf wedi bod yn newynu ac yn sychedu am fy mhlant, ac y mae fy llygaid yn pallu gan hiraeth am danynt! Yma! yma! ebe hi, gan daro ei mynwes, y mae oll yn ddiffeithwch! oll yn wag! Pe rhoddai Duw fy mhlant yn ol i mi, mi a allwn weddïo."

"Rhaid i chwi ymddiried ynddo," ebe Emeline—"ein Tad ydyw."

"Y mae ei soriant arnom!" ebe Cassy, "y mae wedi troi oddiwrthym yn ei anfoddlonrwydd."

"Nag ydyw, Cassy! efe a fydd yn ddaionus i ni! Gobeithiwn ynddo,—y mae genyf fi ryw obaith o hyd," ebe Emeline.

Bu yr helwyr wrthi yn ddyfal a chaled trwy y dydd; ond yn gwbl aflwyddiannus o anghenrheidrwydd.

Chwareuodd Cassy lawer o gastiau bwgan yn ystod ei thrigiad hi ac Emeline yn y groglofft. Ymrithiai weithiau yn y nos mewn gwenwisg, o amgylch y lle. Yr oedd dychryn a thrallod Legree yn ddirfawr. Tyngai a rhegai fwy nag erioed, ac ymroddai i yfed, i geisio syfrdanu ei ddychryn ymaith. Cloai arno ei hun bob nos, a gadawai 'r lamp yn oleu yn ei ystafell. Cadwai ei lawddrylliau yn agos ato, a thyngai y mynai gysgu yn dawel er gwaetha 'r diafol a'i holl angelion. Ond yr oedd diafol o gydwybod ddrwg yn ei fynwes; ac yr oedd pob si a sŵn yn ei chynhyrfu i'w aflonyddu. Yr oedd dychymyg yn brysur ar waith yn creu drychioliaethau; y rhai a dybiai eu bod yn gwibio o'i amgylch. Mewn gair, yr oedd yn rhyw hanner uffern arno.

Beth bynag, dianc ymaith a wnaeth Cassy ac Emeline. Wedi i Legree roddi i fyny y gobaith o gael gafael arnynt,—diangasant fel dau aderyn o fagl yr adarwr. Cewch glywed gair am danynt y tro nesaf.

"Dene ddiangfa fawr, ryfedd, eto!" ebe F'Ewythr Robert, "a diangfa mewn ffordd pur od, hefyd. Mi 'naeth rhaglunieth y Cassy ene 'n 'fferyn i'w gospid o 'n rhyfedd iawn. Mi 'roeddwn i'n meddwl am dani yn cymryd y bilie rheini,—mi 'naeth yn eitha, ddyliwn i: os 'doedd o'n lladrad, lladrad digon gonest oedd o. Mi dyngodd a mi regodd 'rhen fachgen hylldod pen ffeindiodd o allan, mi wranta—dwyn i dduwie fo,—'doedd fater yn y byd,—wel dwn Cassi. Mi faswn i'n licio tase Cati yma hefo hi; mi fase 'n gneyd shou o un i 'neyd tricie bwgan, a chware part ysbryd i boeni 'rhen gìr."

"Mi faswn i'n leicio'r sport yn y nghalon—mi faswn hefyd," ebe Cati. "Mi faswn yn gneyd y ngore i dreflud yr hen Legryn hwnw i'r sterics; dene 'r ffordd i drin hen gnafon o'i fath o."

"Yr oeddwn innau fel yn petruso pa un a oedd Cassy i'w beio ai peidio am gymeryd y biliau," ebe Mrs. Harris. "Y mae yn bur hawdd maddeu iddi hi beth bynag, os gwnaeth hi ar fai."

"Yr oedd o rywbeth yn debyg i blant Israel yn yspeilio'r Aiphtiaid," ebe Modryb Elin. "Caethion yn cael eu dal trwy drais oeddent hwythau, ac felly y dysgodd yr Arglwydd hwynt i gael peth oedd gyfiawn iddynt hwy gael am eu llafur drwy fenthyca arian a dodrefn, nad oeddent hwy byth i feddwl am eu talu hwynt adref. Cymeryd y bilie wnaeth Cassy heb ofyn benthyg na chenad, yn siwr; ond yr oedd ei gorthrymwr wedi cymeryd oddiarni hi drwy drais, lawer mwy na'u gwerth nhw. Buasai'r peth yn cael ei gondemnio fel lladrad, a hithau'n cael ei chosbi fel lleidr gan gyfraith y wlad yn ddiammhau. Ond pa mor wrthun ac anghyson fyddai hyny—cosbi truanes am gymeryd oddiar ei gorthrymwr yr hyn oedd anghenrheidiol iddi, fel lladrones, a'r un gyfraith yn cyfreithloni gwaith y treisiwr hwnw yn ei hyspeilio hi o'r oll a feddai, gorff ac enaid. Y mae'n hawdd gwel'd pa un oedd y mwyaf euog yn ngolwg cyfraith Duw; a bydd llawer o wneuthurwyr a gweinyddwyr cyfreithiau'r ddaear yma yn cael eu gwisgo â chywilydd a gwarth tragywyddol o'u plegid, pan ddeuant i sefyll o flaen gorsedd yr 'Un Gosodwr Cyfraith,' mawr, 'Barnwr yr holl ddaear.'"

"Y farn a thragywyddoldeb!" ebe hi ymhellach.—"A ddarfu chwi sylwi fel yr oedd y geiriau yna yn effeithio ar St. Clare, ac ar y Legree hwnw? Nid yr un fath yn gwbl ar y ddau ychwaith. Yr oedd St. Clare yn arafu ac yn dwyseiddio, yn gystal ag yn arswydo.—Safai ei feddwl mewn myfyrdod difrifol arnynt—siaradai yn ddwys a difrifol am danynt. Ond brawychai a gwylltiai'r llall: yr oedd clywed y geiriau fel brathiad scorpion i'w enaid o, fel mae'r hanes yn sylwi. A phan gafodd ei anadl a'i dafod yn rhydd o'i ddychryn, ceisiai dyngu a rhegi tragywyddoldeb oddiar ei feddwl a'i gof. Yr oedd rhywbeth yn y meddwl am farn a byd arall i unioni pethau ceimion y byd yma yn ymddangos yn ddymunol i feddwl St. Clare. Yr oedd yn gymaint gelyn i drawsder a chreulondeb, fel yr oedd yn naturiol iddo deimlo felly; ond pan elai i edrych ar ei gyflwr a'i garitor ei hun, yn wyneb y desgrifiad o'r farn yn *Math.* xxv, yr oedd yn ofni ac yn crynu wrth weled fel y bydd y barnwr yn condemnio y rhai a esgeulusant wneyd eu dyledswydd, gyda gweithredwyr trawsder ac anwiredd. I ddyn fel Legree, yr oedd y meddwl am farn a thragywyddoldeb yn dywyll a dychrynllyd iddo, yn mhob golwg ac ystyr."

"'R ydw i'n gybeithio'n arw nad aeth y ddau ddim i'r un lle," ebe F'Ewythr Robert. "Mi fydde'n drwm iawn gin ddyn orfod credu fod dyn fel St. Clare yn yr un bwndel a dyn fel y llall

hwnw; a mi gawsom gryn le feddwl i fod St. Clare wedi cael trugaredd."

"Os cafodd ef drugaredd, ni ddylai neb o honom gymeryd cefnogaeth oddiwrth hyny i oedi ymofyn am drugaredd, hyd y peth diweddaf cyn myned o'r byd yma," ebe Modryb Elin; "hyd yn nod pe baem yn sicr ei fod ef wedi llwyddo. Mae yn debyg fod mwy yn methu nag sydd yn llwyddo wrth wneyd felly."

"Nos yfory os byddwn byw, ni roddwn y pen arni," ebe James, "ac y mae yn hen bryd, feddyliwn i."

"Wel, yn wir," ebe F'Ewythr Robert, "mae'n ddrwg gin y nghalon i dy glowed di'n deyd hyny, Jemi bach. Mi fydd yma chwithdod garw ar d'ol di a dy 'Gaban.' Cais rw Gaban eto gynta galloch di."

---

## NOSON XXX.

"YR wyf heno yn myned i adrodd i chwi hanes diwedd gyrfa flinderus ond anrhydeddus F'Ewythr Tomos," ebe James. "Dyma fel y mae ein hawdures yn arwain yr hanes i mewn:"—

Y mae pen draw i'r ffordd feithaf—daw boreu o oleuni ar ol y nos dywyllaf. Y mae gwastadol dreigliad momentau yn prysuro terfyniad dydd y drygionus mewn tragywyddol nos, a nos y cyfiawn mewn tragywyddol ddydd. Rhodiasom gyda'n cyfaill tlawd hyd yn hyn yn nyffryn caethiwed; ar y cychwyn trwy feusydd blodeuog o esmwythyd a llawnder, ac wedi hyny trwy ysgariadau torcalonus oddiwrth bob peth ag sydd anwyl gan galon dyn. A thrachefn, buom gydag ef mewn ynys heulog, lle yr oedd dwylaw tirion-garedig yn cuddio ei gadwynau â blodau; ac yn olaf, ni a'i canlynasom hyd nes y diffoddodd y pelydryn olaf o obaith daearol mewn tywyllwch, a gwelsom yn nghanol y fagddu o dywyllwch daearol, fel y llewyrchai yn ffurfafen y byd anweledig ser o ogoniant a dysgleirdeb newydd o'i flaen.

Saif y seren foreu yn awr uwchlaw y mynyddoedd, ac arwydda awelon, nid awelon y byd hwn, fod pyrth y dydd yn ymagor.

Cyffrodd ffoedigaeth Cassy ac Emeline nwydau mileinig Legree i'r graddau eithaf, a disgynodd ei gynddaredd, fel y gallesid dysgwyl, ar ben diamddiffyn Tomos. Pan fynegai Legree i'w ddynion am y ffoedigaeth, sylwodd i londer disymwth belydru yn llygaid Tomos, ac iddo ddyrchafu ei ddwylaw. Sylwodd na ddarfuasai iddo ymuno â'r fintai erlynwyr chwaith. Bwriadasai unwaith ei orfodi i wneyd; ond wedi cael prawf o'r blaen o'i ysbryd penderfynol i wrthod ufuddhau pan erchid iddo gyfranogi mewn unrhyw weithred o greulondeb, barnai yn well iddo beidio colli amser gydag ef.

Arosasai Tomos gartref gydag ychydig nifer o'r rhai ag y buasai yn offerynol i weithio argraffiadau crefyddol ar eu meddyliau, a gweddïau gyda hwynt am lwyddiant ar anturiaeth y ddwy ffoadures.

Pan ddychwelodd Legree o'r hynt aflwyddiannus, yr oedd llidiogrwydd ei enaid yn erbyn ei gaethwas diniwed yn ymgrynhoi yn gwmwl o gynddaredd farwol o'i fewn. Ai nid oedd y dyn hwn wedi gwrthsefyll ei ewyllys, yn anhyblyg a phenderfynol? Ai nid oedd efe wedi ei brynu? Ai nid oedd rhyw ysbryd ynddo, yr hwn, er ei fod yn ddystaw a thawel, ag oedd fel tân colledigaeth yn llosgi arno ef?

"Y mae yn gas genyf ef!" ebe Legree, ar ei eistedd yn ei wely y noswaith hono; "Mae'n gas genyf ef! Ai nid fy eiddo i ydyw? Ai ni allaf wneyd fel y mynwyf âg ef? Pwy all fy attal, os gwn i? A gwasgai Legree ei ddwrn ac ysgydwai ef, fel pe buasai ganddo rywbeth yn ei law y ceisiai ei wasgu i ddyddymdra.

Ond eto yr oedd Tomos yn was ffyddlawn a gwerthfawr, ac er y casäai Legree ef yn fwy oblegid hyny, er hyny yr oedd yn rhywfaint o attalfa arno.

Penderfynodd na ddywedai ddim y boreu nesaf, hyd nes y gwelai pa lwyddiant a gaffai yn ei hynt y diwrnod hwnw. Os caffai afael ar y ffoaduriaid, pob peth o'r goreu; os na chaffai, efe a alwai ar Tomos o'i flaen, ac a fynai ei dori i lawr, neu wneyd pen am dano.

Chwi a ddywedwch fod elw y meistr yn ddigon o ddiogelwch i'r caethwas. Fe wna dyn creulawn drygionus, yn mhoethder ei gynddaredd, werthu ei enaid ei hun i'r diafol, â'i lygaid yn agored, er mwyn cyrhaedd ei amcanion—ac a fydd efe yn fwy gofalus am gorff ei gymydog?

Gyda'r hwyr dychwelasant adref o'r *hunt* yn aflwyddiannus, fel y gwelsom o'r blaen. Wedi i Legree fyned i'r ty yn siomedig a chwerw ei ysbryd,—

"Yn awr Quimbo," ebe fe, "Ewch chi a chyrchwch y Tomos yna yma rhag blaen! Mae'r hen felldith wrth wraidd y mater yma; a mi fynaf ei gael allan o'i hen groen du, neu wybod pa'm."

Yr oedd Sambo a Quimbo, er eu bod yn casâu y naill y llall, yn uno â'u gilydd mewn casineb at Tomos. Yr oedd Legree wedi dyweyd wrthynt ar y cyntaf, ei fod wedi prynu Tomos i fod yn arolygwr cyffredinol yn ei absennoldeb ef ei hun; ac yr oedd hyny wedi cynnyrchu eiddigedd yn eu meddyliau tuag ato, yr hwn a gynnyddai fel y gwelent ef wedi syrthio dan anfoddlonrwydd eu meistr. Gan hyny, aeth Quimbo yn bur ewyllysgar i gyflawni gorchymyn ei feistr.

Rhagddysgwyliai Tomos y canlyniad pan dderbyniodd y gen-

adwri; oblegid gwyddai ef holl gynllun ffoedigaeth Cassy ac Emeline, a pha le yr oeddynt yn llechu y pryd hwnw—canys yn y grogloft yr oedd y ddwy eto. A gwyddai y fath oedd y dyn yr oedd a wnelai âg ef. Ond teimlai yn gryf yn ei Dduw i ddyoddef hyd farw yn hytrach na bradychu y trueiniaid.

Rhoddai ei waith o'i law pan dderbyniai y genadwri i ymddangos o flaen y llew—Legree—un o genawon yr hen lew rhuadwy—ac edrychai i fyny, a dywedai, "I'th law y gorchymynaf fy ysbryd, canys gwaredaist fi, O Arglwydd Dduw y gwirionedd!" Ac yna ymroddodd yn dawel i ddwylaw annhosturiol Quimbo.

"Ho, ho!" ebe'r anghenfil hwnw fel y llusgai ei ysglyfaeth ymlaen, "Chi cewch hi 'rwan i'r eitha! Dim dengid o honi hi y tro yma! Fi deyd i chi, chi cael hi! Chi helpio niggers misar rhedeg i ffwrdd! Chi gwel'd be gewch chi!"

Ni chyrhaeddodd un o'r geiriau creulawn hyny glust Tomos. Yr oedd yno lais uwch yn dywedyd, "Nac ofnwch y rhai a laddant y corff, ac wedi hyny nid oes ganddynt ddim mwy i'w wneuthur." Yr oedd gewynau ac esgyrn Tomos megys yn adseinio i'r geiriau hyny, megys pe buasent wedi eu cyffwrdd gan fys Duw, a theimlai nerth mil o eneidiau yn ei enaid ei hun. Fel yr elai ymlaen rhwng y coed a'r llwyni, heibio i fwthynod y caethion, yr oedd holl olygfeydd ei ddiraddiad caethwasaidd yn ymddangos megys pe buasai yn ysgubo heibio iddo, fel y gwelir y coed a'r meusydd wrth edrych arnynt trwy ffenestr cerbyd ar y rheilffordd. Dychlamai ei enaid—yr oedd ei gartref nefol yn dyfod i'r golwg, ac awr ei ryddhad yn ymddangos gerllaw.

"Wel Tomos," ebe Legree, gan fyned ato ac ymaflyd yn ei goler, a siarad trwy ei ddannedd mewn poethwyn gynddaredd, "A wyddost ti mod i wedi penderfynu dy ladd di?"

"Y mae yn beth digon tebyg misar!" ebe Tomos, yn dawel.

"Yr ydwyf," ebe Legree, gyda math o bwylledd llidiog, "wedi penderfynu felly, Tomos, os na ddywedi di i mi yr oll a wyddost am y genethod ene."

Safai Tomos yn ddystaw.

"A wyt ti'n clywed?" ebe Legree, gan guro ei droed yn y llawr.

"Fi dim byd i'w ddeyd, misar," ebe Tomos yn arafaidd, a diysgog ei lais.

"Feiddi di ddeyd wrtha i, hen Gristion du, na wyddost ti ddim?" ebe Legree.

Safai Tomos yn ddystaw.

"Siaradwch!" gwaeddai Legree, gan ei daro yn egniol. "A wyddost ti rywbeth?"

"Mi a wn, misar; ond galla fi dim deyd dim. Fi gallu marw!"

Cyrchai Legree hir anadliad, a chan wasgu danodd ei gyn-

ddaredd, cymerai afael yn mraich Tomos, gosodai ei wyneb yn ymyl ei wyneb yntau, a dywedai mewn llais dychrynllyd, "Clyw di, Tomos; 'rwyt ti 'n meddwl, gan i mi arbed dy fywyd di y tro o'r blaen, nad ydw i ddim yn meddwl y peth ydw i'n ddeyd; ond, y tro yma, yr wy' i wedi gneyd fy meddwl i fyny—a bwrw'r draul. Yr wyt wedi sefyll yn f'erbyn i bob amser,—'rwan, *mi dy goncra di, ne mi dy ladda di!* Mi gyfrifa bob dyferyn o waed sy ynot ti, bob yn un ac un, nes y rhoi di i fyny!

Edrychai Tomos ar ei feistr, a dywedai, "Misar, tase chi 'n sal, ne mewn trwbwl, ne 'n marw, a fi gallu safio chi, b'ase fi yn rhoid gwaed y nghalon trostoch chi; a phe gnae cym'ryd pob dyferyn o waed sy yn 'rhen gorff hwn, achub y'ch ened gwerthfawr chi, gnae fi 'i roid o'n wyllysgar,—fel y rhoes yr Arglwydd 'i waed trosta i. O, misar! peidiwch dwyn y pechod mawr hwn ar y'ch ened! gneiff o fwy o niwed i chi nag i fi! Gnewch y peth gwaetha fedroch chi, mi fydd y mhoenau i trosodd yn fuan; ond os na 'difarhewch chi, ni dderfydd y'ch poene chi byth!"

Safai Legree yn fud, megys wedi ei daro a fferdod, gan yr apeliad hwn, ac edrychai ar Tomos; ac yr oedd y dystawrwydd y fath ac yr oedd ticiau yr hen gloc i'w clywed, megys yn mesur allan mewn sibrwd isel, fomentau olaf tymmor trugaredd a phrawf yr adyn calon galed hwnw.

Ond ni bu yr yspaid hwn ond byr,—un bythrymiad o betrusder—un momentyn o attaliad, ac o gloffi rhwng dau feddwl,—a daeth y drwg ysbryd yn ol yn saith mwy cynddeiriog nag oedd o'r blaen; a rhuthrodd Legree ar aberth ei gynddaredd a tharawai ef i'r llawr.

Y mae desgrifiad golygfeydd o waed a chreulondeb yn ferwindod i'r glust a'r galon. Y peth y mae gan ddyn galon i gyflawni, ni fedd ar galon i wrandaw adroddiad o hono. Y pethau a ddyoddefa ein cyd-Gristion a'n cyd-ddyn yn aml, ni allwn ddal yr adroddiad o honynt, hyd yn nod yn ein hystafellau, gan fel y bydd yn aredig ein teimladau. Ac eto, O fy ngwlad! gwneir y pethau hyn dan gysgod nodded dy gyfreithiau! Arglwydd Iesu! edrycha dy eglwys arnynt mewn dystawrwydd!

Ond, yr oedd un gynt, yr hwn y darfu i'w ddyoddefiadau gyfnewid offeryn poen i fod yn arwyddlun o ogoniant, anrhydedd, a bywyd tragywyddol; a lle bynag y mae ei ysbryd ef, ni ddichon na ffrewyllau, na gwaed, na gwaradwyddiadau, beri na fydd ymdrech olaf y Cristion yn un ogoneddus.

A oedd efe wedi ei adael yn amddifad y noson hirfaith boenus hòno, a dreuliodd yn yr hen hofel dlawd, yn ei waed a'i archollion?

Nac oedd! yr oedd un a safai gerllaw iddo—"Yn gyffelyb i Fab Duw!"

Yr oedd y temtiwr yn sefyll gerllaw hefyd; yn pwyso arno

dderbyn ymwared trwy fradychu y trueiniaid. Ond yr oedd y galon gywir, wrolfrydig, yn gadarn sefydlog ar y graig dragywyddol. Yn gyffelyb i'w feistr, efe a wyddai, os mynai waredu eraill, na allai ei waredu ei hun; ac ni allasai eithaf y poenau wasgu dim oddiwrtho; ond gweddïau a hyder.

"Mae o bron darfod, misar," ebe Sambo, wedi tyneru rhywfaint, heb yn waethaf iddo ei hun, wrth weled amynedd y dyoddefydd.

"Gyrwch arni hi, tan rydd o i fyny!—rhowch hi iddo fo! rhowch hi iddo fo!"—gwaeddai Legree, "mi fynaf bob dyferyn o'i waed o, os na chyffesa fo!"

Agorodd Tomos ei lygaid, ac edrychai ar ei feistr,—"Y cryadur tlawd truenus," ebe fe, "ni ellwch wneyd dim chwaneg! Yr wy' i'n madde i chi o'm calon!"—a llewygodd.

"Rw'i 'n coelio yn y nghalon, i fod wedi darfod am dano," ebe Legree, gan neidio ymlaen ac edrych arno. "Ydyw, y mae o; wel, y mae 'i ene fo wedi 'i gau o'r diwedd,—mae hyny yn un cysur!"

Ydyw, Legree; ond pwy a all gau i fyny y llais yna yn dy enaid di? Yr enaid yna, sydd wedi myned tuhwnt i edifeirwch, tuhwnt i weddi, tuhwnt i obaith;—yn yr hwn y mae y tân nad yw yn diffodd eisoes wedi dechreu llosgi!

Ond nid oedd Tomos yn gwbl farw. Yr oedd ei eiriau duwiol a'i weddïau taerion wedi taro ar galonau y negroaid anifeilaidd a fuasent yn offerynau ei boenydiad; a'r mynyd y troes Legree ei gefn, hwy a ddechreuasant ei ymgeleddu, a cheisio ei adferu.

"Yn sarten iawn, ni bod gwedi bod yn gneyd gwaith drwg 'chrydus," ebe Sambo; "fi g'beithio mai misar, a nid ni fydd yn g'frifol am dano fo."

Golchasant ei friwiau, a threfnasant fath o wely, a dodasant ef ynddo; a rhedodd un o honynt i'r tŷ, ac erfyniodd ar Legree am ychydig frandi, gan gym'ryd arno mai iddo ei hun yr oedd yn ei geisio, ei fod yn teimlo yn flinedig. Dygodd ef yn ol, a thywalltodd ef i enau Tomos.

"O, Tomos!" ebe Quimbo, "ni wedi bod yn drwg iawn wrthoch chi."

"Fi madde i chi, â'm hollt galon!" ebe Tomos yn wanaidd.

"O, Tomos! gnewch deyd i ni pwy ydi Iesu, sut bynag," ebe Sambo; "Iesu oedd yn sefyll gida chi trw'r nos yma!—pwy ydi o?"

Adfywiodd y gair ysbryd Tomos, a llefarai ychydig ymadroddion am yr enw rhyfeddol hwnw—ei fywyd, ei farwolaeth, a'i awdurdod i waredu ac achub. Wylodd y ddau—Sambo a Quimbo.

"Sut na b'ase fi wedi cael clowed hyn o'r blaen?" ebe Sambo, "ond fi'n credu; dalla fi dim wrtho fo.—Arglwydd Iesu, tri arhâ wrtho ni."

"Gryduried truen," ebe Tomos, "fi bodlon iawn i diodde 'r cwbl, os gna fo dwyn chi at Grist! O, Arglwydd, doro 'r ddau ened yma i fi eto, 'rwy'n erfyn!"—A chafodd ei weddi ei hateb.

Dylaswn fod wedi dyweyd o'r blaen ddarfod i Miss Ophelia, wedi 'r arwerthiant ar dylwyth caethion St. Clare, ysgrifenu at hen feistr Tomos, sef Mr. Shelby, i fynegu ei amgylchiadau iddo, a phob peth a wyddai hi am helynt F'Ewythr Tomos,—ei fod wedi ei brynu i ryw blanigfa, ar yr Afon Goch; ni wyddai enw ei berchenog; ond y gallai gael gwybod gan y cyfreithiwr, yn New Orleans—yr hwn a fuasai yn edrych tros yr amgylchiadau. Erfyniai Miss Ophelia am ymwared buan i Tomos, os oedd ar law ei hen feistr allu gwneyd. Drwy ryw anffawd neu gilydd, bu y llythyr am dros fis cyn cyrhaedd i Kentucky; ac erbyn iddo ddyfod, yr oedd Mr. Shelby yn gorwedd yn glaf o dwymyn drom, o'r hwn glefyd y bu farw. Felly ni ellid meddwl am wneyd dim dros F'Ewythr Tomos dan y fath amgylchiadau, nac am beth amser ymhellach.

Nid oedd Mrs. Shelby, fodd bynag, wedi anghofio F'Fwythr Tomos, na'i hymrwymiadau iddo. Ymroddodd yn egnïol i drefnu ac unioni ei holl amgylchiadau, ar ol marwolaeth ei gŵr, a thalu ei holl ddyledion. Yr oedd ei mab hynaf, George, erbyn hyn wedi tyfu i oedran a maintioli gŵr,—a gŵr ieuanc cadarn, nerthol, synwyrlawn, a theimladwy, ydoedd. Anfonasant at y cyfreithiwr y cyfarwyddasai Miss Ophelia hwy ato, a chawsant yn ateb oddiwrtho, na wyddai efe ddim oll am y mater,—fod Tomos wedi ei werthu yn yr arwerthiant cyhoeddus, i ryw un na wyddai efe ddim pwy oedd.

Ni allai George a'i fam fod yn dawel ar hyn: ac yn mhen tua chwe' mis, daeth galwad ar George i fyned ar neges dros ei fam i lawr yr afon, a phenderfynodd dalu ymweliad â New Orleans; a gwneyd pob ymofynion a allai ynghylch sefyllfa bresennol Tomos.

Wedi llawer iawn o ymchwilion ofer, damweiniodd iddo daro wrth ddyn yn New Orleans, a ddygwyddai fod yn gwybod am dano. Cymerodd arian gydag ef, ac ymaith âg ef mewn agerlestr i'r Afon Goch rhag ei flaen, yn benderfynol yn ei feddwl i fynu cael allan, a phwrcasu Tomos, ei hen gyfaill, yn ol.

Daeth i'r lle, ac arweinid ef i mewn—yr oedd Legree yn eistedd yn ei ystafell.

"Yr wyf yn deall," ebe y gŵr ieuanc, "eich bod wedi prynu dyn o'r enw Tomos, yn New Orleans. Bu yn eiddo fy nhad gynt; ac yr wyf wedi dyfod yma i edrych a allaf ei brynu yn ol."

Duodd wynebpryd Legree, a thorai allan yn anfoddog:—"Do, mi brynais y fath un, a bargen gythreulig a gefais arno, hefyd! Y ci mwyaf cyndyn, anfoesgar, a drygionus! yn gyru fy *niggers* i redeg ymaith. Collais ddwy eneth, gwerth wyth gant neu fil o

ddoleri, trwyddo. Fe addefodd gymaint a hyny; a phan berais iddo ddyweyd ym'hle 'roeddynt, fe ddywedodd ei fod yn gwybod, ond na fynegai hyny; a mi safodd ati hi, er i mi roi ffiangellfa fwy melldigedig iddo na roddais i *nigger* 'rioed. 'Rwy 'n coelio i fod o'n ceisio marw; ond p'run a feder o 'i gneyd hi allan, n'wn i ddim."

"Pa le y mae o?" ebe George, yn hylym. "Gadewch i mi ei weled o." Yr oedd gruddiau y gŵr ieuanc mor gochion a phorphor, a saethai megys tân o'i lygaid; ond bu mor ddoeth ag ymattal.

"Mae o yn yr hofel acw," ebe bachgen bychan oedd yn dàl ceffyl George.

Rhegai a chiciai Legree y bachgen. Ond aeth George tua'r lle heb ddywedyd un gair yn ychwaneg.

Yr oedd Tomos wedi bod yn gorwedd ddau ddiwrnod ar ol y gurfa. Nid oedd yn teimlo poen, canys yr oedd wedi ei faeddu hyd annheimladrwydd. Gorweddai yn llonydd, y rhan fwyaf, mewn syfrdandod; ni roddai cyfansoddiad cadarngryf fel yr eiddo ef y ffordd i angeu ar unwaith. Deuai y trueiniaid tlodion ag oeddynt wedi derbyn argraffiadau da ar eu meddyliau ato, i weinyddu iddo yn y nos. Nid oedd gan y dysgyblion tlodion hyny fawr i'w roddi, y mae yn wir—dim ond cwpanaid o ddwfr oer—ond rhoddent yr hyn oedd ganddynt o'u calonau.

Disgynasai aml ffrwd o ddagrau ar y wyneb gonest, ond annheimladwy hwnw—dagrau o edifeirwch diweddol a gynnyrchasid trwy ei amynedd a'i gariadlonrwydd marwol ef ynddynt; ac offrymid gweddïau taerion drosto at y Gwaredwr hwnw y clywsent ef yn son am dano, er na wyddent, druain, fawr i ddim am dano ond ei enw—ond yr hwn nad yw calon deimladwy dyn, er yn anwybodus, byth yn cael llefain arno yn ofer.

Deallasai Cassy o'i lloches yn y grogloft beth oedd yn myned ymlaen. Clywai y siarad yn mysg y gweinidogion yn awr ac eilwaith; a gwybu ddarfod i F'Ewythr Tomos wneyd aberth gwirfoddol o hono ei hun, i sicrhau ei diogelwch hi ac Emeline, ac effeithiodd hyny yn ddwys iawn arni—toddodd ei chalon o'i mewn, tywalltodd ffrwd o ddagrau, dadmerodd ei henaid, a gallodd weddïo.

Pan aeth George i mewn i'r hofel, a gweled, teimlai ei ben yn ysgafn, a'i galon ar lewygu.

"A ydyw yn bosibl?—a ydyw yn bosibl?" ebe fe, gan ymgrymu ar ei liniau. "F'Ewythr Tomos, fy hen, hen gyfaill!"

Yr oedd rhywbeth yn y llais a dreiddiai i mewn i glust yr un ar dranc. Symudodd ei ben yn araf, gwenodd, a dywedodd—

"Gall Iesu wneyd gwely marwolaeth
Mor esmwyth a chlustog o bluf."



GEORGE SHELBY, A F'EWYTHR TOMOS YN MARW.

Disgynai dagrau ag oeddynt yn anrhydedd i'w galon ddyngar, o lygaid y gŵr ieuanc, fel yr ymblygai uwch ben ei gyfaill tlawd.

"O! F'Ewythr Tomos anwyl! gwnewch ddeffro—gwnewch siarad unwaith eto! Edrychwch i fyny! Dyma Misar George!"

Edrychai yn ddyryslyd. Ymddangosai fod yr ymsyniad yn araf feddiannu ei feddwl, a daeth ei lygad gwibiol yn sefydlog a bywiog, llewyrchodd ei holl wynebpryd, gwasgodd ei ddwylaw, a rhedai y dagrau i lawr ei ruddiau.

"Moliant i'r Arglwydd! dyna y cwbl—y cwbl—y cwbl oedd arnaf eisieu. Daru nhw dim anghofio fi. Mae 'n cynhesu f' ened i!—mae 'n gneyd d'ioni i'm hen galon! 'Rŵan mi fydda i farw 'n fodlon! O! f' ened, bendithia 'r Arglwydd!"

"Ni chewch chwi ddim marw, na meddwl am hyny! Yr wyf wedi dyfod i'ch prynu, ac i'ch cymeryd adref," ebe George, gyda gwresogrwydd mawr.

"O, Misar George, chi 'n rhy diweddar! Daru 'r Arglwydd prynu fi, a mae o 'n myn'd i cymryd fi adre—a mae arna i frys i myn'd. Y nefoedd yn gwell na Kentuck."

"O, peidiwch marw! Fe'm lladd hyny i! Mi fydd yn tori fy nghalon i i feddwl faint ddarfu i chwi ddyoddef—ac yn gorwedd yn yr hen hofel yma. Druan, druan, tlawd!"

"Peidiwch galw fi'n druan tlawd," ebe Tomos, yn ddifrifol. "Mi *bu'm* i yn druan tlawd, ond mae hyny i gyd wedi pasio;—'rŵan fi *rite* yn y drws, yn myn'd i ogoniant. *Y nefoedd wedi dwad!*—fi wedi cael y buddygolieth!—'r Arglwydd Iesu wedi 'i rhoi hi i mi! Gogoniant i'w enw!"

Yr oedd George wedi ei daraw âg arswyd, gan y grym a'r gwresogrwydd y traethai yr ymadroddion mewn acenau toredig. Eisteddai, gan syllu arno mewn dystawrwydd.

Gwasgai Tomos ei law, ac elai ymlaen—"Rhaid chi peidio deyd i Clöe, 'rŵan, sut cowsoch chi fi; mi fydde mor 'swydus iddi hi, druan! Chi deyd chi nghael i 'n myn'd i ogoniant; a na'lle fi dim aros er mwyn neb. Deydwch iddi fod 'r Arglwydd wedi sefyll gida fi 'mhob man, a phob amser, a gneyd pob peth yn ysgafn ac yn esmwyth. Ac, O! y plant truen, a'r baban!—bu f' hen galon i bron tori am danyn nhw, lawer gwaith. Chi deyd wrthyn nhw i gyd, am ddwad ar f' ol i—ar f' ol i! Rhowch fy serch at misar, a missis anwyl a d'ionus, a phawb yn y lle! Fi caru nhw i gid!—fi caru pob cryadur ymhob man!—dim ond cariad! O, Misar George, fath beth ydi bod yn Gristion!"

Ar hyn, ymlechiai Legree at ddrws yr hofel, ac edrychai i mewn gydag agwedd o ddifaterwch diofal, a throai ymaith.

"Yr hen Satan!" ebe George, yn angerdd ei deimlad. "Y mae yn gysur i feddwl y tâl y cythraul iddo am hyn, un o'r dyddiau yma!"

"O! peidiwch!—O! rhaid i chi peidio!" ebe Tomos, gan wasgu ei law; "fo'n gryadur tlawd truenus. O! tae o ddim ond yn 'difarhau, gnae'r Arglwydd fadde iddo fo eto. Ond fi'n ofni gna fo dim byth 'difarhau."

"Yr wyf fi 'n gobeithio na wna fo ddim!" ebe George. "Nid oes arnaf fi byth eisieu ei weled o yn y nefoedd!"

"Ust, Misar George! chi gofidio fi. Peidiwch teimlo fel ene! Gnaeth o dim gwir niwed i mi—dim ond agor porth y deyrnas i mi—dene 'r cwbwl!"

Ar hyn, diflanodd y pelydryn o nerth a roddasai yr hyfrydwch o weled ei feistr ieuanc ynddo. Syrthiodd palldod disymwth arno; cauodd ei lygaid; newidiodd ei wedd—yr oedd mynyd ei ymddattodiad wedi dyfod.

Dechreuai dynu ei anadl gydag anhawsdra, a chwyddai a gostyngai ei fynwes ledan bob yn ail. Yr oedd dynodiant concwerwr ar ei wynebpryd.

"Pwy—pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist?" ebe fe, mewn llais a ymdrechai â gwendid marwol—a chyda gwên, efe a hunodd.

Eisteddai George yn llonydd mewn arswyd difrifol. Ymddangosai iddo bod y lle yn sanctaidd. Ac fel y cauai efe y llygaid marwol, ac y cyfodai i fyny oddiwrth y corff, cymerai un meddwl gwbl feddiant o hono, yr un hwn a ddywedasai ei hen gyfaill—"Y fath beth ydyw bod yn Gristion!"

Troai ei wyneb. Yr oedd Legree yn sefyll yn surllyd gerllaw.

Yr oedd yr olygfa farwol, a'i hamgylchiadau, wedi effeithio i arafu tymher y gŵr ieuanc; ac ewyllysiai yn unig fyned ymaith o bresennoldeb yr anghenfil gyda mor lleied o eiriau ag oedd yn bosibl.

Gan sefydlu ei olygon treiddlym ar Legree, dywedai, gan bwyntio at y corff, "Yr ydych wedi cael cymaint a ellwch byth gael o hono. Beth a gaf fi dalu i chwi am y corff? A mi a'i cymeraf ymaith, ac a'i claddaf yn weddus."

"'Dydw i ddim yn gwerthu *niggers* marw," ebe Legree, yn ffromllyd. "Y mae i chwi groesaw i'w gladdu yn y lle a'r amser a fynoch."

"Fechgyn," ebe George, mewn dull awdurdodol, "helpiwch fi i'w godi i'm certwyn; ac edrychwch am raw i mi."

Rhedodd un o honynt i gyrchu y rhaw; a chynnorthwyodd dau arall i'w gludo i'r gert.

Ni ddywedodd George air wrth Legree, ac ni wnaeth gymaint ag edrych arno, yr hwn ni chynnygiodd wrthwynebu ei eirchion i'w weision; ond safai gan chwibianu, gan geisio ymddangos yn hollol ddifater.

Taenai George ei glog ar waelod y gert, a dododd y corff yn drefnus arni. Yna troai at Legree, a dywedai mor bwyllog ag y gallai wrtho.—

"Nid wyf eto wedi dweyd i chwi beth wyf yn feddwl o'r weithred greulawn hon; nid dyma y lle a'r amser. Ond, syr, fe gaiff y gwaed gwirion hwn gyfiawnder. Mi a ddygaf y llofruddiaeth yma i'r goleu. Mi af at yr ynad cyntaf a allaf gael, ac a'ch cyhuddaf."

"Ewch!" ebe Legree, gan glecian ei fawd yn ddirmygus. "Mi hoffwn i chwi wneyd. Pa le y cewch eich tystion?—pa fodd yr ydych yn myned i brofi y peth? Dowch, yn awr!"

Teimlodd George ar unwaith rym yr heriad hwn. Nid oedd yr un dyn gwyn yn y lle; ac nid yw tystiolaeth dyn du o un gwerth yn y brawdlysoedd deheuol. Teimlai ar y foment fel pe gallasai rwygo y nefoedd â llef ei galon eiddigus am gyfiawnder i'r gorthrymedig—ond yn ofer.

"Wedi 'r cwbl—y fath helynt hefo *nigger!*" ebe Legree.

Disgynai y gair fel gwreichionen ar ystorfa bylor. Nid oedd doeth ochelgarwch erioed yn rhinwedd fawr iawn yn y gŵr ieuanc o Kentucky. Troai George yn sydyn, a tharawai Legree nes oedd yn ymgreinio ar y llawr.

"Da iawn! da iawn! da iawn, iawn, iawn! da machgen i!" ebe F'Ewythr Robert, dan rwbio ei ddwylaw. "Tase fo 'n 'i daro fo nes base fo gan llath yn ddyar, tase bosib, gore i gid!"

"Wel, Robert, yr oeddwn i yn gobeithio eich bod chwi wedi dysgu pethau gwell erbyn hyn, na hynyna," ebe Modryb Elin.

"'Toedd dim posib tewi, Neli bach; mae 'r hen natur yn rhy gre ynthw i eto. Faswn i ddim yn leicio clowed i F'Ewyrth Tomos 'i daro fo chwaith; ond mi 'roedd o reiol peth i'r *strap* ifanc hwnw 'neyd. Fedra i ddim peidio leicio 'r tro; a mae 'n rhodd gin i goelio nad oedd 'ngylion y nefoedd yn leicio 'n wirion iddo fo gael un slap fel ene, cin myn'd adre i'w le 'i hun."

"Wel, gadewch chwi lonydd i mi fyn'd ymlaen â fy 'stori y wan," ebe James, dan wenu.

Gadawodd George, Legree, yn sychu ac yn rhwbio ei ddillad, ar ol bod yn rhiglo'r llawr! Ni ddywedodd Legree na bw na be ar ol y dyrnod: yr oedd yn ormod o lwfr-ddyn i gynnyg taro yn ol, mae'n debyg, ac ni alwodd am help neb o'i ddynion i ymddial chwaith.

Cymerodd George gorff ei hen gyfaill y tu allan i gyffiniau y blanigfa; ac yno, mewn tir sych o dan gysgodion coed, cloddiodd ei fedd, a dododd ef ynddo wedi ei amdoi â'i glôg ei hun.

Gofynai un o'r dynion, "A gawn ni gymeryd y glôg ymaith?"

"Na, na, cleddwch hi gydag ef: dyna'r cwbl a allaf roddi i chwi yn awr, Tomos druan!" a chauwyd y bedd arno.

"Gellwch fyn'd yn awr, fechgyn," ebe George, gan roddi darnyn bychan o arian yn llaw pob un. Ond ymdroent o'i gylch modd bynag.

"Bydde misar ifanc mor da a'n prynu ni?" ebe un o honynt.

"Ni gwsnaethu fo mor ffyddlon," ebe un arall.

"Amser caled yma, misar," ebe y cyntaf. "Gnewch misar, gnewch prynu ni!"

"Ni allaf! ni allaf!" ebe George yn deimladwy; "y mae'n anmhosibl!"

Edrychai y trueiniaid yn dorcalonus, a rhodient ymaith yn ddystaw.

"Edrych, Dduw tragywyddol!" ebe George, gan benlinio ar fedd ei hen gyfaill, "a bydd dyst i mi y gwnaf yr oll a all un dyn ei wneyd, o'r awr hon allan, i ddileu y felldith yma o gaethwasiaeth o'm gwlad!"

Nid oes yr un gofgolofn i nodi y lle y gorphwysa ein hen gyfaill—nid rhaid iddo wrth un! Gŵyr ei Arglwydd pa le y mae yn gorwedd, a chyfyd ef i fyny mewn anfarwoldeb, i ymddangos gydag ef mewn gogoniant.

Na resynwch trosto! Nid yw y fath fywyd a marwolaeth yn wrthddrych gresyndod! Nid yn ngolud ei hollalluogrwydd y mae gogoniant penaf Duw, ond mewn cariad hunanymwadol a dyoddefgar. A dedwydd yw y dynion y mae efe yn eu galw i gymundeb âg ef ei hun, gan ddwyn y groes, a'i ganlyn ef mewn amynedd. Am y rhai hyn y mae yn ysgrifenedig, "Gwyn fyd y rhai sy'n galaru, canys hwy a ddyddenir."

"Wel," ebe James, "dyna ninnau wedi darfod â F'Ewythr Tomos. 'Efe a aeth i dangnefedd, i orphwys yn ei ystafelloedd,' canys efe a rodiodd 'yn ei uniondeb.'"

"Wel, wel, choelie ti ddim mor drwm gin i feddwl fod 'i hanes o chwedi darfod; yr hen gyradur dyniwed, gonest, ffyddlon, tirion-galon," ebe F'Ewythr Robert. "Mi fydd arna i hireth garw ar 'i ol o, wel tase fo chwedi bod yn byw hefo fi."

"Wel, mi ddarllena i ychydig o bennillion wneuthum ar ei ol o," ebe James, "a byddaf fi wedi darfod â'r hen gyfaill wedi hyny."

"Ddaru mi 'rioed ddallt dy fod ti'n byrdydd o'r blaen," ebe F'Ewythr Robert. "Wel, gad i ni 'u clowed nhw, i gael gwel'd ffasiwn bethe ydyn nhw."

"Wel dyma nhw:—

Chwi arwyr rhyfelgar, dychwelwch,
  Am unwaith, a chlust-ymwrandewch;
Arafwch! diflenwch! a dodwch
  Eich llaw ar eich genau, a thewch.
A welwch chwi 'r gwron ymladdodd,
  Ei frwydrau?— a chariodd y dydd;
Heb gleddyf na bwa gorchfygodd,
  Ei arfau oedd cariad a ffydd.

Chwychwi gawsoch glod ac anrhydedd,
  Drwy gochi y ddaear â gwaed;

A mathru ar feusydd celanedd,
  Blant dynion yn filoedd tan draed;
Beth dal eich rhyfelgar orchestion,
  Eich rhwysg, a'ch gwrhydri, a'ch ffawd?
I'w dangos yn ymyl gorchestion,
  F'Ewythr Tomos—y Cristion tylawd.

Adseiniwyd eich enwau a'ch clodydd,
  Yn llŷs ac yn senedd eich gwlad;
Ymryson wnai 'r bardd a'r areithydd,
  I ddadgan eich bri a'ch mawrhad;
Ond ni all na dyfais, na doniau,
  Na dim peraroglau a gaed,
I gadw rhag pydru, yr enwau,
  Halogodd celanedd â gwaed.

Cyn hir bydd yr uchel golofnau,
  Fwriadwyd i ddadgan eich bri;
I'r oesoedd i dd'od—yn garneddau,
  O warth a gwaradwydd i chwi.
Daw dynion i'w pwyll, a ffieiddiant,
  Anfadwaith y fagnel a'r cledd;
Ac enwau gwroniaid ni pharchant,
  Fe'u cleddir yn ddyfnach na'r bedd.

Hoff enw F'Ewythr Tomos ni phydra,
  Ond byth fendigedig a fydd;
Ac oes ar ol oes a ryfedda,
  Wrth hanes gorchestion ei ffydd;
Enneinir ei bur goffadwriaeth,
  A dagrau'n henafgwyr a'n plant;
Cyfodi wna llawer cenedlaeth,
  I hyfryd fendithio'r hen sant.

I lawer ffwrn danllyd fe'i bwriwyd,—
  Fel aur y daeth allan bob tro;
A blewyn o'i ben ef ni ddeifiwyd,—
  Dim sawyr y tân arno fo;
Llifddyfroedd a gwyntoedd ruthrasant,
  Ond daliai 'n ddiysgog a chry';
Ei gwympo i lawr ni allasant,—
  Ar graig sylfaenesid ei dŷ.

Diangodd o rwymau caethiwed,
  I ryddid, gogoniant, a bri,
I wlad nad oes sŵn ffiangell i'w glywed,
  Lle na ddaw 'run Haley na Legree;
'Roedd Efa ar riniog porth dinas
  Y nef, yn ei ddysgwyl, pan ddaeth;
A gwisgo 'i hen gyfaill—F'Ewythr Tomos,
  A blodeu Paradwys a wnaeth.

Ymlaen at orseddfainc ei Brynwr,
Trwy ganol gororau y nef;
Arweiniwyd y buddygoliaethwr,
Can's heddyw nid caethwas oedd ef;
Y goron drag'wyddol dderbyniodd,
O ddwylaw ei Arglwydd yn awr,
Ac yntau yn ebrwydd a'i dododd,
Wrth draed ei Waredwr i lawr.

Ei gorff—oedd yn ddu—'n archolledig—
A gwaedlyd—yn disgyn i'r bedd;
A gyfyd yn iach—anllygredig,—
Yn wyn,—ogoneddus ei wedd;
Ond O! y dydd hwnw, gaethfeistriaid,
Pa olwg a fydd arnoch chwi?
Ond trymach eu gwae na chythreuliaid,
Fydd dynion fel Haley a Legree.

Amerig! Amerig! O, gwrida!
Cywilydd orchuddiodd dy wedd;—
Ymostwng, galara, diwygia,—
Neu ynte, Dos, cloddia dy fedd;
Aeth gwarth dy gaethiwed o'r diwedd,
Yn chwydiad ar gylla 'r holl fyd,
A'i arogl mor heintus a ffiaidd,
Na ellir ei oddef o hyd.

Mae melldith dy ddeddfau caethwasiaeth,
Fel cancr yn ysu dy dir,
O'th blegid fe wyla dynoliaeth,—
Crist'nogaeth a'th wada cyn hir;
O! brysia, tòr raffau gorthrymder,
Tafl ffiangell creulondeb o'th law;
Neu, fel mai byw d'enaid,—ar fyrder,
Dialedd! dialedd, a ddaw!

Mae trymion och'neidiau 'th drueiniaid,
Yn esgyn i fyny i'r nef;
A Barnwr a Thad yr amddifad,
Yn gwrando o hyd ar eu llef;
Arswyda! mae 'r daran yn rhuo;
Cymylau yn duo 'r holl nen,
Ffo! ffo! mae rhagluniaeth am daro,
Mae 'n ysgwyd ei dwrn uwch dy ben."

"Wel, yn wirionedd i, on't wyt ti 'n canu 'n o ryfedd, chwarae teg i ti," ebe F'Ewythr Robert.

"Wyddoch chwi fawr am ganu, mwy na minnau, Robert druan," ebe Modryb Elin, "felly, waeth i ni dewi son am dano fo."

"Ai n'wn i 'n wir?" ebe 'r hen ŵr; "mi wn fwy nag wyt ti

feddwl—mi wn ragor rhwn sens a nonsens—wel y caniade wrion fydda i 'n glowed pethe 'n ganu 'r hyd y ffeirie weithie; i fydda 'n synud wrth weled pobol yn tyru o'u cwmpas nhw, yn prynu 'u sothach nhw. Ni rown ni 'r un ffyrlin goch am n'd sach gynfas o honyn nhw. Mi wn i o'r gore arna ff'un n glowa i waith canu da 'n cael 'i ddarllen; mi fydd rhwbeth el tae o 'n ngherdded i rhwn y nghrys a nghefn, rwsut—yn gles ac yn ysu, a weithie, os bydd o 'n waith da iawn, mi fydd perid i ngwallt i godi ar y mhen. Dwi'n coelio 'n siwr y awn i cystal barnwr 'steddfod a'r gore o honyn nhw, ond i mi el rhywun iawn, wel James yma, i ddarllen y gweithie i mi. o'wn i 'r un wobor i neb, os na nae i waith o ogles tipin arna i; ro'wn i byth mor gader ond am byrdyddieth nae i mi chwsu rth i wrando fo; a mi 'roeddwn i 'n clowed Jemi yn 'i hitio hi o lew ymbell dro. Mi ddoet yn well, machgen i, taet ti 'n fer tipin âg ithi hi."

"Y mae'r gair ddeydodd Tomos wrth y gŵr ifanc hwnw wedi l ar fy meddwl innau," ebe Modryb Elin,—"'Y fath beth lyw bod yn Gristion!' Nid oes dim peth tebyg iddo fo 'n bod. oedd nerth pechod a nerth gras i'w gweled yn rhyfedd iawn, ymyl eu gilydd, ac yn ymladd â'u gilydd, yn y ddau ddyn— 'Ewyrth Tomos a Legree—a gogoniant gras yn tywynu yn nbaid iawn yn muddygoliaeth y Cristion. Dyna chwi esboniad y gair hwnw—'Mwy na choncwerwyr;' a 'Lle yr amlhaodd chod, y rhagor amlhaodd gras.' 'Roeddwn i 'n meddwl wrth ywed hanes Legree, fod dyn, trwy bechod, wedi myned yn eadur duach a hyllach na'r diafol; ac wrth wrando hanes omos, drachefn, yn barnu fod dyn wedi ei achub trwy ras yn eadur harddach na'r angel. O! 'r oedd gweled Tomos yn dal dir—yn gorchfygu trwy waed yr Oen—yn olygfa gwerth i ll angelion y nefoedd ddyfod i lawr i'r ddaear i edrych arni ."

"Wel, aros di, James," ebe F'Ewythr Robert, "ddeydist ti dim i ni be ddoeth o'r ddynes, a'r eneth hono—ddaru nhw drud diengyd?"

"Do. Pan aeth Mr. George Shelby, wedi claddu F'Ewythr omos, i lawr at yr afon, i gymeryd y *steamer* i ddychwelyd lref, efe a gyfarfu â'r ddwy, a buont yn cyd-deithio am amryw lyddiau. Cymerodd Mr. Shelby sylw neillduol o Cassy, ac yr dd Cassy yn gwasgu ato yntau. Yr oedd hi yn ffenestr y ogloft yn edrych pan darawodd Mr. Shelby Legree i lawr ar buarth; ac yr oedd yn teimlo yn debyg i F'Ewythr Robert na, ar yr achlysur hwnw. Y noson hono y gadawodd y ddwy hen loches yn y grogloft, ac y cyfeiriasant eu camrau tua'r fon; ac felly, daethant i gyfarfod Mr. Shelby.

Wrth ymddyddan â'u gilydd ar fwrdd y llestr, adroddodd

Cassy gryn lawer o'i hanes, a gofynodd i Mr. Shelby, gan ei fod o Kentucky, a oedd ef erioed wedi dygwydd gweled, neu glywed am ferch ieuanc fel ar fel—a rhoddodd y fath ddesgrifiad o honi, fel yr argyhoeddwyd Mr. Shelby mai am Elisa yr oedd hi yn holi. A phwy dybygech chwi oedd Cassy? Mam Elisa! Yr oedd gwraig weddw foneddigaidd arall yn y cwmni, a dechreuodd hòno holi am frawd iddi hithau;—a phwy oedd hòno ond chwaer George Harris. Cyfarfuant oll â'u gilydd drachefn yn Canada; a haws dychymygu na desgrifio eu teimladau ar y fath gyfarfod. Yr oedd mab Cassy, Henry, wedi llwyddo i ddianc o dŷ y caethiwed hefyd. Ac felly, ar ol blyneddau o ofidiau a chwerwder blin, blyneddau o auaf du o gaethiwed a thrueni, gwawriodd haf tawel cysurus ar y trueiniaid gorthrymedig.

Trodd Mr. George Shelby allan yn ddyn rhagorol. Yn fuan wedi dychwelyd adref o'i daith, cyflawnodd yr adduned a wnaethai ar fedd F'Ewythr Tomos, i raddau helaeth. Galwodd yr holl gaethion ar ei etifeddiaeth ynghyd ar ddiwrnod penodol. Anerchodd hwy yn hynod o dirion a charedig; ac yn y diwedd, rhoddodd bapyryn ei ollyngdod yn llaw pob un o honynt, fel yr oeddynt at eu cyflawn ryddid i droi allan pan fynent, ac i'r lle a fynent. Datganent eu llawenydd a'u diolchgarwch mewn llefau a dagrau; yr unig beth oedd yn tolli ar eu gorfoledd, ydoedd, absennoldeb F'Ewythr Tomos, i gydfwynhau o hono. Ond yr oedd F'Ewythr Tomos yn ngwlad y tragywyddol ryddid, ac yr oedd yr ystyriaeth hòno yn cymmodi meddyliau y rhai crefyddol o honynt â'r amgylchiad.

Ni fynent sôn am ymadael â'u meistr ieuanc; erfynient arno am iddynt gael bod yn ei wasanaeth; yr oedd rhwymyn newydd, a'r rhwymyn tynaf o'r cwbl wedi ei roddi yn awr am eu calonau. Gwasanaethent ef â'u holl galon weithian; nid fel caethion mwyach, ond fel dynion rhyddion, a hen gyffion caethiwed wedi eu tòri oddi am eu traed a'u dwylaw.

"Dyna fi wedi darfod fy ngorchwyl," ebe James. "Y mae rhywbeth yn chwith gan i fy hun i feddwl hyny. Cawsom aml awr, a noson ddifyr yn y 'Caban,' ac ar yr 'Aelwyd' hon: ond dyfod i ben y mae pob peth difyr ac annifyr hefyd, yn y byd a'r fuchedd bresennol; ac felly dyma ninnau wedi dyfod i'r pen.

Ar hyn tarawodd yr hen gloc ddeg ar y gloch.

"Mae sŵn y cloc yn taro heno yn dwyn ar go i mi y noson gyntaf y daethum yma gyda 'r 'Caban,'" ebe James. "Ydych chi 'n cofio, F'Ewythr Robert, fel yr oeddych yn eyfrif, ac yn dyweyd wrthyf fi am gymeryd 'siampl oddiwrth yr hen gloc, i ddarllen yn uchel ac eglur."

"Ydw o'r gore. Mae 'r hen gloc yn dàl ati hi o hyd,—tydi i 'stori fo byth yn darfod, nac yn dwad i'r pen;—ond rownd, rownd, yn ddidòr a diderfyn; ond mi ddaw ynte i'r pen rw dro

Mi fydda i 'n meddwl am drag'wyddoldeb rwbeth yn debig i gloc wedi sefyllt. Ond mae 'n chwith iawn gen i' feddwl bod hi 'n darfod heno; mi gawson lawer o ddifyrwch—llawer o ddysg—a llawer o les, 'rydw i'n gobeithio;—mi glowson bethe gwerth 'u cofio byth. Mi dd'weddodd y stori 'n bur dda; a mae'n dda gin i hyny; 'roedd y tameidie dwaetha o honi hi 'n felus iawn.—A brysio 'nelo 'r dydd i'r hollt gaethion drien gael gollyngdod a rhyddid. Amen."

"Amen, medda ine hefyd, o 'wllys y nghalon," ebe Jacki; "mae 'n dda iawn gen i, beth bynag, 'i fod o wedi dwad i'r pen; mi ga' lonydd bellach gynthoch chi bod yg un."

"Yr ydych wedi bod yn llonydd a dystaw iawn, a chael llonydd hefyd, er's tro hir bellach," ebe James.

"Iä, chwedi i chi neyd digon o sport o honw i," ebe Jacki.

"Dene wel 'rwyt ti 'n aped diben dy fodolieth mewn rhan, Jacki bach," ebe F'Ewythr Robert; "rhoid tipyn o ddigrifwch dyniwed i bobol erill."

"Pw 'r hawl sy gin bobol erill i ngneyd i, a'm ffasiwn, yn sport?" ebe Jacki.

"Wel, fedren nhw yn 'u byw beidio, tra b'och di a dy ffasiwn yn gneyd y'ch hinen yn sport," ebe F'Ewythr Robert.

Ar hyn, dyma Rhys Puw, y teiliwr, yn rhuthro i'r tŷ, â'i anadl yn ei wddf, a'i wedd yn ddychrynedig, ac yn chwys dyferol trosto, ac yn syrthio i lawr ar y gader gyntaf a gafodd; a phan gafodd ei wynt ato,—"O *dear* anwyl! bobol bach!" ebe fe.—"O *dear*, *dear*!"

"Be ydi 'r mater, Rhys? o b'le doist ti? be welist ti?" ebe F'Ewythr Robert.

"O *dear* anwyl! n'wn i ddim be welis i," ebe Rhys.

Yr oedd y teulu bron wedi dychrynu; ond sylwai James Harris bod Cati ar ymdori o chwerthin; a thybiodd yn y fan mai hi fuasai yn chwareu rhyw dric â Rhys. Sylwasai iddi fyned allan ychydig cyn hyny, ac iddi fod enyd o'r tŷ, a dysgwyliai yn awyddus am eglurhad Rhys ar achos ei ddychryn.

Pan ddaeth Rhys ychydig ato ei hun, efe a ddywedodd, ei fod yn dychwelyd adref o Hafod y Llan, lle buasai yn gweithio y diwrnod hwnw, ar hyd y llwybr oedd yn arwain trwy fuarth Hafod y Ceiliogwydd; a phan oedd yn dyfod tros y gamfa i'r Cae Pistyll, efe a welai ryw ddrychiolaeth arswydus—yn glaerwyn i gyd trosto, a rhywbeth tebyg i gyrn mawrion ar ei ben. Safodd i edrych arno, am gryn amser; ac yn y man, dyna fo 'n newid ei liw, ac yn myn'd yn ddu, ac yn myn'd heibio gan hysian fel ceiliogwydd arno; ac yna 'n diflanu."

"Rhys chwedi gwel'd ysbryd eto!" ebe F'Ewythr Robert.

"Do mi gwelis o, F'Ewythr Robert," ebe Rhys, "cin sicred a'ch bod chi 'n fyw; ni wiw i chi na neb arall geisio taeru dim amgenach wrtha i."

Yr oedd Cati wedi gweled Rhys y bore hwnw, yn myned i Hafod y Llan; a Rhys wedi dyweyd wrthi y troai i mewn wrth fyned adref yn yr hwyr: a gwisgai gynfas am dani i fyned i'w gyfarfod, tua'r amser y tybiai y byddai yn dyfod;—tynodd y gynfas i wneyd yr ysbryd yn ddu drachefn, ac aeth yn agos at Rhys, yr hwn oedd wedi ei daro â'r fath fraw, fel na allai symud na llaw na throed—a hysiodd arno, ac yna ciliodd trwy fwlch oedd yn y clawdd gerllaw, a rhedodd i'r tŷ o'i flaen.

"Cati," ebe Modryb Elin, "lle buost ti? ddaru ti beidio gneyd strywie drwg i ddychrynu 'r dyn?"

"Y fi," ebe hòno; "na ddaru mi." Ond yr oedd ei chwerthin yn ei chyhuddo; a cheryddodd Modryb Elin hi 'n drwm am ei direidi, a Rhys hefyd am ei hygoeledd.

"Waeth i chi heb daeru peth fel ene wrtha i," ebe Rhys, "yr oedd ene rwbeth gwaeth na Chati, er gwaethed ydi hi,—choelia i byth."

Rhedodd Cati allan i chwerthin ar hyny; ond ni fynai Rhys gredu nad yr ysbryd drwg ei hun a ymddangosasai iddo er pob peth.

"Tase ti yma echnos," ebe F'Ewythr Robert, "mi gawset stori glyfar iawn am 'sprydion, Rhys, mi ge'st golled arw iawn."

"Yr wyf fi 'n coelio mai y stori hòno roes yn mhen Cati fyn'd i chware prancie bwgan heno," ebe James.

"Choelia i byth mai hi oedd ene, waeth i chi be daeroch chi," ebe Rhys.

Yr oedd y dychryn wedi effeithio cymaint ar Rhys, fel na chymerasai yr holl gwm am fyned adref ei hun; a chafodd gan Jacki fyn'd i'w anfon. Yr oedd Cati wedi dyfod yn ei hol i'r tŷ erbyn hyn; ac wedi i Rhys a Jacki gychwyn,—

"Mi ddalia i chi 'r peth a fynoch chi," ebe hi, "y medra i ddychrynu y ddau, a'u gyru nhw yn 'u hole eto."

"Yr ydwyf yn dy roi di dan dy *warning* na wneloch di ddim o'r fath yma, ond hyny," ebe Modryb Elin.

Wedi gostegu y cythrwfl hwn,—

"Aros di," ebe F'Ewythr Robert, "chlowis i ddim fod y ddynes 'sgrifenodd y llyfr ene, 'Caban F'Ewyrth Tomos,' a'i gŵr, chwedi dwad trosodd i'r wlad yma, yn dd'weddar yma? Mi fum yn meddwl gofyn i ti lawer gwaith."

"Do; fe ddaeth hi a'i gŵr, a brawd iddi, trosodd yma," ebe James; "ac y mae hi a'i brawd heb fyned yn eu holau adref eto. Maent trosodd ar y Cyfandir yn rhywle, ac y mae 'n debyg y deuant i'r wlad yma eto cyn yr ânt yn ol i America; ac mae rhyw son y deuant i Gymru hefyd."

"Mi leiciwn yn y nghalon gael golwg arni hi," ebe yr hen ŵr. "Er mwyn dyn, os clowi di 'i bod hi 'n dwad i r'wle o fewn igen milltir yma, gâd i mi gael gwbod. Mi fyna 'i gwel'd hi, ac

ysgwyd llaw hefo hi. Mi gerddwn gimin a hyny o ffordd bob cam, er mwyn cael y clwstra i'w gwel'd hi, a diolch iddi—tae raid i mi gerdded. Wel, mi gafodd ddyrbyniad cysawus ymhob man lle bu hi, debic cin i?"

"Derbyniad croesawus? Do; y derbyniad mwyaf croesawus gafodd neb yn y wlad yma erioed, am a wn i. Yr oedd pawb, yn fawrion ac yn fychain, yn gyfoethogion ac yn dlodion, am y cyntaf, ac am y goreu, yn ei chroesawu hi. Yr oedd pendefigion uchaf y deyrnas yma yn ei gwahodd hi i'w palasau, ac yn rhoddi pob anrhydedd a allent hwy iddi hi."

"Mae'n dda gin i glowed," ebe yr hen ŵr. "Mi gw'hoddwn inne hi i Hafod y Cliagwydd yma, a mi gae'r croeso gore fedrwn i roid iddi hi, tae hi 'n dwad i'r cyredd yma. Mi ddeydith hynene r'wbeth yn y 'Merica, 'rwy'n coelio. Mi fyddylian dipin pen glowan nhw fod byddigions ucha'r wlad yma, a'r bobol i gid, o bob gradde, yn g'neyd cimin o helynt hefo hi. Mae'r hollt groeso sy'n cael 'i ddanos iddi hi, yn danos anghym'rad-wyeth o'u slafri nhw;—mi welan beth mor ffiedd ydi o 'ngolwg pobol erill."

"Ydyw, y mae yn debygol o gael effeithiau da iawn," ebe James. "Yr oedd ymddangosiad y llyfr—'Caban F'Ewythr Tomos,' fel clul anghladd i'r gaethwasiaeth yn America. Y mae wedi ei thrywanu megys â gwaewffon dan y bummed ais, a rhoddi archoll marwol iddo. Y mae yno lawer wedi bod yn ceisio rhoi plasterau ar y clwyf, ond yn ofer—gwaedu y mae o, a gwaedu i farwolaeth hefyd a wna, mewn amser."

"Rhyfedd iawn fel y mae rhagluniaeth yn codi ac yn defnyddio offerynau i wneyd ei gwaith," ebe Modryb Elin. "Llawer fu o ysgrifenu ac areithio yn erbyn slafri yn yr America: bu llawer o'r dynion mwyaf talentog a doniol yn dweyd yn ei erbyn, fel y gwelais i hanes yn y cyhoeddiadau yma o dro i dro; ond heb wneyd rhyw lawer o'u hol. 'Roeddwn i yn meddwl am y gair hwnw,—'Yn llaw gwraig y gwerth yr Arglwydd Sisera.' Mae'r Arglwydd, weithiau, yn tywallt dirmyg ar ddynion drwg, a phethau drwg, drwy gymeryd gwragedd a merched yn ei law i'w darostwng nhw, fel Jael yn lladd Sisera. 'Pwy a darawodd Abimelech, fab Jerubbaal? Onid gwraig a daflodd arno ef ddarn o faen melin oddiar y mur, fel y bu efe farw yn Thebes?' Rhywbeth tebyg i hoel Jael yn arlais Sisera, neu ddarn o faen melin yn cael ei daflu gan y wraig arall hòno ar ben Abimelech, yr ydwyf yn cyfrif 'Caban F'Ewythr Tomos.' A mi fyddai 'n burion i gyfeillion a phleidwyr slafri ddweyd wrth lywodraeth yr America, fel y dywedodd Abimelech wrth ei was,—'Tyn dy gleddyf, a lladd o, fel na ddywedant am dano, Gwraig a'i lladdodd ef. Y mae 'r prophwyd Esay hefyd yn dweyd rhyw air ar y mater;—'Pan wywo ei brig hi, hwy a dorir; gwragedd a

ddaw, ac a'i llosgant hi, canys nid pobl ddeallgar ydynt; am hyny, yr hwn a'u gwnaeth ni thosturia wrthynt, a'r hwn a'u lluniodd ni thrugarha wrthynt.'"

Yr oedd erbyn hyn wedi myned yn bur hwyr, a chyfododd James i ymadael. Ni ddaethai na'i dad na'i fam gydag ef yr hwyr hwn. Adgofiodd yr hen bobl ef o'r diwrnod appwyntiedig iddo ef a'i fam a'i dad ddyfod yno i gyfarfod y gwahoddedigion eraill: ac felly y terfynodd helynt "*Caban F'Ewythr Tomos*," ar "*Aelwyd F'Ewythr Robert.*"

---

## DIWRNOD YN HAFOD Y CEILIOGWYDD.

DAETH y gwahoddedigion oll i'r Hafod yn brydlawn y dydd hwn. Gŵr, a gwraig, a mab, Bryn Derwen; Richard Evans, a'r wraig; a'r hen brophwyd o Tan y llan. Ond dylasem grybwyll i Mrs. Harris a Mrs. Evans ddyfod o flaen y gwŷr, i gynnorthwyo Modryb Elin, a Chati, i barotoi y ciniaw.

Adroddodd Mrs. Harris i James sylwedd yr ymddyddanion a fuasai rhwng y gwragedd â'u gilydd cyn i'r gwŷr ddyfod yno.

"Yr oedd arnaf frys i ddyfod yma heddyw," ebe Mrs. Harris wrth Modryb Elin, "ar ol clywed fod F'Ewythr Robert wedi myned gyda chwi i'r gyfeillach neillduol echnos. Yr oedd mor llawen genyf glywed na choeliech chwi byth. Ond sut y fu? Gadewch i ni gael clywed yr holl hanes cyn i'r dynion yma ddyfod i mewn."

"Wel, yn wir, yr oedd arnaf finnau awydd mawr am eich gweled chwithau, i gael dweyd y stori i chwi," ebe Modryb Elin. "Yr oeddwn yn nheimlad y wraig yn y ddammeg, yn barod i redeg at fy holl gymydogesau, gan ddywedyd, 'Llawenhewch gyda mi.' Ond rhaid i mi ddechreu yn y pen. Yr ydych chwi yn cofio 'r noswaith hòno yr oeddym yn son am farwolaeth John bach; fe ymaflodd rhywbeth yn ddwys iawn yn ei feddwl o y tro hwnw. Ni chysgodd o ddim trwy 'r nos; yr oedd o yn troi ac yn trosi, yn ocheneidio ac yn gruddfan o hyd: a phan ofynwn iddo beth oedd y mater, ni dd'wedai ddim ond ei fod o'n methu cysgu—nad oedd o ddim yn sal; ond yr oeddwn i wedi ammheu ei ddolur o, ac felly, fe ddarfu i mi gymeryd arnaf gysgu, ond yr oeddwn i yn cadw un glust yn agored, chwedl yr hen Gwacer hwnw; a phan feddyliodd o fy mod i wedi cysgu, mi clywn o 'n dechreu siarad rhyngddo âg ef ei hun. Mi wyddwn i y doe hi allan; mi fydd o bob amser yn siwr o siarad felly, pan fo rhywbeth dwys ar ei feddwl o. 'Wel, wel,' medde fo, 'O, be na i! O Dduw, bydd drugarog wrthyf fi, bechadur—i hen bechadur hefyd, chwedi myn'd i'r oed yma 'n annuwiol

'ybed fod posib i math i gael trugaredd. Dene mhlant bach i redi myn'd i'r nefoedd, a John bach yn meddwl am dana i, ac n teimlo trosta i, yn 'i fynude ola'; a fine chwedi byw trost deugen mlynedd dychgefn heb deimlo dim trosta i ff'un; a'r .en wraig yma chwedi teimlo, a chrio, a gweddïo mwy na mwy n f' achos i. Mi fydd hi a'r plant hefo 'u gilydd yn y nefoedd, finne chwedi nghau allan—be na i!—be na i! Ond 'dydio .dim iws yn y byd i mi bellach, mae hi chwedi myn'd yn rhy .diweddar—ydi, ydi; ni 'chubwyd 'rioed mo math i, a ni ;hubir byth mo math i chwaith.' Ac fel yna y bu o trwy'r nos; .c mi adewais innau iddo, heb gymeryd arnaf fy mod i yn ei ;lywed.

"Boreu dranoeth, mi ddarllenais y bennod lle mae 'r adnod ıòno—'A'r hwn a ddel, nis bwriaf ef allan ddim.' Mi gododd ;i ben, 'Darllen y nene eto,' ebe fe. Mi darllenais innau hi lrachefn. 'Mi glowis i 'r adnod ene lawer gwaith o'r blaen,' ;be fe, 'ond ni chlowis i 'rioed moni hi 'r un fath rwsut; mae ıi wel taswn i heb 'i chlowed hi 'rioed; mae hi wel tase hi ;hwedi 'i gneyd i mi 'n un pwrpas.' 'Cydiwch chwithau ynddi 'el adnod i chwi o bwrpas—mi wnaiff y tro i chwi am byth,' ebe innau; a dyma i chwi un arall ati hi,—'Deuwch ataf fi bawb ;ydd yn flinderog ac yn llwythog, ac mi a esmwythâf arnoch.'"

"Wel, aros di 'rŵan,' ebe fe, 'dancs di 'r *fers* gynta ene i mi, ;ael i mi roid y mys arni hi, a'i spelian hi allan i mi ff'un,' (mae ;'n 'nabod y llythyrenau, ac yn gallu spelio ambell air allan yn lrwsgwl); a dyna lle bu ni yn ei spelio hi allan o lythyren i ythyren, ac o air i air. 'Ond beth ydi dwad at Grist?' ebe fe. 'Dydw i 'n cael mo'na ff'un yn medrud dwad ato fo; ac wed'yn, ;e ydw i nes?—mae'r hen galon yma mor ddrwg, a mor gyndyn."

"O! mi fyddech chwi yn dweyd yn wastad mai calon dda iawn ;edd genych chwi," ebe finnau.

"Mi 'rydw i 'n gwel'd peth arall 'rŵan," ebe yntau.

"Wel," meddwn innau, "mae geiriau eraill i'w cael yn yr hen Feibl yma, fel rhaffau i chwi gymeryd gafael ynddynt, os ydych ;hwi 'n cael eich hun yn methu. Dyma rai o honynt;—'*Tyn i!*'—'*Cymhorth fi!*'—'Achub *di fi*, a mi a achubir.' Cydiwch ıfael yn y rhai yna, a gwaeddwch. 'A chan drugarhau, efe a lrugarha wrthyt; wrth lef dy waedd, pan ei clywo, efe a'th ıteb di."

"Oes adnod wel ene yn y Beibil?" ebe fe.

"Oes; a llawer un o'i bath hi," ebe finnau.

"Wel, yn wir, rhw lyfr rhyfedd iawn ydi o—llyfr i bechadur o bwrpas, ddyliwn i; a mi 'rydw i 'n i wel'd o 'rŵan wel tae o 'n llyfr i mi ar y mhen ff'un, rwsut."

"Mae Robert, fel y gwyddoch chwi, yn ddyn pur fywiog ei ysbrydoedd, a llon, ond gwyllt ei dymher bob amser; ac mi

fyddai rhywbeth yn dygwydd dyfod i'w gyffroi o i ysgafnder, neu i natur ddrwg, ac yntau yn cael ei drechu gan ei natur; ac wedi i hyny fyn'd heibio, mi fyddai 'n myn'd yn brudd a digalon iawn, ac yn barod i roi 'i hun i fyny mewn anobaith.

"Ond beth bynag i chwi, fel yr oeddwn i yn rhoi peth am danaf i fyn'd i'r capel, gyda 'r nos, echnos,—

"I b'le 'rwyt ti 'n myn'd?" ebe fe.

"I'r capel."

"Be sy gynthoch chi yn y capel heno?"

"*Seiat.*"

"Wel, 'dwi 'n meddwl y do i hefo'th di, os ca i."

"Cewch yn wir, os dowch chwi; mi fydd yn dda iawn gen i gael eich cwmpeini chwi."

"Waeth i mi beidio—y nhroid i allan na 'n nhw, 'tawn i 'n dwad."

"Os byddwch chwi 'n dyfod fel pechadur, i ymofyn ymgeledd, thro nhw mo honoch chwi allan—nid oes ganddynt yr un awdurdod i wneyd, pe baent am wneyd. Os dywedodd Iesu Grist nad oedd ganddo fo ddim modd i wrthod pwy bynag a ddelai ato, nid oes ganddynt hwy ddim modd yn sicr, ynte."

"Wel, dos di heno, mi ddo ine 'r tro nesa."

"Yn awr yw'r amser cymeradwy," ebe finnau. "Hwyrach y byddwch chwi wedi marw cyn daw 'r tro nesaf. Y diafol sy'n dweyd peth fel yna wrthych chwi—un o'i hen faglau fo ydyw hi, ac y mae o wedi maglu llawer i ddinystr a cholledigaeth yn magl '*y tro nesaf.*'"

"Wel, 'nte, mi ddo ine 'r tro yma, sut bynag y daw hi arna i."

"Ac felly, ymaith â ni. Mi fydde fo 'n arfer a cherdded o fy mlaen i bob amser, ond y tro hwnw; yr oedd o yn aros ar fy ol i, ac yr oedd arno ofn garw i neb daro arno ni ar y ffordd. Beth bynag i chwi, ni aethym at y capel; yr oedd hi wedi myn'd yn o bell ar yr amser—yr oeddynt wedi dechreu trwy ganu, a darllen, a gweddïo, pan aethom i fewn. Pan welodd y cyfeillion o 'n dyfod i mewn, mi gododd y rhan fwyaf o honynt ar eu traed, a mi aeth yn si trwy'r capel—rhai yn gwenu, a rhai yn wylo."

"Wel," ebe fe, cyn i neb ddweyd yr un gair wrtho fo, "dyma fine chwedi dwad o'r diwedd. N'wn i ddim be fedrwch chi neyd o hona i—mi 'rydw i chwedi misio 'n lân a gneyd dim o hona ff'un, beth bynag."

"O, rhai fel chwi sydd arnom ni eisieu yma," ebe Robert Llwyd (yr hen brophwyd)—"pobol wedi misio gwneyd dim o honynt eu hunain. Ni allwn wneyd rhywbeth o rai felly—pobol felly sydd ar ein Meistr ni eisieu. 'Ni raid i rai iach wrth feddyg, ond i'r rhai cleifion.' 'Ni ddaethum i alw rhai cyfiawn, ond pechaduriaid i edifeirwch.' Y peth fedrwn ni wneyd

o honoch chwi, ydyw eich cyfarwyddo chwi at Iesu Grist, F'Ewythr Robert bach, mi feder o wneyd rhywbeth rhyfedd o honoch chwi."

"Wel, un rhyfedd iawn raid 'i fod o, 'nte, os gall o neyd rhwbeth o un o math i yn yr oed yma," ebe Robert.

"Wel, Rhyfeddol ydyw un o'i enwau o," ebe Robert Llwyd, "a rhyfeddol ydyw, a gwaith rhyfeddol a wnaeth o, ac mae o yn arfer wneyd."

"Beth wnaeth i chwi ddechreu meddwl am grefydd?" ebe un o honynt.

"Mi fum i 'n meddwl cryn lawer am grefydd es talwm," ebe ynte; "ond mi 'roedd y myddylie rheini fel tase nhw chwedi ngadel i es bylnyddoedd yrwan. Ond clowed Elin yma'n deyd hanes marwolaeth John bach, rw nosweth acw, gydiodd yn y nghalon i 'n arw iawn; a rhw air ddeydsoch chithe acw, rw nosweth dychgefn, Rhobet Llwyd, os ydach chi 'n cofio; ches i ddim llonydd wedi hyny. Ond mi fydda i 'n ofni mod i chwedi gadel hi i fyn'd yn rhy dd'weddar. Dene sy'n brifo nghalon i fwya o ddim yrwan—mod i wedi byw'n ddigrefydd i'r oed yma."

"Wel, os ydych chwi 'n foddlon, yn yr oed yna, i roi eich hunan i'r Arglwydd Iesu Grist, ni wna fo mo'ch gwrthod chwi;—

'Pwy glywodd am bechadur,
Mewn unrhyw oes na gwlad,
A ddaeth erioed at Iesu,
A methu cael iachâd?'"

"Pennill ydi nene, 'nte," ebe Rhobet; "y mae yn bur dda gin i glowed pennillion da, a mi glowis lawer o honyn nhw erioed gin Elin; ond ni wneith pennillion mo'r tro i mi 'rwan—rhaid i mi gael adnod—peth o'r Beibil noeth—y peth a ddeydodd y gwr 'i hunan i bwyso arno fo."

"Da iawn, F'Ewythr Robert," ebe Robert Llwyd. "Yr ydach chi yn eich lle yn union. Ni thal dim arall i bwyso arno fo, na phennill na dim, os na fydd adnod yn sail iddo fo. Mae y pennill yn bur dda i arwain y meddwl at y Beibil, neu at ryw air o hono fo, weithie; ond y gair ydi'r graig. Wel, dyma i chwi adncd,—'Efe a ddichon yn gwbl iachau y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw;' neu yn ol fel y mae hi yn y Saesneg, 'Efe a ddichon achub hyd yr eitha'."

"Wel, mi cymra i hi wel y mae hi gin y Sais 'nte," ebe F'Ewythr Robert, "felly 'rydw i 'n gwel'd hi 'n siwtio ore i mi, rwsut; ni fydd hi ddim gwaeth i'r Saeson wedi hyny."

Yr oedd yno cryn lawer o wenu wrth glywed hyn.

"Rydach chwi wedi meddwl a deall tipin am bynciau crefydd?" ebe un gwr go fawr sy genym ni acw.

"'Rydw i wedi meddwl, a dyallt, a gweled, a theimlo fy mod

i yn bechadur colledig, a mawr iawn, a bod Iesu Grist yn Waredwr mawr, a bod yn rhaid i mi gael ei 'nabod o, ne fod 'nol byth.' ebe Robert. "Ni wn i ddim llawer am byncie y byddwch chi 'r sectie yma 'n dadlud yn 'u cylch nhw; ond mi 'wllysiwn wbod be ydi credu yn Nghrist, a'i garu o, a byw iddo fo, i neyd rhw dd'ioni trosto fo, ychydig amser y botho i yn y byd yma—cael crefydd fel crefydd F'Ewythr Tomos—un iawn oedd hono."

"Mi eisteddodd y gwr ofynodd y cwestiwn hwnw iddo fo i lawr, fel pe buasai wedi cael ergyd yn ei dalcen. Ni welsant erioed mono fo yn colli ei anadl yr un fath o'r blaen—un pur siaradus a dadleugar ydyw ef bob amser, am dynu dadl ar ryw bwnc neu gilydd fydd ganddo â phawb a gyfarfyddo, ac mi 'roedd yno lawenydd mawr iawn wrth ei glywed o yn ei chael hi, a'i weled o yn gorfod tewi a phlygu tani hi."

"Dene F'Ewythr Robert wedi gwneyd daioni mawr yn barod," ebe un o'r chwiorydd yn y nghlust i—"rhoi cauad ar biser y gwr yna."

"Mi gydiodd Robert Llwyd afael drachefn yn y pethau ddywedodd Robert, a mi lachiodd ar y gwr arall nes oedd o yn lled ddolurus, rwy'n coelio. Yr oedd yn dda iawn iddo fo 'i chael hi—yr oedd arno ei heisieu hi er ys talm; a mi ddaeth am ei ben o mor ddiswta, rywsut, heb feddwl. Gobeithio y gwneiff y tro lawer o les iddo fo. Ond pe bawn i yn deyd tan y nos—mi fu yno gyfarfod rhyfedd iawn, llawer o wenu, o wylo, a llawenhau. Yr oedd pawb fel pe buasent yn cael boddlonrwydd neillduol ynddo; ac y mae genyf finnau feddyliau gobeithiol iawn am dano fo. Mi feddyliais lawer am yr hen Simeon yn y deml, ac yr oeddwn yn cael fy hun yn ei brofiad ef i raddau. 'Yr awr hon, Arglwydd, y gollyngi dy was mewn tangnefedd, yn ol dy air, canys fy llygaid a welsant dy iachawdwriaeth.'"

"Mi fuaswn yn hoffi bod yno gyda chwi yn y nghalon," ebe Mrs. Harris. "'Rwyf yn siwr fod yno gyfarfod da."

"Oedd yn wir," ebe Mrs. Evans; "nid wyf yn cofio erioed i mi fod mewn un o'i fath."

"Ac yr oeddech chwi yno?"

"Oeddwn, oeddwn, ag ni fu erioed well gen i fy mod wedi myned yno. Yr oeddwn i wedi meddwl am aros gartref unwaith, ond mi darawodd rhywbeth ar fy meddwl i fyn'd drachefn; ac yr oedd yn dda genyf erbyn myned a gweled a chlywed y pethau welais ac a glywais i yno. Yr wyf yn meddwl y bydd yn annos gen i esgeuluso cyfarfod byth eto. Yr oedd pob peth oedd o yn ei ddywedyd mor briodol, mor naturiol, mor *simple*, ac mor bwrpasol, rywsut, â rhyw flas rhyfeddol ar y cwbl. Nid oes dim posibl ailadrodd gyda'r un effaith. Yr oedd F'Ewythr Robert i'w glywed yn ei nerth yn mhob peth oedd o yn ei ddyweyd; ond F'Ewythr Robert wedi ei gyfnewid oedd o!"

"Yr ydach chwi yn dyweyd y peth oeddwn ninnau yn ei eddwl yn union," ebe Modryb Elin. "Yr oedd dull a dawn, a hymherau yr hen Robert i'w clywed, ond fuasech chwi byth yn neddwl am yr hen Robert oddiwrth y pethau oedd o yn ei dyweyd—*myfi* ac nid myfi chwaith, oedd hi yno. Wele, mor yfedd a graslawn ydyw troion rhagluniaeth y Brenin mawr! 'uasai neb o honom ni yn meddwl," ebe Modryb Elin, gan droi t Mrs. Harris, "fuasai neb o honom ni yn meddwl y base gwaith ames yn dyfod yma, i adrodd hanesion o 'Gaban F'Ewythr Tomos,' yn esgor ar beth fel hyn. Dyna arweiniodd i'r peth yr rdym yn son am dano, 'Hyn a wnaethpwyd gan yr Arglwydd, rhyfedd yw yn ein golwg ni. Yr hwn sydd ryfedd yn ei gyngor, ac ardderchog yn ei waith.'"

"Ac y mae pethau rhyfedd ac ardderchog iawn yn ffyrdd hagluniaeth," ebe Mrs. Harris: "a phe baem ni â'n llygaid yn gored, ac yn craffu, ni a welem fwy o bethau rhyfedd ac ar-dderchog yn ei throion hi o lawer."

"'Ond dwyfol ras, mwy rhyfedd yw,
Na'th holl weithredoedd o bob rhyw,'"

ebe Mr. Evans. "Yr oeddwn i 'n gwel'd ol llaw gras ar F'Ewythr Robert, yn harddach a rhyfeddach na dim welais i erioed, yr oeddwn i 'n meddwl."

"Felly mae gwaith gras," ebe Modryb Elin. "Llawforwyn gras ydyw rhagluniaeth. Mae 'r llawforwyn yn medru gwneyd gwaith cywrain a hardd iawn; ond mae 'r feistres yn medru gwneyd pethau mwy. Estyn defnyddiau at law y feistres ydyw rhan fawr o waith y llawforwyn. Ceryddu trwy ofid ar wely; dwyn pechadur i ymyl y bedd, ond ei gadw rhag syrthio iddo; taflu creadur gwyllt, anystyriol, ar wely cystudd am fis neu ddau weithiau, i'w ddal, i gael siarad âg ef. 'A hyn oll a wna Duw ddwywaith neu dair â dyn, i ddwyn ei enaid ef o'r clawdd; i'w oleuo â goleuni y rhai byw;' 'i'w dynu oddiwrth ei waith, a chuddio balchder oddiwrth ddyn.' Gwaith James yn adrodd hanes marwolaeth Efa bach a fu yn foddion i'n harwain ni i son am farwolaeth John bach, y noson hòno; ac adroddiad o air a ddywedodd o chwe' blynedd a deugain yn ol, bellach, a fu yn foddion i ddeffro ei dad i ddechreu teimlo am ei gyflwr; a Robert Llwyd, drachefn, yn dyfod yma yn ddamweiniol atom ni nos dranoeth, ac yn dweyd gair yn ddamweiniol, i daro yr hoelen yn ddyfnach: a thrwy 'r cwbl, yr wyf yn hyderu fod Robert yn bentewyn wedi ei achub. Mi ddywedodd anghred-iniaeth ganwaith wrthyf na chawswn i byth weled y peth a gefais weled."

Ar hyn, daeth F'Ewythr Robert i mewn, a Thomas a James Harris gydag ef; ac yn fuan daeth y gwahoddedigion eraill i mewn; a dodwyd y ciniaw ar y bwrdd.

Aeth yn ymddyddan, ar giniaw, ynghylch y "Caban," a'i awdures.

"Perthyn i bwy enwad crefyddol y mae 'r wraig ryfedd yna?" gofynai Richard Evans.

"Perthyn i'r Annibynwyr y mae hi, a'i gŵr, a'i brawd, a dau neu dri o frodyr eraill iddi, sy'n weinidogion yn yr America," ebe James Harris.

"Wn i ddim allwn ni dy goelio di ar y mater neu beidio," ebe ei fam; "Annibynwr wyt ti dy hun."

"Wel, mam!" ebe James, "chwi ellwch goelio y bobl eu hunain, ynte. Oni welsoch chwi areithiau ei gŵr a'i brawd hi yn nghyfarfod blyneddol y *Congregational Union*;—Annibynwyr cryfion iawn ydynt. Ac fe ddywedodd ei gŵr hi yn y cyfarfod hwnw beth oedd yn well genyf ei weled nag mai Annibynwyr oedd o a hithau; a hyny oedd, nad oes yr un Annibynwr â llaw ganddo yn y gaethwasiaeth; a hwy ydyw yr unig blaid grefyddol, heblaw y *Cwacers*, sy'n lân."

"Yr achlod iddi!" ebe Robert Llwyd, dan wenu, "na base hi 'n *Fethodist!*"

"Na, yn *Faptist* y dylasai hi fod," ebe Mrs. Harris. "Beth feddyliech chwi, Modryb Elin? Fuasech chwithau yn leicio clywed ei bod hi yn *Fethodist*, mi w'rantaf."

"Nid ydyw o bwys yn y byd yn fy ngolwg i," ebe Modryb Elin. "Y mae hi yn Gristion, mae yn ddigon amlwg; ac ni waeth gen i yn y byd i bwy *sect* nac enw y bo un yn perthyn, os caf fi le i feddwl ei fod yn Gristion. Yr oeddwn i yn cael ar ddeall mai aelod gyda 'r Wesleyaid oedd F'Ewythr Tomos, ac nid wyf yn ei garu o ddim llai am hyny: a phe buasai ef yn Fethodist Calfinaidd, allaswn i garu mo'no fo ddim mwy."

"Wel, dyna 'r ysbryd y dylem ni fod ynddo bob amser," ebe Robert Llwyd—"dyna ydyw ysbryd yr efengyl, ac ysbryd Crist—ysbryd y nefoedd. Y mae ei blant, o bob *sect* ac enw, yn perthyn yr un mor agos i'w Tad nefol, ac y maent yr un mor anwyl ganddo. Nid wrth y *sect* y mae efe yn eu hadnabod, ac yn eu caru."

"Ond pe bae chwi yn cyfaddef y gwir," ebe James, "buasech chwithau yn llawen iawn i glywed mai perthyn i'ch enwad chwi y mae hi, pe buasai hi yn bod felly."

"Wel, mi fuaswn, yr wyf yn addef," ebe Robert Llwyd, "ac mi fuasai yn beth digon naturiol i mi fod felly; ac nid wyf yn eich beio chwithau, James, am eich bod yn llawenhau ei bod yn perthyn i'ch enwad chwi;—mae y fath un yn addurn i unrhyw enwad. Ond," ebe fe, drachefn, yn ysmala, "nid oes gan ein pobl ni yr un achos Seisnig yn America, onidê, atom ni y daethent."

"Mi ellwch chwi ymgysuro drwy daeru hyny," ebe James.

"Ond mi ddylech chwi fod yn foddlawn," ebe fe eilwaith, "ar y peth gawsoch chwi. Yr oedd Modryb Elin genych o'r blaen, ac yr wyf yn deall eich bod wedi cael F'Ewythr Robert ati hi, yrŵan. Fe wnaethai Modryb Elin gystal Mrs. Stowe a Mrs. Stowe ei hun, pe cawsai hi ei dwyn i fyny dan yr un amgylchiadau."

"*Well done*, James!" ebe Modryb Elin; "dyna ei gwneyd hi yn iawn. Mi fuaswn yn debyg iawn o lyncu llyffant, fel y dywedant, yrŵan, oni b'ai fod genyf ddigon o synwyr i wybod amgenach pethau."

"Wel, yr oeddwn i yn dweyd y gwir o'r galon," ebe James.

"P'run bynag oeddet ti 'n deydyd y gwir ai peidio, os wyt ti 'n meddwl felly o ddifri, mae gin i ddiolch i ti am dy feddwl mawr o ff'en wraig i," ebe F'Ewythr Robert.

"Nid oes dim diolch i mi am *feddwl* felly," ebe James; "nid allaf lai na meddwl felly."

"Wel, diolch i ti am ddeydyd dy feddwl, 'nte," ebe yr hen ŵr. "Mi all'set *gadw* dy feddwl i ti dy hun, yn ddigon hawdd. Os na all'set ti help wrth dy feddwl, mi all'set help wrth dy *dafod*."

"Wel, beth ydach chwi 'n feddwl wna F'Ewyrth Rhobert yma o honi hi fel crefyddwr, James?" ebe Richard Evans.

"O, yr wyf yn meddwl y gwna fe un gonest, didwyll," ebe James; "neu fe fydd yn groes iawn iddo ei hun mewn pob peth arall."

"Mae arna i ofn y bydda i 'n salach fel cyrfyddwr, nag ydw i wel dim arall," ebe yr hen ŵr. "Mi 'rosis yn rhy hir cin dechre. Be dalswn i 'rŵan i fyn'd yn brentis o grydd, ne saer, ne deiliwr? Ni chymse 'r un crydd, na saer, na theiliwr, yn yr hollt wlad mona i, i feddwl y nysgud i; a fasen nhw byth yn medrud y nysgud i, tasen nhw 'n gneyd."

"Wel, peidiwch a digaloni, F'Ewythr Robert, druan," ebe Mrs. Harris. "'Pwy sy'n dysgu fel Efe?' Y mae efe yn derbyn pob math, a phob oed, i'w ysgol, ac yn eu dysgu yn ddoeth i iachawdwriaeth."

"Fedrwch chi ddeyd i mi," ebe yr hen ŵr, "be ydi dysgeidieth Iesu Grist, hyny ydi, beth mae o yn i ddysgu—pwy wersi? i gael i mi fedrud gwbod ydw i yn 'i ysgol o, ag a ydw i 'n rhwbeth ne beidio?"

"Wel, ni a adawn hyny i'r hen brophwyd, gan ei fod o yma gyda ni," ebe Mrs. Harris, gan nodio â'i phen ar Robert Llwyd.

"Ai fi ydyw 'r *hen brophwyd* genych chwi?" ebe yntau. "Nid wyf fi na 'phrophwyd, na mab i brophwyd;' ond ni raid cael prophwyd i ateb gofyniad F'Ewyrth Robert. Mae pob un sydd wedi dyfod i ysgol Crist, ac yn dysgu ganddo, yn dysgu, yn gyntaf peth, i adnabod 'i hun fel pechadur colledig a diobaith ynddo 'i hun—i weled ei haeddiant fel troseddwr cyfraith

gyfiawn y nefoedd, i fod byth dan anfoddlonrwydd a digofaint Duw—i deimlo drwg a phla ei galon—i alaru a gofidio oblegid ei gyflwr, a'i galon, a'i fuchedd ddrwg—a dysgu, gan hyny, fod arno anghen am waredwr—ac mai Iesu Grist yw yr unig waredwr a wna y tro iddo ef—a dysgu rhoddi ei hunan iddo i'w gadw, fel y mae o—dysgu y pethau oeddech chwi yn ddweyd wrthym ni yn y capel, y nos o'r blaen, F'Ewyrth Robert. 'Nid cig a gwaed' sy'n dysgu y pethau hyny."

"Mae 'n dda gin i glowed y pethe ene," ebe F'Ewythr Robert. "Mi 'rydw i 'n lled obeithio mod ine 'n dechre dysgu tipin, os wel ene mae hi. N'wn i ddim ydw i 'n gallu rhoid fy hunan i fyny 'n iawn i Iesu Grist ai peidio; ond mi 'ddyliwn, tae gin i fil o 'neidie, na thrystiwn i 'r un o honyn nhw i neb arall; a theimlis i ddim peth felly 'rioed tan yn dd'weddar yma."

"Dysgu ydyw hi o hyd," ebe Robert Llwyd. "Y mae gan y Cristion goreu lawer i'w ddysgu—'Dysgu Crist'—dysgu 'diosg yr hen ddyn, yr hwn sydd lygredig, ynghyd â'i weithredoedd, a gwisgo y newydd, yr hwn yn ol Duw a grewyd mewn gwybodaeth a gwir sancteiddrwydd'—dysgu 'gwadu annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol yn y byd sydd yr awr hon, gan ddysgwyl am y gobaith ac ymddangosiad gogoniant y Duw mawr, a'r Arglwydd a'r Achubwr, Iesu Grist.' Yr Ysbryd Glân yw y dysgawdwr, a thrwy y gair a'r efengyl y mae efe yn dysgu y pethau hyn; a thrwy ddysgu y pethau hyn i ni y sancteiddir ac y cymhwysir ni i ogoneddu Duw yma, ac i'w fwynhau wedi myned oddiyma. Ysgolâig rhyfedd oedd F'Ewyrth Tomos. Yr oedd o wedi dysgu rhai o'r gwersi uchaf a chaletaf yn ysgol Iesu Grist—dysgu caru ei elynion, a gweddïo tros y rhai oedd yn ei niweidio, ac yn ei ddirmygu—yn dda ei amynedd, pan oedd yn cael ei gernodio a'i fflangellu; ac y mae hyn yn rasol a chymeradwy ger bron Duw ein Ceidwad, medd yr apostol Pedr."

"Nid oedd F'Ewyrth Tomos fawr o ysgolâig yn nghyfrif doethion y cnawd, ac ysgoleigion y ddaear yma," ebe Modryb Elin; "ond yn nghyfrif y nefoedd, y fo oedd yr ysgolâig goreu yn yr holl wlad. Oedd, yr oedd Tomos yn ysgolâig ag yr oedd angelion, hwyrach, yn dysgu rhyw wersi oddiwrtho. Yr oedd wedi cael yr eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw ag oedd yn dysgu pob peth iddo."

"Wel, 'rydan ni 'n cael ymborth i'n cyrff a'n heneidie, yma," ebe F'Ewythr Robert. "A diolch am flas ar y bwyd, a blas ar bethe da hefyd."

"Yr oeddwn i yn meddwl, er's meityn," ebe Mrs. Evans, "am eiriau'r dyn hwnw ar swper gynt;—'Gwyn fyd yr hwn a fwytao fara yn nheyrnas Dduw,' ac fel y cymerodd ein Harglwydd y geiriau i fyny i lefaru dammeg y swper mawr oddiwrthynt. Yr

oeddwn i yn teimlo fel pe buasai efe yn eistedd wrth y bwrdd gyda ninnau yma heddyw."

"Nid oedd gan y gwahoddedigion i'r swper mawr flas ato," ebe Modryb Elin. "Blas ar brynu tir, ac ychain, a phriodi, oedd ganddynt hwy; ac felly y mae y rhan fwyaf o'r byd hyd heddyw. Gair sobr ydyw hwnw—'Gŵr y tŷ wedi digio!'"

Aeth y ciniaw trosodd fel hyn, a chyrff ac eneidiau, fel y sylwai F'Ewythr Robert, wedi eu porthi a'u diwallu.

## Y CYFARFOD PRYDNAWNOL.

WEDI y ciniaw, a threfnu yr ystafell, ac i'r cymdeithion eistedd i lawr, cyfarchodd F'Ewythr Robert y gwahoddedigion, gan ddadgan ei lawenydd o'u gweled oll, er mwynhau eu cyfeillach.

"'D oedd gynthon ni ddim dynteithion i chi," ebe fe, "ond croeso calon. Mi 'r oedd y myddiddan da gowson ni yn helpio 'r cinio; a tase gynthwn ddim ond tatws a llaeth, 'rydw i 'n coelio y basen ni i gid yn bur fodlon arno fo, a chael y fath siarad biddiol a difyrus uwch 'i ben o. Mae rhw adnod yn deyd fod pryd o ddail efo chariad, yn well nag ŷch pysgedig, a chas gida fo, ond oes? Ond da i ddim i gym'ryd yr amser. Mi geith yr hen brophwyd yma lowyddu arnon ni, a chym'ryd 'i ffordd 'i hun hefo ni. Ond rhaid i mi gael cyrbwyll un peth wrthoch chi, sy'n llywenydd mawr i mi,—fod y'n cwarfod ni o'r blaen, yn nhŷ Thomas Harris, chwedi ateb rhw ddiben da, wel y gwelwch chi. Ono y soniwyd gyntaf am gael sgoldy yn y Cwm; a mae 'n debig y bydd o ar ben yn fuan. Mae 'r sylfen wedi 'i thori, a llawer o gerig, a chalch, a choed, chwedi 'u cario ato fo, a thipin o arian yn o lew chwedi 'u hel, ac agos ddigon i orphen y gwaith mewn 'ddewid. Mae pawb o'r cym'dogion yn myddanos yn barod ag 'wddus trost ben am 'i gael, a helpio tu'g ato fo; a mae gynthon ni ysgolfistar yn barod. A mae'r gymdeithas oedd James yma 'n son am dani hi, yn debig o gael 'i sefydlu. 'Tydi pobol 'rioed chwedi meddwl be allan nhw neyd, nes ä nhw i dreio. Ydach chi 'n meddwl bod y wraig ene 'naeth 'Gaban F'Ewyrth Tomos,' chwedi meddwl 'rioed y base hi 'n medrud codi 'r byd ar 'i chefn, wel y g'naeth hi, cin iddi roid y llyfr allan? Na choelia i fawr! 'T oedd y ddynes 'rioed chwedi dych'mygu 'r fath beth. Ond mi welsoch wel y gnaeth hi;—mi 'sgydwodd yr hollt ddyar trwyddi, a fine i'w cha'lyn hi. Wel, mi ddaru nine fedrud ysgwyd y Cwm yma, a dyma 'r 'ffeithie o hyny 'n dechre dwad i'r golwg; ac ysgwyd y cybyddion, meddan nhw i mi, ymhob man trw'r wlad. Mae nhw chwedi chrynud trw 'u c'lone rhag ofn Pharo Neco. Mae arnyn nhw gimin ei ofn ag sy ar Rhys y teiliwr ofn 'sprydion. Rhys

ddoeth â hanes Pharo Neco allan; a mi ddyle 'r cybyddion roid gwobor i Cati yma am 'i chrynu o, y nosweth o'r blaen yma."

"Sut y fu hi? gadewch glywed," ebe Richard Evans. "Mae llawer math o stori ar led yn ei gylch o."

Galwodd F'Ewythr Robert ar Cati i adrodd yr hanes, yr hyn a roddai ddifyrwch nid bychan i'r cwmni oll.

"Rhaid i chwi beidio a gwneyd tricie fel yna, Cati," ebe Mrs. Evans. "Y mae Rhys heb ddyfod ato ei hunan eto. Mi gafodd y dyn fraw mawr iawn; ac ni fyn o ddim coelio nad yr ysbryd drwg welodd o. Mi fu gwraig Robert Jones, y Garnedd, yn ei dŷ o ddoe, yn cael y stori ganddo fo; ac yr oedd o yn dweyd wrthi fod arogl drwg, fel arogl brwmstan, yn ei ganlyn o hyny hyd yrŵan, a bod hyny yn ddigon o brawf mai ysbryd welodd o."

"Wel, dowch, yr hen brophwyd," ebe F'Ewythr Robert, "wrthoch chi 'rydan ni 'n disgwyl i arwen y cwarfod yma."

"Nid oes gan i ddim neillduol ar fy meddwl," ebe Robert Llwyd. "Ond gallaf ddweyd fy mod yn cydgyfranogi â F'Ewyrth Robert, fel y mae y cyfeillion yma oll, yn ddiammheu, yn y pleser a'r hyfrydwch o fod gyda 'n gilydd yma heddyw. Yr wyf wedi meddwl heddyw fwy nag a feddyliais i erioed o'r blaen, am hanes ein Hiachawdwr yn myned i wleddoedd, pan oedd yma ar y ddaear. Y mae yn syndod i ni feddwl fod Mab Duw wedi ymddarostwng mor isel, i ddyfod yn mhob peth yn gyffelyb i ninnau! Mewn gwledd priodas y dangosodd o ei ogoniant gyntaf, drwy wneyd y wyrth o droi y dwr yn win. Yr oedd yn myned i bob man, ac at bob math—at Phariseaid ac at bublicanod—pan wahoddid ef. Pan yn nhŷ un o'r Phariseaid, byddai lliaws o'r *sect* hòno yn eistedd gydag ef; a phan yn nhŷ Lefi y publican, yr oedd llawer o bublicanod a phechaduriaid yn eistedd wrth y bwrdd. Ond nid wyf yn cofio i'r un Saducead ei wahodd ef i giniaw na swper erioed. Ond byddai y Phariseaid yn gwneyd yn fynych. Yn nhŷ Simon, y Pharisead, yr oedd yn eistedd ar giniaw pan ddaeth y bechadures fawr hòno i olchi ei draed ef â'i dagrau; ac y mae yr hanes hòno yn un o'r rhai mwyaf effeithiol ar fy nheimlad i o holl hanesion yr ysgrythyr. Ond dyna 'r peth oeddwn i am grybwyll yn benaf—fod Iesu Grist yn llenwi ei le a'i *garacter* yn mhob man. Dysgawdwr ydoedd, a dysgu y byddai wrth y bwrdd, mewn gwleddoedd, yn gystal ag yn y deml, neu 'r synagog. Dygai bethau teyrnas nefoedd allan, a gosodai hwynt ar y bwrdd, pan fyddai y gwahoddedigion yn cydgyfranogi o fendithion rhagluniaeth. Nid aeth i mewn i dŷ na Pharisead na phublican erioed i dderbyn caredigrwydd, a mwynhau darpariadau at ddiwallu anghenrheidiau y corff, na osodai yntau ddarpariadau yr efengyl o flaen ei westŷwr a'i

gydwahoddedigion. Gyda phwy bynag y swperai ef, yr oedd am iddo swpera gydag yntau.

"Yr oeddwn i 'n meddwl cyfeirio at ryw bethau eraill y crybwyllodd F'Ewythr Robert am danynt. Ond os oes rhyw sylw ar feddwl neb o honoch i'w wneyd ymhellach ar hyn, traethwch cyn i ni fyned ymlaen at bethau eraill."

Bu enyd o ddystawrwydd, ac edrychai pawb ar Modryb Elin.

"Wrthych chwi, Modryb Elin, mae'r cyfeillion yn dysgwyl, mi feddyliwn," ebe Robert Llwyd.

"Nid ydyw ddim yn weddus i mi siarad yma," ebe Modryb Elin, "ond gadael lle i'r cyfeillion dyeithr i ddweyd eu meddyliau."

"Na; de'wch chwi; yr wyf yn siwr fod genych chwi rywbeth i'w ddweyd ar fater fel hwn," ebe Robert Llwyd.

"Fe ddylai fod genyf lawer mwy i'w ddweyd. 'Ymddyddenwch am ei holl ryfeddodau ef,' medd y Salmydd;—dyma ddigon o destun i ymddyddau am dragywyddoldeb. Y benaf o'i 'ryfeddodau ef' ydyw hanes bywyd Iesu Grist. Mi fum i 'n meddwl lawer gwaith fod yn rhaid fod hanes bywyd Iesu Grist yn wirionedd. Ni allasai un dyn, na llawer o ddynion gyda'u gilydd, erioed na byth, ddych'mygu 'r fath hanes. Beth ddych'mygodd dynion erioed, na chynt na chwed'yn, yn debyg iddo? A pheth arall; gan y rhaid fod yr hanes am dano yn wirionedd, y mae yn rhaid hefyd ei fod ef—gwrthddrych yr hanes—yn rhywun mwy na dyn—'Uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd.' Mor ddeillion ydym wedi myned, na welem ni fwy o'i ogoniant! Mae pob ymadrodd yn ei hanes yn drysorfa gyfoethog o ogoniant—'Gogoniant Duw yn wyneb Iesu Grist!' Mi fum yn teimlo yn ddig wrthyf fy hun lawer gwaith, fy mod i yn gweled ac yn teimlo mor lleied wrth ddarllen a gwrando am dano; ond mi allaf ddweyd fy mod—

'Yn chwennych gwel'd ei degwch ef,
S' uwch pob peth is y rhod;
Nas gwelodd lluoedd nefoedd bur
Gyffelyb iddo erioed.

Efe yw ffynnon fawr pob dawn,
Gwraidd holl ogoniant dyn;
A rhyw drysorau fel y môr
A guddiwyd ynddo 'i hun.

Yn mysg gwyryfon Seion fry,
Fel lili 'n 'mysg y drain,
Efe yw'r gwrthddrych goreu 'rioed,
A chariad pur y rhai'n.

Ac megys pren afalau per
Yn nghanol prenau 'r coed,
Felly f' Anwylyd, yntau, 'mhlith
Y meibion sy'n cael clod.

Eisteddais dan ei gysgod ef,
A'i ffrwyth oedd felus iawn;
Ac yma treuliwn ddyddiau f' oes,
Fyth, fyth, yn ddedwydd iawn.'"

"Wel, gadewch i ni fyn'd tros yr hen bennillion yna, a'u canu," ebe Robert Llwyd. "Hen rawnsypiau y gwasgodd llawer o hen bererinion Seion lawer o win melus o honynt ydynt."

Ac felly, canasant y pennillion gyda hyfrydwch a phleser neillduol; gan ddyblu y ddwy linell olaf drachefn a thrachefn, fel pe buasent yn cydbenderfynu—

"Ac yma treuliwn ddyddiau f' oes;"

ac yn cydfwynhau—

"Fyth, fyth, yn ddedwydd iawn."

"'Roedd un o honoch chi 'n son gyne, ar ginio, 'i fod o 'n teimlo wel tase Iesu Grist yma hefo ni," ebe F'Ewythr Robert. "Ond ydi o yma hefyd—'toes dim wel tase am dani hi."

"Ydyw; y mae efe bob amser yn agos at ei bobl, pan fyddont yn son am dano, ac os byddant ar lwybr eu dyledswydd yn dysgwyl wrtho," ebe Robert Llwyd. "Geiriau rhyfedd oedd y rhai hyny ddywedodd efe wrth ei ddysgyblion; 'Os câr neb fi, efe a geidw fy ngair; a'm Tad a'i câr yntau, a nyni a ddeuwn ato, ac a wnawn ein trigfa gydag ef.'"

"Wel, dyna ddigon i wneyd hwnw yn ddedwydd byth," ebe Modryb Elin, "fel y canodd yr hen Williams, yn y 'Gân Benrhydd,' chwedl yntau."

"Beth ydyw hòno?" ebe un o'r cwmni, "nid wyf yn cofio i mi erioed ei gweled, na chlywed am dani."

"Wel, fe ddarllena ein llywydd y darn yma o honi hi," ebe Modryb Elin, gan estyn y llyfr i Robert Llwyd, a dangos y lle iddo; ac yntau a ddarllenodd yr hyn a ganlyn:—

"O! ffynnon bur o oleuni! O! ddidrai
Gysuron! O! anfeidrol unig un!
Dy hunan ydwyt fwy na'r nef i gyd,—
Yn fwy na'r byd, yn fwy na'r moroedd mawr,
Yn fwy nag angeu, ac yn fwy na'r bedd.
Tydi wyt ddigon, heb neb na dim ond ti;
Neb ond tydi ni cheisiaf tan yr haul,
Tydi yn angeu, a thydi 'n y bedd.
Wel, digon yw i mi dy fod yn Dduw;
Mae pob dedwyddwch ynot ti dy hun,
Cyfoethog, tlawd, a chlaf, a iach yr un,
A byw a marw—'r un wedd ynot ti;
Rhwng nef ac uffern nid oes dim gwahan,
Pe fflamiau 'th gariad dd'ai i lawr yr ail.
Mi ganaf bellach am yr hyfryd fraint,
O golli cyfaill, ac o golli 'r byd;
A gyru myrdd i mewn o'm blaen i'r nef,

A marw yno yn y man y bwyf;—
Nid wyf heb gyfaill—y mae genyf Dduw.

"Dewch, foroedd, bellach—rhüwch dònau maith
Rhyngof a'm holl gyfeillion yn y byd.
Mi goncraf angeu yn ei allu ef.
Anadlodd ddaear, yna daear bu;
Fe dd'wed wrth angeu, angeu saif yn ol,
Ac nis gall angeu ddyfod gam ymlaen.
Mi wela 'i wedd yn awr yr ochr draw,
Yn gwisgo coron—nid y goron ddrain;
Ond coron o ogoniant ac o glod,
Ac annherfynol gariad oddiwrth lu
Sy'n llanw nef y nef.———"

"Wel, ni a allem fyned ymlaen am byth ar y testun yna, a gobeithio y cawn ni oll ganu arno, ac ymddyddan am dano, heb dewi yn oes oesoedd. Ond dichon fod rhyw bethau eraill y byddai yn burion i ni son gair am danynt yma heddyw; ac y mae yn dda genyf gael y cyfleusdra i ddweyd fod yn llawen iawn genyf fod yr ysgoldy yn dyfod ymlaen, ac ysgol yn debyg o gael ei sefydlu yn ein Cwm; ac i dalu diolch trosof fy hun a'r Cwm i gyd, i chwi, y rhai fu yn offerynol i gychwyn y peth. 'Y mae ymddyddanion drwg yn llygru moesau da;' felly hefyd y mae ymddyddanion da yn esgor ar bethau da; a'ch ymddyddanion chwi yn Bryn Derwen y dydd o'r blaen esgorodd ar y peth da yma."

"Ond a glywsoch chwi," ebe Richard Evans, "bod curad y llan yma yn codi dani hi am 'sgoldy arall, ac yn myn'd i geisio arian gan y llywodraeth tuag ato fo; a chynnyg at ysgol ratach, a dysgu Catecism yr Eglwys; a rhwymo yr holl blant i fyned i'r Eglwys ar y Suliau?"

"O, y mae o—ydi o?" ebe F'Ewythr Robert. "Lle bu o tan yrŵan? 'Toedd o ddim yn son am ysgol nes y clywodd o 'n bod ni 'n myn'd ati hi. Cowion y fall ydi 'r Pusied yma, bod yg un; ac mae hwn cin waethed a'r un o'r cowion rhei'ny. A mi glowis i i fod o chwedi 'i fagu efo un o'r enwade yma, 'n sir Aberteifi ene, a rhei'ny ydi 'r rhai gwaetha o honyn nhw. A mae hwn cin brysured a chynffon oen yn y Gyrphena, yn rhydresa o dŷ i dŷ, ac yn ceisio hudo a dallud pobol i ddwad ato fo; ac yn cael arian gin y byddigions yma, i brynud y tlodion, a gneyd dysgyblion torthe gimin ag allo fo. Mi ddoeth yma rw dro, yn fuan chwedi iddo fo ddwad i'r gym'dogaeth, i geisio ffhudo ine, a mi ddeydis i 'r drefn wrtho fo; welis i mo'no fo byth chwedyn, a ni wela i mo'no fo eto, mi gwranta fo: ond os gwela i o, mi geith o glowed be ydi o."

"Wel, hai, Robert, yr ydych chwi yn myn'd i'r hen ysbryd eto," ebe Modryb Elin.

"Mae isio tipin o'r hen ysbryd i ddeyd wrth, ac i ddeyd am

rai wel ene," ebe F'Ewythr Robert. "Mae 'neitha iddyn nhw gael gw'bod bod pobol yn gwel'd trwyddyn nhw, a be mae nhw 'n feddwl am danyn nhw."

"Yr wyf newydd weled," ebe James Harris, "fod y Methodistiaid wedi pasio penderfyniad yn y 'sasiwn ddiweddaf a gynnaliwyd yn sir Aberteifi, na oddefant yn flaenor eglwysig, ac na ddewisir i'r swydd hòno mwy yn eu plith, y neb a ddygo ei fab i fyny yn offeiriad yn Eglwys Loegr."

"Da iawn!—da iawn, yn wir! Mi fase 'n dda tase nhw wedi pasio y penderfyniad ene es talwm cin hyn; 'r oedd Methodistied sir Aberteifi chwedi myn'd yn *holics* gwyllt. Mae yma rw sparblis o giwradied oddiwrthyn nhw hyd y wlad yma 'mhob man—yn Busied, y rhan fwya o lawer o honyn nhw."

"Rhaid i ni eich galw chwi i *order*, F'Ewythr Robert, os ewch chwi ymlaen lawer pellach yn y ffordd yna," ebe Robert Llwyd. "Ond yr wyf fi yn hollol gydsynio â sylwedd y peth ddywedasoch chwi. Y mae clywed yr hòniadau a wna bechgenos o'r fath—mai ganddynt hwy y mae awdurdod i bregethu yr efengyl, a gweinyddu ei hordinhadau, ac nad yw holl weinidogion yr Ymneillduwyr ond *pretenders*, a phethau cyffelyb, braidd yn ddigon i beri i wegil dyn chwyddo; ond y maent, druain, yn wrthddrychau mwy priodol i wenu am eu penau nag i ddigio wrthynt. Rhaid i chwi ddim ofni am yr ysgol, o herwydd bod y curad yn son am godi un arall. Ni wna ddim o honi yn yr ardal yma; mae Ymneillduaeth wedi gwreiddio yn rhy ddwfn yma, ac fe all yntau ei hun weled hyny bellach—mae pob ystryw a gynnygiodd o i gael y bobol o'r capeli wedi troi yn hollol fethiant."

"Yr oedd yn taro i fy meddwl i," ebe Mrs. Harris, "wrth glywed am Rhys, druan, gynnau, yn dychymygu efo yr ysbryd yma, am beth glywais yn bur ddiweddar am ryw grwydriaid llymllyd sy'n cerdded ar hyd y wlad yma, gan gymeryd arnynt fedru dyweyd ffortun, a bod hogiau a hogenod ffolion, mewn rhai manau, yn cyrchu atynt, ac yn rhoi eu harian iddynt am ddweyd eu ffortun. Mewn difrif, a oes dim modd gyru cywilydd ar bethau o'r fath hyny? Mae yn warth i'n gwlad ni fod son am y fath bethau o'i mewn hi yn yr oes yma."

"Codi ysgolion a dysgu y plant goreu gallom ni ydyw y ffordd oreu," ebe Robert Llwyd; "a dylem addysgu mwy yn yr Ysgolion Sabbothol, am ddrwg a ffolineb pethau felly. Rhyw benbyliaid o lanciau a merched, nad ydynt yn darllen nac yn meddwl dim, sydd mor ddisynwyr a myned atynt. Gallasem ni feddwl fod ofergoelion swyngyfaredd wedi eu claddu mewn dirmyg ac anghof erbyn hyn; ond y mae hwyrach fwy o honynt yn aros eto nag a goeliem ni yn hawdd."

"Mi fyddai'n burion ailargraffu cân yr hen Edward Jones, o

Faes y Plwm, a'i thaenu yn draethodyn trwy y wlad," ebe James Harris, "y gân hòno ennillodd y wobr ar y testun,— "*Ffolineb Swyngyfaredd,*" yn Eisteddfod y Trallwm flyneddau yn ol. Yr wyf yn cofio rhai pennillion o honi hi:—

"Gweddillion byw gweinion Baganiaeth,
Yn llygru 'r D'wysogaeth y sydd;
I'w phuro hi 'n lân o'i heilunod,
Gobeithiwn, mai dyfod mae 'r dydd,
Mae rhai yn rhoi coel ar y ceiliog,
Mai drwg yn ddiysgog a ddaw,
Os clywir e 'n canu gamamser,
Hwy lenwir o brudd-der a braw.

Ond credu bod pen y creadur
A'i big tua llwybr y llàn,
Fe daerir yn hir ac yn arw
Mai rhywrai fydd meirw 'n y màn,
Rhai eraill i daith yn odiaethol,
Rhyfeddol mor wrol yr änt,
Os dygwydd dwy frân eu cyfarfod,
Rhyw ddysgwyl yn hynod a wnant.

Am lwyddiant heb neb yn ei luddias,
'Rol canfod priodas o'r brain,
Fel pe b'ai agoriad trugaredd,
Neu ryw bethau rhyfedd yn rhai'n;
Ond gweled piogen, tybygid,
A fyddai 'n hir ofid i rai,
Fel rhai 'n cael briw uchel frawychus,
Rhag myned o'u llwyddiant yn llai.

Mi glywais goel arall eglurach,
Un ddwysach, a chryfach ei chraith.
Sef clywed gwan adeg gi 'n udo,
Bydd rhai y 'mron gwywo 'n 'u gwaith,
Gan gredu mai rhywbeth er rhybudd,
Yn arwydd o gystudd ac och,
Yw clywed ar droiau gi druan.
Ei hunan yn gruddfan yn groch.

Gwel'd pen ol i'r ebol sy' rybudd
Ac arwydd o gerydd rhy gas,
Sef ebol a welir tro cyntaf;
Ai wel'd y pen blaenaf, bydd blas;
Ond gwel'd ei ben blaen ni bydd blino,
Pe arno edrychid trwy 'r dydd,
Heb ofni tröellau un trallod,
Nac un annibendod ni bydd.

Ac felly 'r un modd yr oen, meddir,
Am hwnw fe dd'wedir yn dda,
Os gwelir ei ben cyn ei gynffon,
Arwyddion yn union a wna;
Sef arwydd o gynnydd i'r geiniog,
I wneuthur rhai 'n dorog o dew,
Rhag bod a'u mawr wrychyn mor uched,
Gwna 'u blewyn mor llyfned a'r llew.

Yn awr, mi ofynaf am fynyd,
Y dyrfa wych hyfryd, i chwi;
Pwy meddwch sy' wychaf eu hachos,
Ai'r Indiaid neu negro's ai ni?
Faint gwaeth rhoi addoliad i ddelw,
Ond fod hon â'i henw 'no hyll,
A'r rhai yn rhoi coel ar y ceiliog,
Neu 'r cyfryw 'n ddiysgog o ddull.

Ond dyma rw'i 'n tybio 'r atebiad,
Mai gwaeth ein hymddygiad at Dduw,
O herwydd fod genym ni ganwyll,
Sef cyfraith, un dywyll nid yw;
A hwythau a'u delwau hudolwaith,
Yn byw yn eu drygwaith heb drai,
Mewn gwlad heb na deddf na gorchymyn,
I wel'd hyny 'n fymryn o fai.

Mae'n resyn i ddyn gael ei ddenu
I garu a magu 'r un modd,
Y peth a ddifaodd ei fywyd,
Ac yn y caledfyd a'i clodd;
A dewis anianol wenwynig,
Lygredig, gythreulig, a thrist;
Hudoliaeth du weniaith dewiniaid,
Melldigaid gyrwydriaid di-Grist."

"Fe allai caniadau o'r fath yna wneyd lles," ebe Robert Llwyd, "i ddysgu y bobl. Cafodd Moses orchymyn cyn ei farw i wneyd cân, a'i dysgu hi i feibion Israel, a'i gosod hi yn eu genau hwynt, i fod yn dystiolaeth yn eu herbyn hwynt. Ac fe grybwyllir am

y peth hwn yn y gân hono,—'A dyeithr-dduwiau y gyrasant eiddigedd arno; â ffieidd-dra y digiasant ef. Aberthasant i gythreuliaid, nid i Dduw, &c.' A beth ydyw gwaith rhai yn ymofyn â chrachgyfareddwyr, ac yn talu iddynt, ond aberthu i gythreuliaid. Swyngyfareddwyr, a'r rhai sydd yn ymofyn â hwy, ydyw un dosbarth o'r rhai y dywed y gair, 'y bydd eu rhan yn y llyn sydd yn llosgi â thân a brwmstan, yr hwn ydyw yr ail farwolaeth.'"

"Mor ddiflas ydi'r son am Buseyaid a swyngyfareddwyr," ebe Modryb Elin, "wedi i ni fod yn son am y pethau oedd tan ein sylw ni gynneu!"

"Wel, be sy help," ebe F'Ewythr Robert, "tra botho ni yn y byd, ac yn y wlad lle mae Piwsied a swynion, mae'n rhaid son am danyn nhw, a deydyd yn 'u herbyn nhw."

"Wel yn wir," ebe Richard Evans, "yr ydych yn gosod y Puseyaid mewn cwmpeini go isel hefyd, hefo 'r swynwyr a'r *fortune tellers.*"

"Ond tene lle dyle nhw fod!" ebe F'Ewythr Robert, "'run set ydyn nhw!—bydd y Piwsied yn cymryd arnyn y medra nhw neyd rhw swyngyfaredd hefo'r dwr yn y bedydd i aileni, ac hefo y bara a'r gwin i fadde pychode, a'u bod nhw chwedi cael yr awdurdod trw rw swynyddiaeth 'ddiwrth yr apostolion trwy ddwylo'r espog."

"Wel, yn wir, ni feddyliais i 'rioed fod cymaint o berthynas ac o gyffelybrwydd rhyngddynt hwy a'u gilydd o'r blaen!" ebe Richard Evans, "y mae yn ymddangos yn wir eu bod yn frodyr neu yn geraint agos y naill i'r llall!"

"Mae F'Ewythr Robert yn hel eu hachau hwy yn o gywir, 'rwy'n coelio 'n siwr," ebe Robert Llwyd.

"Wel, gadewch nhw'n llonydd bellach, ebe Modryb Elin, "a dowch i geisio tê;" ac felly eisteddasant o amgylch y bwrdd.

## Y GYFEILLACH HWYROL.

"Yr oeddym yn son am yr arferiad ddrwg o swyngyfaredd gynneu," ebe Robert Llwyd; "y mae arferiad ddrwg iawn arall wedi dyfod i'n plith ni yn ddiweddar, yn fwy nag y byddai yn arferol, sef arferiad gweinidogion i dori eu blwyddyn, a rhedeg ymaith ar ei chanol, ac yn gyffredin, ar ganol yr amser prysuraf o'r flwyddyn. Y mae hi 'rwan yn amser mor dda, a hawdd cael gwaith, a chyflog, ac y mae'r llanciau yn cymeryd mantais ar hyny i redeg ymaith. Heb son am y drwg o dori ammod, y maent yn gosod eu hunain yn agored i gyfraith y wlad, ac i garchar, pe byddai eu meistriaid yn ewyllysio cymeryd gafael ynddi. Dylid dangos y drwg, y niwed, a'r perygl o'r peth. Os

a dynion i edrych yn ysgafn ar dori ammod a chytundeb unwaith, pa hyder ellir roddi arnynt mwy."

"Y mae yn dda gen i eich clywed chwi 'n crybwyll y peth," ebe Thomas Harris. "Y mae o wedi myn'd yn beth cyffredin iawn yn y wlad y dyddiau yma, ac 'rwyf yn meddwl na ddylech chwi ddim dyoddef i lanciau sy'n proffesu wneyd y fath beth yn ddigerydd."

"Hw'rach fod peth bai o bob ochor," ebe F'Ewythr Robert, "nad ydi'r mistradoedd ddim yn ymddwyn wel y dele nhw bob amser tuag at 'u gwn'dogion, ac ono mae'r brofedigaeth yn ddwbwl—gwel'd lle i ennill mwy o gyflog, a chael lle gwell, ne fod yn rhyddion i fyn'd lle gwelon nhw waith i gael. Dalla i ddim achwyn, beth bynag, ni redodd na llanc na llances 'ddiwitho ni 'rioed. Mi fydd Cati yma yn bwgwth gneyd yn arw weithie, ond ni chymre hi lawer. Ac am Jacki, druan, ni red o ddim llawer byth, mi gwranta fo."

"Nid y llanciau yn unig sy'n euog," ebe Mrs. Evans, "mae'r llancesi hefyd wedi dysgu yr un cast. Mae rhyw ysbryd rhedeg i Liverpool a Manchester rhyfeddol ar hogenod 'rwan."

"Wel, dallwch chi weled dim bai arnyn nhw, os medra nhw wella 'i hunen, druen," ebe F'Ewythr Robert, "chware teg i bawb!"

"Nid oeddwn i ddim yn eu beio am hyny," ebe Mrs. Evans, "ond iddyn nhw beidio tori eu blwyddyn. Mi fyddai ar lanciau a merched ofn mawr iawn tori eu blwyddyn er's talwm, rhag son am danynt, a son mawr fyddai am bwy bynag a wnelai hyny hefyd; nid hawdd iawn fyddai i lanc na llances gael lle, ar ol iddynt unwaith dori 'u tymmor; ond 'rwan nid ydynt yn meddwl dim byd o'r peth"

"Tydw i'n licio mo'r swn fydda i'n glowed gynthoch chi, 'r gwragedd yma, ar gownt yn y byd," ebe F'Ewythr Robert.

"Beth ydyw hwnw, F'Ewythr Robert?" ebe Mrs. Harris.

"Wel, lladd ar lancesi, 'u bod nhw 'n waeth nag oedden nhw es talwm—os dydyn nhw 'n waeth, pwy sy'n i gneyd nhw felly? Mae rhai drwg yn siwr, ac felly 'roedd yn wastad; ond tydw i ddim yn coelio 'u bod nhw 'n waeth at 'u gilydd 'rwan nag oedden nhw 'n arfer bod bob amser. Os ewch chi i ladd arnyn nhw, mi gnewch nhw 'n ddrwg bod yg un. Ni ddaw plant dynion ddim wrth 'u dwrdio a'u cystwyo o hyd. Byddwch chi 'n dirion wrth lanc ne lances, ag mi gwsnaethan chi 'n onest, os na fydda nhw 'n rhai drwg drwyddyn, anaml iawn y cewch chi neb, na ellwch chi neyd rhwbeth o hono fo trwy deg."

"Y mae F'Ewythr Robert yn rhywle o gwmpas ei le," ebe Robert Llwyd, "yn debyg fel y mae yr apostol yn cyfarwyddo, 'Y meistriaid, gwnewch i'ch gweision yr hyn sydd gyfiawn ac uniawn, gan wybod fod i chwithau Feistr yn y nefoedd.' A

thrachefn, A chwithau, feistriaid, gwnewch yr un peth tuag atynt hwy, gan roddi bwgwth heibio, gan wybod fod eich Arglwydd chwi a hwythau yn y nefoedd, ac nid oes derbyn wyneb gydag ef.'"

"Felly yr oedd Job yn gwneyd," ebe Modryb Elin; "a byddai yn dda i bawb sy 'n cadw gweision a morwynion ddal ar ei eiriau; 'Os diystyrais achos fy ngwas a'm gwasanaethferch, pan ymrysonent â mi, pa beth a wnaf pan godo Duw? a phan ymwelo ef, pa beth a atebaf iddo? Onid yr hwn a'm gwnaeth i yn y groth a'i gwnaeth yntau? ac onid yr un a'm lluniodd yn bru?' Ac nid llyfr unochrog yw y Beibl ychwaith; y mae yn dangos beth ydyw dyledswyddau 'r gweision i'w meistri hefyd—i fod yn ufudd, yn onest, yn ffyddlawn; nid â llygadwasanaeth, fel boddlonwyr dynion, eithr mewn symlrwydd calon yn ofni Duw."'

"Dyna y peth fydd yn gwneyd i mi ddarfod yn arw iawn a llanc neu lances, fydd eu cael hwy yn ddaueiriog a chelwyddog," ebe Mrs. Evans. "Alla i ddim trystio yr un byth wedi i mi ei ddal o unwaith yn dweyd anwiredd."

"Pla mawr y byd yma ydyw anwiredd a chelwydd," ebe Robert Llwyd, "y mae y drwg y mae o yn ei wneyd mewn teuluoedd ac ardaloedd, bob dydd, yn annhraethadwy. Celwydd yw tad pob drwg arall sydd yn y byd yma. Un o enwau y diafol ydyw, Tad y Celwydd; a phlentyn diafol ydyw pob celwyddwr. Nid oes un drwg yn cael ei gondemnio yn fwy mynych yn y Beibl na 'r drwg hwn, nac un rwymedigaeth yn cael ei gwasgu atom yn amlach na'r rhwymedigaeth o ddywedyd y gwir; ac yr wyf yn meddwl yrwan, y byddai *tract* o adnodau, heb ddim arall, ar y drwg o ddywedyd celwydd, a'r ddyledswydd o ddywedyd y gwir, i'w roddi yn mhob tŷ trwy yr holl wlad, yn fuddiol."

"Mae 'i lwyr isio fo," ebe F'Ewythr Robert. "'Does un blewyn o dryst i ddyn ne ddynes ddeydith gelwydd, na lydrata nhw hefyd. 'Dynhoswch i mi ddyn c'lwddog, mi ddynhosa ine i chithe leidar,' medde yr hen air. Mae celwydd nid yn unig yn tynud drwg rhwn pobol a'u gilydd, ond mae o'n peri llawer o boen i gyrduried erill, yn enwedig i'r cathod. Mi ddyoddefodd cath y Ty Rhos ene lawer, druan, o'r achos. Mi fu ene lances drwstan a barus yn aros dro 'nol—yn tori 'r potie, ac yn 'sgylfaetha pob spâr o fwyd da; a phen äi 'i mhistres i holi am y pethe—'Y gath ddaru,' fydde 'r aped bob amser; a dene lle bydde hono 'n cael 'i chicio a'i baeddu. A mi ddaru nhw 'i lladd hi o'r diwedd, ond 'doedd dim llai o botie 'n cael 'u tori, nag o spar cig a phwdin yn cael i fyta wedi hyny—pethe cas iawn ydi 'r mân glwdde yma!"

"'Deliwch i ni y llwynogod, y llwynogod bychain, y rhai sy'n

difwyno y gwinllanoedd,' medd y gair," ebe Robert Llwyd. "Nid oes dim llwynogod bychain gwaeth na'r mân gelwyddau yma yn bod; y maent yn difwyno gwinllanoedd, hyny ydyw, teuluoedd y wlad, yn ofnadwy iawn; a dylid gwneyd pob ymdrech i'w dal a'u dyfetha hwy tra byddont yn fychain, cyn iddynt fyned yn hen lwynogod mawrion cyfrwys: ac wrth ddwyn plant i fyny yn eu hieuenctid y mae edrych am eu dal a'u dyfetha hwy. Fe ä dyn, wrth ymarfer â dweyd celwyddau bychain, i ddweyd rhai mawrion a phwysig; ac yn ddigon dideimlad o'r diwedd i roddi tystiolaeth gelwyddog ar ei lw mewn llys barn. Y mae hyn yn beth arswydus i feddwl am dano, ac eto nid anfynych y gwelir y fath beth!

"Dylai pob penteulu osod cyfraith Dafydd mewn grym yn ei deulu;—'Ni thrig yn fy nhŷ yr un a wnelo dwyll; ni thrig yn fy ngolwg yr un a ddywedo gelwydd.' Na byddo na gwas na morwyn a ddalier yn euog o anwiredd, neu o arfer llwon a rhegfeydd, ac ymadroddion anweddaidd, yn cael eu goddef i aros gyda hwy. 'Na oddef i anwiredd drigo yn dy luestai,' ebe un o gyfeillion Job. Gallai proffeswyr wneyd llawer iawn mwy tuag at ddiwygio a phuro 'r wlad, pe byddent effro, gonest, a chydwybodol, i osod eu hwynebau o ddifrif yn erbyn pob llygredigaeth gartref. Ni etyb pregethu yn erbyn drygau fel hyn nemawr iawn o ddyben, os byddant hwy yn eu goddef i drigo yn eu lluestai, yn gydgyfranogion o honynt, neu yn cydymfoddloni â'r rhai sy'n gwneuthur felly.

"Ond y mae yn bryd i ni dori ein cyfeillach i fyny, a myned bob un i'w babell. Cawsom gyfeillachau buddiol. Ni bu yma ddim a fydd yn ochenaid i ni i gofio am dano. Ac os ydyw James wedi cadw cofnodion o'n hymddyddanion, i'w dodi yn yr 'Aelwyd,' gallant fod yn fuddiol i lawer a'u darllenont."

"Cyn i chwi fyned," ebe Modryb Elin, "rhaid i chwi ddarllen pennod, a myned i weddi;" ac estynodd yr hen Feibl teuluaidd, a dododd ef ar y bwrdd.

Darllenodd Robert Llwyd 2 *Bren.* v;—hanes glanhâd Naaman y Syriad o'i wahanglwyf;—a gwnaeth sylwadau pwrpasol iawn oddiwrthi. Dywedai fod y rhan hòno o'r hanes sanctaidd yn berthynasol i'r pethau fuasent dan eu sylw—fod y llances fechan o wlad Israel, ag oedd yn gwasanaethu fel caethforwyn yn nhŷ Naaman, yn esiampl deilwng iawn o sylw pob un mewn gwasanaeth, yn ei geirwiredd, ei ffyddlondeb, a'i hawydd i wneuthur daioni—pe na buasai ei nodwedd yn adnabyddus yn y teulu fel un eirwir, na buasai un sylw yn cael ei dalu i'r peth a ddywedai am y prophwyd oedd yn Israel—eu hadnabyddiaeth o honi fel un ofalus am ddywedyd y gwir bob amser ar bob achos, a roddodd bwys a dylanwad i'w thystiolaeth am y prophwyd, ac a effeithiodd i godi y tywysog i fyned ato—bod dylanwad gwein-

idogion a fyddont yn proffesu crefydd, ac yn aros mewn teuluoedd digrefydd, er 'anrhydeddu enw Duw a'i athrawiaeth ef,' yn dybynu yn fawr, os nad yn benaf dim, ar eu geirwiredd, a'u gonestrwydd—y buasai y llances fechan hòno yn anrhydedd i'w gwlad, ei chenedl, a'i chrefydd, yn nhŷ Naaman, pe na buasai yn dweyd dim am y prophwyd, ond bu ei ffyddlondeb yn dweyd am dano ef, yn foddion, yn y pen draw, i ddwyn bendithion tymmorol ac ysbrydol i'r teulu hwnw. Dywedodd iddo glywed yn ddiweddar gan ddau weinidog Ymneillduol Cymreig yn Manchester, fel y darfuasai i un o brif feddygon y ddinas hòno, alw heibio iddynt hwy o bwrpas i ddwyn tystiolaeth anrhydeddus i amryw ferched ieuainc o Gymru, oedd yn gweinyddu mewn tai boneddigion y byddai efe yn arfer ymweled â hwy fel meddyg. Dywedai wrthynt bod y merched hyny yn fawr anrhydedd i'w cenedl, ac yn glod i'w crefydd. Eglwyswr oedd y meddyg, ac addefai ei fod, drwy hyn, wedi dyfod i feddwl yn llawer uwch am grefydd Ymneillduwyr Cymru, nag yr oedd o'r blaen yn arfer meddwl. A dywedai fod eu meistresi yn siarad yn uchel iawn am danynt, ac am eu crefydd; a bod yn hyfrydwch mawr ganddo yntau hysbysu y pethau i'r gweinidogion.

Sylwodd hefyd ar gallineb a gonestrwydd gweision Naaman, yn cymeryd plaid y prophwyd megys yn erbyn eu meistr, yn lle taflu cynnud ar dân ei ddigofaint, a'i annog i fynu ymddial am y sarhad, fel y tybiai ef, a roddasai y prophwyd arno; annogasant ef i wneyd prawf o'i gynghor;—y gallasai y peth fod yn achlysur i ryfel dori allan rhwng Syria ac Israel: pe buasai Naaman yn myned adref at ei frenin yn yr ysbryd yr ydoedd yn gadael y prophwyd, ac yn gosod yr achos o'i flaen yn y golwg yr oedd efe wedi edrych arno ar y cyntaf, yr ystyriasid hyny fel sarhad ar lys ac anrhydedd Syria, drwy fod y prif weinidog wedi derbyn anmharch gan ŵr mor gyhoeddus ac anrhydeddus yn Israel ag ydoedd Eliseus;—ddarfod i ryfeloedd gwaedlyd dori allan rhwng gwledydd ar lai peth lawer gwaith. Ond y gweision hyn, yn lle porthi balchder tramgwyddedig eu harglwydd, a'i perswadiasant ef yn barchus i fyned i'r Iorddonen, yn ol gair gŵr Duw; a'r canlyniad fu iddo gael ei lanhau o'i wahanglwyf, a'i ddychwelyd at Duw;—mai peth rhyfedd oedd cael cymaint o rinwedd mewn paganiaid eilun-addolgar; ac mai peth rhyfeddach na hyny, braidd, oedd fod twyllwr, a thrachwantwr, a chelwyddwr, fel Gehasi, i'w gael yn nhŷ gŵr Duw ei hun;—a bod Gehasi wedi ei wneyd yn rhybudd ofnadwy i ddynion trachwantus a chelwyddog, drwy gael ei droi ymaith o wasanaeth y prophwyd, a gwahanglwyf Naaman yn etifeddiaeth iddo ef a'i hâd yn dragywydd.

Wedi hyn, cyflwynodd yr hen brophwyd ofal y cymdeithion a'r teulu i'r Arglwydd, ac ymadawodd y dyeithriaid bob un i'w fan, wedi treulio diwrnod difyrus a buddiol.

## Y DIWEDD.

"*Hir iechyd a llwyddiant i deulu Hafod y Ceiliogwydd,*" ebai y "Traethodydd," dro yn ol; a dodai aml un o'i ddarllenwyr, "Amen," o'i galon, gyda 'r dymuniad. Cafodd teulu tawel, parchus, Hafod y Ceiliogwydd, fwynhau hir iechyd a llwyddiant cyn i ni ddyfod i wybod dim am danynt. Aeth chwech a deugain o flyneddau hirion heibio heb i angeu, nac ond ychydig o gystudd, ymweled â'r drigfa lonydd. Er pan gludasid John bach i'w fedd, ni buasai arch yn y tŷ, na chynhebrwng ar y buarth. Ond nid oedd Hafod y Ceiliogwydd, mwy na rhyw Hafod arall, i gael dianc byth—nid anghofiasai cystudd ac angeu y ffordd i'r tŷ. Do! o'r diwedd, fe ddaeth afiechyd, adfyd, ac angeu i dalu ymweliad â'r teulu.

Ond ni ddaeth angeu yn annysgwyliadwy yno. Yr oedd yno un ag oedd wedi meddwl llawer am dano, ac wedi hen ymgynnefino âg ef yn ei myfyrdod. Nid gŵr dyeithr ydoedd iddi hi. Nid oedd ei ddyfodiad yn peri terfysg a dychryn, chwaith; canys "ni frysia yr hwn a gredo." Yr oedd yr un y daeth i ymofyn am dani y waith hon yn hen barod ac aeddfed i gyfarfod âg ef. Llawer gwaith y canasai yn y gader wellt wrth ochr y tân, yr hen bennill hwnw, gyda thôn a theimlad buddygoliaethus;—

"Cân, fy enaid, wrth ymadael
A'r carchardy tywyll du;
Mor llawn o bysg ag ydyw 'r moroedd
O hadau pob afiechyd sy:
Lawr â'r corff i ddyfnder daear,
'Fyny â f' enaid tua'r nen;
Rhaid i'm llwch, er maned ydyw,
Godi eto i'r nefoedd wen."

Yr oedd Modryb Elin fel pe buasai wedi gollwng ei gafael o'r byd hwn yn hollol, wedi iddi gael ei dymuniad yn nychweliad F'Ewythr Robert. Yr oedd ynddi ddymuniad cryf neillduol am gael byw i weled hyn, a chafodd y profiad mai "pren bywyd yw dymuniad, pan ddelo i ben." Soniai yn amlach am farw wedi hyn, nag yr arferai wneyd cyn hyny. Yr oedd rywbeth yn debyg i'r iâr yn mrig yr hwyr, yn cerdded ar y llawr o dan ei chlwydfa, yn anesmwyth, ac yn edrych i fyny, yn ymgrymu, yn lledu ac yn hwylio ei hesgyll, cyn cymeryd ei hediad i'w gorphwysle. Yr oedd ei meddwl hithau megys wedi myned yn anesmwyth ar y llawr, yn edrych i fyny tua bro ei gorphwysfa dragywyddol, mewn awydd i gymeryd ei haden i ymgodi yno.

Llawenydd a chymdeithas y nef oedd testun y gyfeillach grefyddol ddiweddaf y bu ynddi, a llefarai hi am danynt y tro hwnw gyda mwy o nerth a dylanwad nag arferol. Dywedai

gyda dwysder ac effeithioldeb anghyffredin, fod yn rhaid cael peth *o'r* nefoedd i enaid pechadur ar y ddaear, i'w godi *i'r* nefoedd, ac i'w gyfaddasu i fyw ynddi: "ac yr wyf yn meddwl yn sicr," ebe hi, "fod y *peth* hwnw yma," gan osod ei llaw ar ei mynwes. "Y mae yma *rywbeth* sy'n hiraethu am fyned yno; ac o ba le y daeth hwnw, os na ddaeth oddiyno?—*rhywbeth* nad ydyw yn gallu dygymmod â'r ddaear yma.

> 'Myfyrio am fyn'd sy felus iawn,
> I'r pur ardaloedd dedwydd llawn,
> Mae f' enaid am gynnefino 'i ddawn,
>   I chware 'i aden wiw;
> Fel pe b'ai am anturio'n hy'
> Trwy ganol y cymylau fry,
> A myn'd i mewn i blith y llu,
>   Lle mae 'r Messia 'n byw.'"

Sylwai y cyfeillion wrth eu gilydd y noson hòno, fod Modryb Elin, naill ai wedi bod yn y nefoedd, neu ar fyned yno. Dywedodd un wrth F'Ewythr Robert, ar ol y cyfarfod; "Nid wyf yn meddwl y gellwch gadw Modryb Elin yn hir gyda chwi eto."

"Rhaid iddi y 'nghym'ryd ine i'w cha'lyn' 'nte!" ebe yntau.

Yr oedd yn noson wleb, ystormus, a chafodd anwyd trwm wrth ddychwelyd adref, ac erbyn tranoeth yr oedd yn teimlo yn bur wael; ond nid oedd hi ei hun, na neb arall, yn meddwl ei fod yn ddim amgen nag anwyd cyffredin. Pa fodd bynag, parhau i waelu yr ydoedd o ddydd i ddydd, nes y caethiwyd hi i'r gwely. Anfonwyd am y meddyg i'w golwg, a deallodd hwnw fod y "daearol dŷ o'r babell hon" yn cael ei ddattod, er na ddywedodd hyny wrth neb o'r teulu.

Pan aeth y gair allan ei bod yn glaf, ac yn annhebygol o wella, taflwyd yr holl Gwm i bryder. Mawr y cyrchu oedd yno i ymofyn am dani. Deuai dau neu dri o'i chyfeillion crefyddol yno bob hwyr; ac yr oedd ei hoff gyfeillesau, Mrs. Harris a Mrs. Evans, y rhan fwyaf o bob dydd gyda hi; a gwelent y naill ddiwrnod ar ol y llall arwyddion amlwg bod "y dyn oddiallan yn llygru, a'r dyn oddimewn yn adnewyddu o ddydd i ddydd." Yr oedd F'Ewythr Robert, druan, yn bryderus a gofidus iawn ei feddwl, ac ymdrechai hithau ei gysuro a'i ddyddanu. Dywedai y buasai yn galed iawn arni yn yr amgylchiad, er adnabod crefydd ei hun, pe buasai yn ei adael ef yn ddigrefydd—ei bod wedi cael ei dymuniad o'i weled yntau wedi troi ei wyneb at y Ceidwad, ac y gallai farw yn y gobaith y byddai iddo 'n fuan ei dilyn i'r un wlad o dangnefedd a dedwyddwch ag yr oedd hi ar fyned i'w meddiannu.

Pan ddaeth Mrs. Harris a Mrs. Evans yno un hwyr, a gofyn pa fath ddiwrnod a gawsai,—"Nid dydd, ac nid nos," ebe hi; "ond cyfododd goleuni yn yr hwyr.' Yr oedd y corff a'r meddwl

heddyw, yn bur debyg i'w gilydd; teimlais ryw iasau a chryndod yn myned trwy a thros yr hen gorff yma lawer gwaith, heddyw, a theimlais ryw iasau o ammheuon a chryndod yn fy enaid lawer gwaith. Y mae y syched hefyd wedi bod yn fwy heddyw nag arferol; a sychedig iawn oedd fy mhrofiad ysbrydol yr un modd; yr oedd yn ateb i'r hen bennill hwnw i'r dim:—

'O! p'le mae'r manna perffaith gwir,
A'r dyfroedd tawel, sanctaidd, pur?
Mae'm syched, Arglwydd, yn parhau,
'Rwy'n methu tynu dwr yn awr,
Fy anghrediniaeth sy mor fawr,
Agor y graig, 'rwy' bron llesghau.'

Ond beth bynag, y mae 'r graig wedi agor, a'r dwfr wedi dylifo o honi, 'megys o ddyfnderau dirfawr.' Yr hen addewid hòno oedd y graig y ces i ddwr o honi heddyw—un nad oeddwn i wedi yfed fawr o honi erioed o'r blaen. Yr oeddwn wedi gafael yn y gair olaf o'r pennill, ac yn ei ddweyd o drosodd a throsodd drachefn wrthyf fy hun—

'Agor y graig, 'rwy' bron llesghau.'

Dyna 'r graig yn agor yn y man, a hòno oedd hi,—'Pan geisio'r trueiniaid a'r tlodion ddwfr, ac nis cânt; pan ballo eu tafod o syched, myfi, yr Arglwydd, a'u gwrandawaf hwynt, myfi, Duw Israel, nis gadawaf hwynt. Agoraf afonydd ar leoedd uchel, a ffynnonau yn y dyffrynoedd; gwnaf y diffeithwch yn llyn dwfr, a'r crasdir yn ffrydiau dyfroedd.' Mi yfais lon'd fy enaid o'r dyfroedd hyny, ac yr oedd 'fel y gwin goreu, yn myned i waered yn felus.' Mi dorodd syched y corff a'r enaid ar unwaith; ac yr oeddwn am roi enw hen ffynnon Agar ar yr addewid yna,—'Beer-lahai-roi—*ffynnon yr hwn sy'n byw ac yn fy ngweled*'—ac yr oeddwn yn teimlo fy hun fel Samson, wedi iddo yfed o'r ffynnon agorodd yr Arglwydd iddo, pan sychedodd yn dost, a'm hysbryd wedi dychwelyd ac adfywio, fel yr oeddwn yn meddwl fy hun yn ddigon cref i ladd mil o Philistiaid—yr hen ammheuon a'r ofnau.

"O!" hi ychwanegai, "y mae yn rhaid fod y Beibl yn air Duw—nid all o fod yn ddim arall—fedrasai dyn byth lefaru peth fel yna—peth sy'n llefaru wrth enaid, ac yn dyfod â rhywbeth dwyfol i'r enaid gyda 'i eiriau. Nid oedd Esay ei hunan ddim sicrach mai geiriau Duw oedd o yn lefaru pan oedd o yn dweyd yr addewid yna gyntaf erioed, nag oeddwn innau pan ddaeth hi ataf fi gynnau.

"Hen le uchel, oerllyd, sychlyd, ydyw y Cwm yma; nid oes ynddo ddim byd i dynu sylw mawrion y byd i ddyfod i edrych arno: fu 'r frenines erioed yma, a ddaw hi byth; ond fe sylwodd Duw arno, ac fe agorodd afonydd iachawdwriaeth ynddo, ac y mae llawer enaid wedi yfed, ac yn yfed o honynt, ac mae y rhai

hyny yn werth gan angelion y nefoedd ddyfod yma i'w gweled, ac i wasanaethu er eu mwyn."

Wedi tewi am enyd,—"Nid oeddwn yn dweyd yn iawn gynnau," ebe hi, "i alw yr addewid yn graig. 'A'r Graig oedd Grist'—'Efe yw 'r Graig;' 'Ynddo ef y mae holl addewidion Duw yn ïe, ac yn Amen.' Pibell oedd yr addewid i gario 'r dwfr o'r graig. Oni b'ai ef, ni buasai nac addewid na dwfr i bechadur."

Cyn i Mrs. Harris fyned ymaith, erfyniodd arni anfon James i ymweled â hi.

"Y mae arnaf eisieu ei weled o unwaith eto," ebe hi. "Y mae yn well gen i am dano nag am un bachgen arall ar y ddaear yma."

Ganol dydd, dranoeth, daeth James Harris yno. Yr oedd hi wedi gwaelu llawer, ac yn analluog i siarad ond ychydig. Ymaflodd yn ei law—daliodd, a gwasgodd hi am enyd, gan edrych arno, heb ddywedyd dim.

"Fy machgen anwyl!" ebe hi, toc. "Y mae yn dda genyf weled dy wyneb unwaith eto. Buost yn genad bywyd yn ein tŷ ni. Yr wyf yn dymuno arnat ti edrych tipyn ar ol yr hen ŵr yma, wedi i mi fyned;—dy blentyn di ydyw, mewn ystyr; ti fu y prif offeryn i'w gael y peth ydyw, ac i'r man y mae o heddyw. Tyred yma i ddarllen iddo, ac i'w ddysgu, mor aml y gelli di. Mi fydd gen i ac yntau achos i ddiolch byth am dy ymweliadau, ac mi gefaist dithau fwy o fraint na phe cawset dy wneyd yn frenin Lloegr—cael bod yn offeryn i droi pechadur o gyfeiliorni ei ffordd—i gadw enaid rhag angeu, a chuddio lliaws o bechodau. Glŷn wrth dy grefydd, beth bynag. 'Pren bywyd yw hi i'r neb a ymaflo ynddi, a gwyn ei fyd y neb a ddalio ei afael ynddi hi.' Y mae hi yn werthfawr mewn bywyd ac iechyd, ond y mae hi fel yn codi yn ei gwerth, pan y mae pob peth arall yn gostwng, ac yn myned i'r dim o ran eu gwerth. Nid oes dim ond y hi o *ddim* gwerth yn fy ngolwg i heddyw. 'Ni ŵyr dyn beth a dâl hi.'

"Yr wyf yn dysgwyl y caf weled F'Ewyrth Tomos, ac Efa bach, yn o fuan; ac os—

'Caf fi yno ddweyd yr hanes,
P'odd y dringodd eiddil gwan,
Trwy afonydd, a thros greigydd,
Dyrus, anial, serth i'r lan,'—

mi ddywedaf iddynt hwythau yr hanes, fel y buom ni yn gwrandaw ac yn ymddyddan ar eu hanes hwy, ar yr hen aelwyd yma, a'r effaith dda a ganlynodd. Ond

'Fy holl ddifyrwch fyth a byth
Fydd edrych arno Ef.'"

Ni allodd James ddweyd ond ychydig eiriau wrthi, gan wylo. Canasant yn iach i'w gilydd am y tro olaf. Yr oedd F'Ewythr Robert yn eistedd ar erchwyn y gwely, â'i ffon yn ei law, a phwys ei ben arni, a'i ddagrau yn rhedeg i lawr ar hyd-ddi, ond ni ddywedodd un gair.

Daliodd i gynghori a dyddanu yr hen ŵr, ac i ymddyddan â'r cyfeillion a ddeuent i ymweled â hi, hyd nes aeth yn rhy wanaidd a methedig. Yr oedd ei llwybr fel y goleuni, yn myned yn oleuach oleuach.

Un boreu, ddeuddydd neu dri wedi bod James Harris yn ymweled â hi, teimlai bod awr ei hymddattodiad wedi nesau. Gwyliasai Mrs. Harris a Mrs. Evans gyda hi y nos o'r blaen, a daethai Robert Llwyd a Dafydd y saer yno i ymofyn am dani. Galwodd hwy oll ynghyd at y gwely, i gymeryd ei chenad ymadawol â hwy. Trefnodd ei chladdedigaeth. Dymunai i Dafydd y saer wneyd ei harch; a bod ei chladdedigaeth yn un cyffredin i bawb a ewyllysient ddyfod iddo. Ewyllysiai ei chladdu yn y fynwent berthynol i'r capel, a Mr.—— i bregethu ar yr achlysur, oddiwrth y testun—"Pan geisio 'r trueiniaid a'r tlodion ddwfr ac nis cânt," &c., a Robert Llwyd i ddywedyd ychydig uwchben y bedd; "a gadewch iddynt fod yn ychydig eiriau," ebe hi. "Nid lle i areithio wrtho ydyw y bedd. Ond beth bynag, peidiwch a dweyd llawer am danaf fi; gelwch feddyliau y bobl at yr amgylchiad o farw, a'r pwys o feddu crefydd iawn erbyn y delo angeu—mai nid peth i'w gadael yn ddiweddaf o bob peth, ac i chwilio am dani ar wely marw, ydyw crefydd, ond peth i'w cheisio yn gyntaf ac yn benaf dim. Dywedwch wrth y cyfeillion am fod yn sicr a diymmod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol, nad ydyw y llafur ddim yn myned yn ofer. O! nag ydyw," ebe hi, "ddim yn myned yn ofer. 'Ei ras ef, yr hwn a roddwyd i mi, ni bu'n ofer.' Naddo, naddo!—ffrwyth lawer!' —'Ffrwyth i fywyd tragywyddol.'"

Llesgaodd yn fawr ar ol yr ymdrech a wnaethai i siarad; cauodd ei llygaid, a gwelid arwyddion yn fuan fod y wreichionen fywiol ar ehedeg ymaith. Yr oedd yn dawel-lonydd, fel pe buasai ei chlustiau yn gwrandaw—

"Dirgelion dystaw nefol fyd."

Yn mhen enyd, gwelid ei gwefusau yn ymsymud. Gwlychodd Mrs. Harris hwynt âg ychydig win ar bluen. Meddyliodd ei bod yn ceisio dweyd rhywbeth, a dododd ei chlust wrth ei genau' a deallodd ei bod yn sibrwd rhywbeth, a'r un peth drachefn a thrachefn; ac o'r diwedd deallodd beth oedd ganddi, a hyny ydoedd—

"Yn angeu ceidw hyn fi 'n fyw,
A boddlawn wyf yn awr."

Agorodd ei llygaid unwaith, a symudodd ei golygon oddiar y naill i'r llall o amgylch, hyd nes y disgynasant ar F'Ewythr Robert: edrychodd arno enyd, ac eisteddodd gwên siriol ar ei hwyneb, ac oddiar y wên hono, ehedodd ei henaid dedwydd i wlad y gwenu, a'r canu, a'r digrifwch tragywyddol. Ai

Felly 'r hunodd Modryb Elin,
  A sirioldeb ar ei gwedd;
Felly cauodd ei hamrantau,
  Dan belydrau heulwen hedd;
Fel y gwelsoch ar fachludiad,
  Haul Mehefin hirddydd llawn—
Lygaid mân y dydd yn cauad
  Eu hamrantau 'n dawel iawn.

Felly daeth i lân yr afon,
  Trwy y glŷn heb deimlo braw,
Codai 'i ffon, tarawai 'r dyffroedd,
  Cilient hwythau ar bob llaw;
Felly aeth yn droedsych drosodd,
  Ca'dd y lân yn Nghanaan dir;
Ni fu 'r ymdrech, ni fu 'r ymdaith,
  Ddim yn galed, ddim yn hir.

Felly 'r wên oedd ar ei genau,
  A arwyddai 'r teimlad llon,
Ydoedd yn gorlenwi 'i henaid,
  Wrth ymado â'r fuchedd hon;
Mewn gorfoledd yr ehedai,
  'I hysbryd i drag'wyddol hedd,
A gadawai 'r wên i herio,
  Gwaethaf angeu du a'r bedd!

Os sychedai 'i hysbryd unwaith,
  Yn y dyffryn sychlyd cras,
Ffrydiodd iddi trwy 'r addewid,
  Ddwr o'r graig, o nefol flas;
Yfodd hithau lon'd ei henaid,
  Ac adfywio 'n fuan wnaeth,
Ac i'w thaith ymlaen dan ganu,
  Wedi hyny 'n llon yr aeth.

Mae hen Feibl Peter Williams,
  Yn yr Hafod, fel yn sŷn,
Beth a allai fod yr achos,
  O'r llonyddwch gaiff fel hyn;
Ni bu ddiwrnod er ys hanner
  Canrif o flyneddau maith,
Na b'ai dwylaw Modryb Elin,
  Yn troi 'i ddalenau lawer gwaith.

Ar ei ddail mae dotiau crynion,
  Ol ei dagrau—i ffwrdd ni ddaw,
A dalenau blygwyd ganddi
  Ar destunau, yma a thraw;
Gwlychwyd ganddi lawer canwaith,
  Addewidion fwy na mwy,
Fel yr wylai o orfoledd,
  Pan yn gwledda arnynt hwy.

F'Ewythr Robert, druan, heddyw,
  Sydd yn weddw, prudd 'i wedd;
Mynych iawn yr ä i anfon,
  Ffrwd o ddagrau ar ei bedd;
Wrth droi adref, eilwaith, chwydda
  Hiraeth dwys ei dyner fron,
Teimla fel un wedi 'i adael,
  Heb gydymaith ond ei ffon.

Gwag yw "Aelwyd F'Ewythr Robert,"
  Fe yspeiliwyd hon o'i bri;
Collodd y dodrefnyn harddaf,
  Gwerthfawrocaf, feddai hi;
Gwag yw 'r gader wellt a'r gornel,
  Oer yw 'r teulu bob yr un,
Oer yw 'r tŷ, ac oer yw 'r aelwyd,
  Ië, oer yw 'r tân ei hun!

Colli Modryb Elin ydoedd
  Golled ddirfawr yn y fro,
Bydd ei henw a'i rhinweddau
  Tra bo 'r Aran, mwy mewn co';
Fel Debora gynt yn Israel,
  Ca'i wrandawiad dinacâd;
Barn a chynghor Modryb Elin,
  Oedd fel cyfraith yn y wlad.

Hafod y Ceiliogwydd ydoedd,
  Abel-Beth-maacha 'r cwm;
Yno ceisid cyfarwyddyd
  Ar bob achos dryslyd trwm:
"Ymgynghori wnant âg Abel,
  A dybenant," meddynt hwy;
Felly, ar ol bod yn yr Hafod,
  Ni ofynid cynghor mwy.

Os athrodwr ar ei ymdaith,
  Droai yno unrhyw bryd;
Wyneb digllon Modryb Elin,
  A wnai dafod hwnw 'n fud;
Casaf peth ei henaid ydoedd,
  Gwaith absenwr gwael ei fri,
Ni cha'i ef a'i chwedlau budron,
  Un derbyniad ganddi hi.

Ond os truan, tlawd, anghenus,
  Ddeuai yno i ddyweyd ei gwyn,

C'ai ei chlust yn llawn agored,
I'w dosturiol wrando 'n fwyn;
Nid dywedyd, "Ewch mewn heddwch,
Bwyt'wch, ymddigonwch chwi,"
Ond cyfranu i'w gyfreidiau,
Yn haelionus, wnelai hi.

Ac os enaid cystuddiedig
Dd'ai dan faich cydwybod flin,
Hi dywalltai i'w archollion
Olew, a rhinweddol win;
Llawer gliniau llesg a gweinion,
Ddarfu iddi hi gryfhau;
Llawer calon drom ofidus,
Ddarfu iddi esmwythau.

Mrs. Evans, Mrs. Harris,
Sydd (a hawdd yw gwybod pam),
Ar ei hol mor wir alarus,
A phe buasai hi eu mham;
Llawer deigryn dreigla 'n ddystaw,
Tros eu gruddiau serchog hwy,
Am na chant fwynhau 'i chyfeillach,
Byth tu yma i'r nefoedd mwy.

Bron yr eglwys sydd yn glwyfus,
Ac o hiraeth dwys yn llawn,
Wrth adgofio i hen brofiadau,
Efengylaidd, melus iawn;
Pan f'ai'n dywyll sych yn Seion,
Hi gyfodai yn eu plith,
A dyferai 'i geiriau arnynt
Megys y boreuol wlith.

Hi agorai ryw addewid,
Gyda nerth a newydd flâs,
Nes dylenwi'r lle ar unwaith,
Ag aroglau 'r nefol ras;
Pan chwareuai hi ei thànnau,
Gwnai beroriaeth fwyn y rhai'n,
Lenwi Seion o orfoledd,
Gan mor hyfryd fyddai 'u sain.

Ond mae'n canu'n fwynach heddyw,
Nag y canodd ar y llawr,
Rhed ei dwylaw yn gyfarwydd,
Ar hyd tànnau'r delyn fawr;
Ust! dystawa fyd, am enyd,
Tybiais i mi glywed sain,
Ei pheroriaeth yn dyhidlo,
Oddi rhwng ei bysedd main.

Credu 'rym fod gan F'Ewythr Robert,
'Run gyffelyb werthfawr ffydd;
Ac daw yntau yn ddiangol,
Ac yn iach i'r làn ryw ddydd;
Haul y nef fo ar ei babell,
Yn tywynu hyfryd hedd,
Nes disgyno ei benwyni,
Mewn anrhydedd llawn i'r bedd.

Gellir crynhoi gweddill ein hanes i ychydig eiriau. Dydd y claddedigaeth, ymgasglodd tyrfa luosog i'r Hafod, o'r Cwm, a'r cymoedd cymydogaethol—un neu ddau o bob tŷ, o fewn pum milltir o amgylchiad, a rhai o bellach ffordd na hyny. Canwyd rhai o hoff bennillion yr hen fam ymadawedig ar y ffordd tua 'r fynwent. Dygwyd y corff i'r capel, lle y buasai ei henaid yn gwledda—yn mwynhau llawer ynddo, dros ystod lliaws mawr o flyneddau; a dodwyd yr arch ar y fainc yr arferasai eistedd, ond nid oedd yno ond y rhan farwol heddyw. Yr oedd yr ysbryd a fuasai yn derbyn llawer o'r nefoedd yn y fan hono, laweroedd o weithiau, wedi myned yno i fyw a mwynhau 'r nefoedd *yn* y nefoedd ei hun.

Pregethodd Mr. ——— ar y testun a roddasai hi iddo, ac adroddodd hanes ei marwolaeth a'i geiriau diweddaf, ac ychydig o ruddiau sychion oedd yn y lle. Yna cymerwyd y corff at y bedd; ac wedi ei osod ynddo, anerchodd Robert Llwyd y dyrfa ddifrifol oedd yn sefyll o'i amgylch. Dywedai na buasai efe erioed yn cynnyg ar y fath wasanaeth o'r blaen, ond gan mai dymuniad yr hen chwaer ymadawedig ydoedd, nas gallasai ommedd. Crybwyllodd iddo dderbyn gorchymyn ganddi i beidio dyweyd

ond ychydig eiriau, yn enwedig am dani hi. Ac yr oedd yn gwybod yn dda, er y gallesid dyweyd llawer iawn, nad oedd anghen am hyny—y gallesid yn ddigon priodol gymhwyso tystiolaeth Paul am y Thessaloniaid at yr amgylchiad hwnw,—"Ond yn mhob man hefyd eich ffydd chwi ar Dduw a aeth ar led, fel nad rhaid i ni ddywedyd dim." Yr oedd enw, a ffydd, a rhinweddau Cristionogol eu hen chwaer mor adnabyddus trwy yr holl ardaloedd, fel nad oedd yn rhaid dywedyd dim,—"a phe gallwn ddywedyd llawer iawn," ebe fe, "gwn y dywedech chwithau oll yn y diwedd—gallasai ddweyd llawer mwy,—'ni fynegwyd yr hanner.'" Dyma un, y gellir dweyd y geiriau hyny heb betruso dim uwch ei phen,—"Yr ydym yn rhoddi ei chorff i'r ddaear—lludw i'r lludw—pridd i'r pridd, mewn gwir ddiogel obaith o adgyfodiad i fuchedd drag'wyddol."

Yna adroddodd i'r dyrfa yr archiad a roddasai Modryb Elin, i'w rhybuddio i ymofyn am grefydd mewn bywyd ac iechyd,—ac nid i'w hoedi hyd awr cystudd a marwolaeth; a therfynodd trwy weddi. Canwyd pennill drachefn ar lan y bedd, ac ymwasgarodd y dyrfa liosog i'w trigfanau.

Safai F'Ewythr Robert wrth y bedd yn wylo, ac ni fynai ei gysuro; o'r diwedd medrodd ei gyfeillion Tomos a James Harris, Richard Evans, a Robert Llwyd, ei berswadio i fyned gyda hwy adref. "Wel!" ebe fe, gydag ochenaid drom wrth droi ei gefn ar y bedd, "Wel! wel! rhaid i mi dadel di ene! mae hyny 'n galed iawn hefyd—fum i 'rioed yn myn'd adre o'r blaen, o le 'n y byd, na bydde Elin ono i 'nerbyn i. Ni wn i ddim sut yr ä i olwg y tŷ acw. Wel, wel! ffarwel i ti, Neli bach' am byth ar y ddyar yma, ond mae gin i un cysur, mi ddo ine ene atat ti cin bo hir, ag 'rwi'n ceisio gybeithio y ca i ddwad atat ti i'r fan draw hefyd!" ebe fe, gan godi ei olygon i fyny tua'r nef.

"Yr ydym ninnau yn hyderu hyny hefyd F'Ewythr Robert, druan! Amen!—boed felly!"

---

DINBYCH: ARGRAFFWYD GAN THOMAS GEE.

79 8

